# RHAGYMADRODD YR AWDWR.

Y MAE angen dywedyd un neu ddau o bethau wrth y darllenydd cyn y darlleno y llyfr hwn. Gwnaeth yr ysgrifenydd mewn ychydig engreifftiau ddefnydd o feddyliau a gynnwysir mewn amryw ymdrechion llenyddol blaenorol o'i eiddo ei hun, y rhai sydd yn awr er ys blynyddau allan o argraff. Gwnaed hyny fodd bynag yn dra anaml; mae corff mawr y gwaith presenol yn cynnwys mater cwbl newydd.

Gall fod rhyw eglurhad yn ofynol ar y berthynas rhwng y gwaith hwn ag "*Evangelical System Considered*" yr awdwr. Ceir gweled fod y ddau lyfr yn wahanol. Gwir fod rhai pwyntiau â pha rai y cyffyrddir yn yr "*Evangelical System,*" yn cael myned drostynt o newydd yma o angenrheidrwydd, ond gydag eglurhad llawer helaethach. Amcana y gwaith presenol wneuthur yr hyn ni wnaeth y llall; hyny yw, rhoddi cyfundraeth gyflawn o dduwinyddiaeth osodedigaethol ac eglwysig. Bwriadwyd yn hytrach, yn y traethawd blaenorol, weithio allan y profion o ddwyfoldeb y gyfundraeth efengylaidd, wedi eu casglu oddiwrth ei chyfaddasiadau mewnol; ac yr oedd yr ymchwiliad rhagarweiniol i beth ydyw y gyfundraeth efengylaidd mewn gwirionedd, o angenrheidrwydd yn dra byr. Yma, fodd bynag, nid yw cwestiwn y *profion* yn cael ei ystyried o gwbl, eithr yn unig cynnwysiad y dystiolaeth ddwyfol o barthed prif wirioneddau dadguddiad. Anturia yr awdwr obeithio y bydd y ddau waith yn ddefnyddiol yn eu cylchoedd gwahanol; yr un presenol fel yn cynnwys eglurhad cyflawn o addysgiadau gair Duw: a'r blaenaf fel yn profi oddiwrth brofion mewnol, y ffaith o'i ddechreuad dwyfol.

Priodol hefyd yw chwanegu, er nad yw darpariad y tudalenau hyn i'r wasg wedi bod yn waith ond tua deuddeg mis, y cynnwysant ffrwyth myfyrdod cysson mwy nag ugain mlynedd ar y pynciau mawrion a eglurir.

Crefir ar y darllenydd i droi at bob cyfeiriad Ysgrythyrol y cyfeirir ef ato. Mae'r cyfeiriadau hyn oll wedi cael eu hystyried yn ofalus, ac ad-dalant yr efrydydd am ei drafferth wrth eu gwireddu drosto ei hun. Buasai dyfynu yn gyflawn bob adnod gadarnhaol yn chwyddo y llyfr i faintioli annymunol.

Rhaid i ni chwanegu un gair at ein brodyr, y Baban-fedyddwyr Cynnulleidfâol. Ni fydd iddynt gael dim yma yn groes i'r cariad a'r gymdeithas dda a ddylent yn wastad hanfodi rhwng dwy gangen y corff Cynnulleidfâol. Yr unig bwynt y byddant hwy yn debyg o amrywio oddiwrth yr awdwr fydd y cwestiwn o fedydd. Gyda yr eithriad yma, bydd i'r gwaith hwn, ni a obeithiwn, gymmeradwyo ei hun i'w barn hwy. A wnant hwy, gan hyny, roddi i ni eu cynnorthwy caredig i hyrwyddo ei gylchrediad yn mhlith eu heglwysi?

O barthed i'r arddull yn yr hwn y cyflawnwyd y gwaith, bydd yn amlwg fod eglurder a dargynnwysiad (*condensation*) wedi eu hefrydu yn arbenig. Ni wastraffwyd dim lle er mwyn addurniant yn unig. Amcan yr ysgrifenydd fu cyfleu cymmaint o addysg Feiblaidd ag oedd yn bosibl o fewn terfynau cyfyng y gyfrol hon. Mae y cyfryw fyrdra mewn eglurhad wrth reswm yn cynnyddu yr anhawsder o wneuthur unrhyw lyfr yn boblogaidd a dyddorol.

Ni chwanegwn ddim mwy, ond crefu ar y darllenydd i fyfyrio y tudalenau canlynol yn yr un ysbryd caredig a gonest ag y cawsant eu hysgrifenu. Gofynwn am ddarlleniad teg, derbyniad ffyddlon o'r hyn a ysgrifenasom sydd yn gysson âg ewyllys Duw; ac am wrthodiad llawn mor drylwyr o bob peth na ddeil y prawf o'i gymharu â'r safon anffaeledig.

# CYMMERADWYAETH RHAGARWEINIOL.

"A PHAN gipiwyd y llong, ac heb allu gwrthwynebu y gwynt, ni a ymroisom, ac a ddygwyd gyda'r gwynt." Barned y morwr o barthed rheidrwydd y llwybr hwn pan fyddo gwir Euroclydon yn chwythu—diau na chymmeradwyai hyny pan na fyddo ond awel ddisymwth yn ein dannedd. Nid yw ein llong ar ol angori yn dda a diogel i gael ei chwythu allan i'r môr gan bob awel; na, hyd y nod mewn corwynt, ni wna ond bwrw pedwar angor ychwaneg i'r môr a sicrhau ei hun yn gadarnach wrth ei hangorfa ddewisedig. Can belled ag y gallwn farnu, hyn ydyw y prif ganlyniad o'r tymhestloedd diweddar sydd wedi bod yn ysgubo oddiar draeth Germani ar ein heglwysi Saesneg. Bydd amddiffynwyr y ffydd yn wrolach nag erioed, a glyna ein heglwysi wrth eu ffydd santaidd gyda gafael gadarnach.

Y mae arch-elyn gwirionedd wedi ein gwahodd i lyfelu ein muriau, a chymmeryd ymaith ein dinasoedd caerog. Mae wedi hudo rhai credinwyr cywir galon, ond pen-wanaidd, i amddiffyn y llwybr cyfrwys yma; a chyd â'r amcanion goreu, mae brodyr ffol, o'r braidd yn barod i gyflawnu y bwriad dichellgar. "Ymaith â chredöau a chyrff dduwinyddiaeth." Dyma waedd y dydd. Yn ymddangosiadol, parch i'r Beibl ac ymlyniad wrth gariad sydd yn cymhell y dadganiad trystfawr; ond yn y gwaelod, casineb at wirionedd pendant, ac yn neillduol at athrawiaethau gras, sydd wedi annog y grochwaedd wrthun. Fel yr oedd Phillip o Macedon yn cashau yr areithwyr Groegaidd am eu bod yn ŵyl-gwn (*watch-dogs*)

y praidd, felly, y mae bleiddiaid a ddymunant ddinystr ein ffurf-reolau athrawiaethol, fel y gallont ddifrodi eneidiau dynion trwy eu heresiau dinystriol. Anrhydedd uchel iawn i'n cyfundraeth dduwinyddol yw fod boneddigion yr ysgol newydd yn methu ei goddef. Buasai eu canmoliaeth *hwy* yn sen gyfartal i gondemniad; mae eu casineb yn glod cyfartal i nawdd Apostolaidd. Pe na fyddai un rheswm arall yn ffafr erthyglau a chredöau, gallai dygasedd Newyddonwyr (*Neologians*), fyned yn mhell i'w cadarnhau yn marn Cristionogion. Arfau gwrthwynebus i'n gelynion, ni ddylid eu gadael i rhydu. Dyger y magnelau i'r wyneb! Foneddigion, yr ydym yn ddyledus iawn trwy yr awgrymiad o'ch hannghymmeradwyaeth chwi: yr ydym yn eich had-dalu trwy ŵnfaes chwanegol. Bydded iddo gyffroi eich dychryn mwyaf diffuant! Cawn wedi hyny brawf o'i effeithiolrwydd.

Traethodau ar Dduwinyddiaeth, fel pob cynnyrchion dynol, ydynt anmherffaith; ond nid yw hyn yn esgusawd safadwy dros eu gwrthodiad, canys yn ol y ddadl hon rhaid i'n holl weinyddiaethau, ein haddysgiadau, a'n cenadaethau beidio, gan eu bod hwy hefyd yn ddynol ac yn meddu eu ffaeleddau. Diddymir yr esgusawd fod erthyglau ffydd yn llyfetheirio y meddwl, gan y ffaith fod y meddylwyr mwyaf diofn i'w cael yn mysg dynion nad ydynt yn ddigon rhyfygus i ymadael â'r hen ffiniau. Yr hwn a gaffo ei gredo yn llyfethair sydd heb un o gwbl, oblegid i'r gwir gredadyn nid yw adroddiad syml o'i ffydd yn fwy o gadwyn nâ gwregys cleddyf i'r milwr, neu wregys i'r pererin.

Pe byddai rhyw berygl i'r Ysgrythyr gael ei symud o'i lle gan Law-lyfrau duwinyddol, byddem ni y cyntaf i'w condemnio; ond nid oes cysgod o reswm dros y fath freuddwyd, gan mai y genedl sydd yn darllen fwyaf ar y Beibl o'r holl genedloedd, yw yr un hono yn yr hon y dysgir Holwyddoreg y Cymmanfaoedd braidd gan fab pob mam. Mae llawer mwy o berygl i ddadleuwyr golygiannau Newyddegol ymadael â'r gair syml, nag sydd i fyfyrwyr trefniadau dargynnwysol o'r

Ysgrythyr Santaidd adael y ffynon o ba un y llanwyd y cwpan.

Mae ein gobaith am dduwinyddiaeth safadwy yn gorphwys dan fendith Duw, gyda'r genedlaeth nesaf. Os gallwn ochelyd cyfeiliornadau y gorphenol, a dysgu etto dduwinyddiaeth osodedigaethol gyda phendantrwydd ac eglurder tebyg i Luther a Calvin, cawn weled tònau ymchwyddedig cyfeiliornad wedi eu tori i ewyn (*spray*) diniwed yn erbyn sylfeini creigaidd yr Eglwys. Nid oes perygl mewn unrhyw achos. Canys yr Arglwydd sydd yn teyrnasu; ond i ni gael gweled ein dynion ieuainc yn derbyn hen wirioneddau sylweddol yr Efengyl, cyfyd ein ffydd mewn gorchuafiaeth derfynol i sicrwydd llawn o fuddugoliaeth fuan.

A'r meddylddrychau hyn yn fy meddwl yr oeddwn yn hiraethu am ad-gynnyrchiad o'r duwinyddion Puritanaidd, a chylchrediad ëang i wers-lyfr (*text-book*), rhad o'r hen dduwinyddiaeth. Yr wyf wedi gweled fy nymuniad cyntaf o'r diwedd wedi ei gwbl gyflawnu, trwy anturiaeth rhyfeddol fy nghyfaill rhagorol Mr. Nichol. Bydded i'w waith o ail argraffu yr hen dduwinyddion ar y pris iselaf gael ei gario'n mlaen i derfyniad hylwydd, a'i goroni â'r fendith ddwyfol. Yr wyf yn llawenhau wrth weled fod yr ail wedi ei gyflawnu yn y Llaw-lyfr presenol gan fy mrawd parchus, Mr. Stock. Ymgymmerodd â'r gorchwyl ar fy nghais daer i; cefais ganddo y ffafr o ddarllen y tudalenau fel yr ymddangosent. Ac y mae yn llawen iawn genyf arddodi fy nghymmeradwyaeth. Ni awgrymais un cyfnewidiad, er i garedigrwydd fy nghyfaill ganiatâu i mi y rhyddid hyny, canys gwell genyf oedd iddo ef fod yn awdwr a chasglydd y gwaith oll, gan ddwyn holl gyfrifoldeb ei osodiadau. Gallasem fod wedi amrywio o barthed geiriau a brawddegau, a gwastraffu amser heb effeithio dim gwelliantau; ac hyd y nod pe buaswn i yn iawn mewn rhyw welliantau cynnygiedig, buasai fy null ymadrodd neillduol i yn bradychu llaw Joab yn y mater, ac yn tywys y darllenydd i feddwl am yr awdwr a'r cyweirydd, yn hytrach nag am y prawf Ysgrythyrol.

Nid wyf yn cymmeradwyo pob brawddeg yn y llyfr ; na, yn y Rhan ar "Gyfansoddiad a Dysgyblaeth Eglwysi Cristionogol" gallaswn fod wedi dymuno amryw gyfnewidiadau ; ond fel cyfanwaith y mae i'r llyfr fy nghymmeradwyaeth galonog, yr hyn wyf wedi ddangos yn y modd mwyaf ymarferol trwy brynu pum cant o gopïau at wasanaeth y dynion ieuainc yn Sefydliad Duwinyddol y Tabernacl.

Dos allan, tydi athraw diymhonawl efengyl gras Duw, a bydded i Ysbryd yr Arglwydd fyned allan gyda thi.

*Rhagfyr*, 1861. C. H. SPURGEON.

# CYNNWYSIAD.

## RHAN III.—DUWINYDDIAETH YN EI HADDYSGIADAU PERTHYNOL I DDYN.

## RHAN IV.—DUWINYDDIAETH FEL EI DADBLYGIR YN HANES PRYNEDIGAETH.

# RHAGDRAETH.

AMCANA y llyfr hwn gyfleu i'r darllenydd mewn cwmpas bychan grynodeb gyflawn o brif wirioneddau yr efengyl.

Nid yw yn cael ei fwriadu i rai dyfn-ddysgedig, er y gobeithir na chânt *hwy* yma ddim yn *groes i ddysgeidiaeth safadwy.* Ysgrifena yr awdwr, fodd bynag, yn arbenig er lles cyrhaeddiadau îs. Amcana roddi i efrydwyr ieuengach a llai eu cynnydd yn yr oraclau bywiol law-lyfr a ddichon eu cynnorthwyo yn eu hymchwiliad i deml fawreddog dadguddiad. Ceisia addysgu athrawon ein Hysgolion Sabbothol; arweinwyr ein dosparthiadau Beiblaidd; y dynion ieuengaf yn ein colegau; pregethwyr cynnorthwyol "gair y cymmod;" ac yn fyr, pawb a ddymunant gael mewn cwmpas bychan gasgliad o'r "pethau a gredir yn ddiammheu yn ein plith." I'r dosparth lluosog a chyflym-gynyddol hwn y cyflwynir yn barchus y tudalenau canlynol.

Ein pwnc yw DUWINYDDIAETH DDADGUDDIEDIG, NID NATURIOL. Mae Duwinyddiaeth Naturiol yn faes myfyrdod tra hyfryd a budd-

iol; ond nid yw yn bwnc y llyfr hwn. Ein pwnc yw *celfyddyd y Groes.* Ceisiwn gyfleu mewn ffurf gyfundraethawl yr athrawiaethau hyny a ymgasglant o gylch person a gwaith Emmanuel fel Ceidwad colledigion. Nis gall Duwinyddiaeth Naturiol byth benderfynu y cwestiwn, Pa fodd y bydd dyn yn gyfiawn gyda Duw? canys y mae hwn yn gwestiwn na fwriadwyd i natur ei ateb. Fodd bynag, i benderfynu y pwynt yma, fe ysbrydolwyd y Beibl. Dyma yr anhawsder mawr a benderfyna croes Crist. Dadguddiad yn unig a ddengys i bechadur y modd y gall ddianc rhag y llid a fydd, a chael y ffordd i'r nefoedd. Cyhoeddwyd cyfrol natur yn rhy gynnar i gynnwys un atebiad i'r ymholiad, "Beth sydd raid i mi ei wneuthur, fel y byddwyf gadwedig?" canys yr oedd yn bod cyn i ddyn syrthio. At ysbrydoliaeth yn unig y rhaid i ni droi am benderfyniad o'r anhawsdra dwys yma o eiddo cydwybod ddirboenus.

Addefa yr ysgrifenydd wrth gychwyn nad oes ganddo ddim cydymdeimlad â duwinyddiaeth eiddilaidd y dyddiau diweddar yma. Nid negyddiaeth glafoeraidd ac enaid-newynllyd yr amseroedd, yw y bwyd y mae ei enaid ef yn byw arno. Mae wedi ymgynghori rhy hir a rhy bersonol â'r hen Buritaniaid ardderchog i gael ei foddloni gan y tybiau gwanychus sydd mor gyffredinol wedi dadymchwelyd Calfiniaeth ein tadau. Tra *ni eilw* ef un dyn yn *athraw*, addefa yn rhydd nad yw ychydig brofiad yn ysgol trïalon a llafur ond wedi dyfnhau ei argyhoeddiad fod yr "*hen win yn well nâ'r newydd.*" Yn nosbeirth beirniadaeth a rhagdraethyddiaeth, diammheu ein bod ni yn mlaen ar ein tadau; ond nid ydym erioed wedi gallu bod yn gyfartal iddynt mewn canfyddiaeth ddwfn ysbrydol i feddwl ac eangder y gair dwyfol. Mae eu duwinyddiaeth hwy yn gyfryw ag a barha cyhyd ag eglwys Crist; bydd byw i weled y peth eiddil a thlawd o eiddo genedigaeth ddiweddar wedi marw, a'i gladdu heb un rhagolwg am adgyfodiad.

*Y mae llawer o ddynion da yn erbyn cyfundraethau o dduwinyddiaeth yn gwbl.* Mae eu rhesymau dros hyny fodd bynag yn dra ansafadwy ac anfoddhaol. Rhaid i dduwinyddiaeth, fel pob celfyddyd arall, feddu ei gwirioneddau sylfaenol; a rhaid i'r gwirioneddau sylfaenol yma ddal rhyw berthynas y naill â'r llall. Dywedwn yn y modd mwyaf pendant, y *rhaid ei bod felly.* Gorchwyl y duwinydd yw darganfod y gwirioneddau hyn, a'u perthynas â'u gilydd; a phan wnelo hyny, bydd mewn effaith wedi ffurfio cyfundraeth o dduwinyddiaeth. Gall wrthod y *term* CYFUNDRAETH; ond bydd wedi cynnyrchu yr hyn a ddynoda y *term.* Wrth reswm, mae cyfundraethau o waith dynion oll yn agored i lawer o gyfeiliornadau a diffygion, ac ni ddylid byth eu gosod yn lle yr "oraclau bywiol" eu hunain; ond gan fod duwinyddiaeth yn ffurf o wirionedd i'w deall gan y meddwl, a'i chofleidio gan y galon, rhaid iddi oddef rhyw gwrs tebyg i'r un a arddangosir yn y gyfrol hon. Y gall cyfundraethau o dduwinyddiaeth byth ddadblygu cynnwysiad dadguddiad dwyfol, ni chredwn ar un cyfrif. Mae y fath gyfoeth o feddwl ac o addysg, gan hyny, yn yr Ysgrythyrau, na all ffurfiau dynol byth ddihysbyddu.

Ardystiwn hefyd, yn y modd difrifolaf yn erbyn y meddylddrych o wneuthur unrhyw gyfundraeth o dduwinyddiaeth yn fath o feirniadydd ar wirioneddau Duw. Rhaid peidio gŵyrdroi gair y Duw byw un amser i'w gyssoni ag unrhyw ddychymmyg hoffus o athrawiaeth. Rhaid i'n cyfundraethau ni blygu i air Duw; ond gair Duw i'n cyfundraethau ni, nid byth. Dylai pob erthygl o'n credo fod yn gysson â llythyren ac ysbryd y dadguddiad dwyfol; mewn gwirionedd, dylai fod yn ymhaniad amlwg o addysg Duw ei hun. Ac os yn ein hymchwiliad i'r Ysgrythyrau santaidd y cyfarfyddwn â dau wirionedd y cawn ei fod yn anmhosibl eu *cyssoni* yn foddhaol, rhaid i ni beidio caniatâu i'n cariad at gyfundraeth ein denu i wrthod y *naill na'r llall,* eithr gadael i'r ddau sefyll yn eu purdeb, a chyffesu ein hanallu i am-

gyffred holl berthynasau a chyssoniadau bwriadau Doethineb Anfeidrol.

Nid yw Duwinyddiaeth Osodedigaethol mewn un modd yn efrydiaeth boblogaidd yn ein dyddiau ni. Clywwn gryn lawer o faldordd yn nghylch *gwirionedd sylfonawl,* yr hyn ni a addefwn sydd i ni yn hollol annealladwy; canys beth yw gwirionedd sylfonawl ar ol ei ddiosg o'i wisg arddansoddol o eiriau? Sudda i'r hyn a ddeallwn ni wrth dyb (*opinion*). Gwirionedd sylfonawl yw *gwirionedd fel y bodola yn ein meddyliau,* a gwirionedd yn meddwl dyn sydd ddim amgen nâ thyb. Meddylddrychau dyn am wirionedd yw i gyd, y rhai nid ydynt wir wedi y cwbl, yn unig oblegid ei fod ef yn eu credu, eithr oblegid eu bod yn gysson â *gwirionedd gwrthddrychol* (*objective*); hyny yw, â gwirioneddolrwydd digyfnewid pethau fel y maent. Gan hyny, nis gall gwirionedd sylfonawl, neu mewn geiriau ereill, *tyb,* fod yn un brawf-reol. Rhaid fod rhyw *wirionedd gwrthddrychol,* â'r hwn y rhaid i'n tybiau ni, os yn wir, fod yn cyfateb; a chyssondeb ein meddylddrychau ni â'r gwirionedd gwrthddrychol yma sydd yn eu harfathu (*stamps*) fel yn wir. Gall profiad brofi i ni wirionedd unrhyw osodiad neillduol, ond ni wna y gosodiad hwnw ynddo ei hun yn fwy gwirioneddol. Yr *oedd* yn wir o'r blaen, cyn i ni ddyfod yn *argyhoeddedig* o'i wirionedd. Gallai anwariad mewn rhyw barth trofanol (*tropical*) nad oedd erioed wedi gweled iâ, ammheu pa un a allai dwfr fyned yn sylwedd caled: byddai yn parhau er hyny yn wirionedd, mai felly mae'n bod; ac ni wnai alltudio yr ammheuwr hyny i eira Siberia neu Greenland, er y boddlonai hyny *ef* fod dwfr mewn rhyw radd o oerni yn rhewi ac yn myned yn sylwedd caled, y ffaith hon yn fwy o ffaith nag ydoedd cyn ei argyhoeddi o'i gwirionedd. Felly, y mae ffurf o athrawiaeth safadwy sydd yn wirionedd tragywyddol a digyfnewid, a'r hon y mae Duw wedi ymostwng yn raslawn i'w dadguddio yn Ei air; geirwiredd yr hon ellir *brofi* trwy brofiad ac ymwybodolrwydd, fel y daw yn enaid y dyn ei hun yn *ffurf sylfonawl o wirionedd.*

Nid yw ei brofiad a'i ymwybodolrwydd ef, fodd bynag, wedi gwneuthur gwirionedd Duw yn wirioneddach, ond yn unig wedi *sicrhau* trwy brofiad y ffaith o'i wirionedd. Pe gwrthodai pawb yr efengyl, parhauai er hyny yn wirionedd tragywyddol, canys y mae yn ysgrifenedig, "Bydded Duw yn eirwir, a phob dyn yn gelwyddog:" Rhuf. iii. 4. Nis gall na phrofiad nac ymwybodolrwydd newid gwirionedd i gelwydd, na chelwydd i wirionedd.

Y mae safon dragywyddol o uniondeb a chamwedd; *Cëir y safon hono yn Nuw Ei Hun,* ac mae Ei air yn wirionedd digyfnewid a gosodedigaethol, am mai Ei air Ef ydyw. Na fydded i ni gan hyny golli ein hunain yn niwl cyffredinoldebau ansafadwy. Mae y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu yn gyfundraeth o athrawiaethau a ddysga i ni bethau ydynt i'w credu yn eu hystyr amlwg a gramadegol, ac nid yn ol y dehongliad rhydd ac ansicr a ddewisa "sylfonolrwydd" pob *proffeswr* syniannol osod arnynt! Nid peth i gael ei drin fel y myner yw gair Jehofah, yn ol tymher feddyliol a moesol pob ymchwilydd. Dysga mewn *termau* pendant a manwl: pe na wnaethai felly, buasai gystal i ni fod heb ddadguddiad o gwbl; canys mae "sylfonolrwydd" dynol mor ddiderfyn o amrywiol fel y byddem heb unrhyw brawf-reol sefydlog. Yn fyr, os nad yw y Beibl yn dadguddio ffurf sefydlog o wirionedd gwrthddrychol, nid yw yn *dadguddio dim*; yn y cyfryw achos ni fyddai y dadguddiad yn y *llyfr sydd yn penderfynu dim,* eithr yn ymwybodolrwydd y dyn ei hun, yr hwn sydd yn *penderfynu pob peth*!

Bydded i ni gan hyny, yn barchus a gostyngedig, ymdrechu *cael allan* beth *feddylia* y Duw byw wrth yr hyn y mae Efe wedi *lefaru*:—ond credu hyn, bydd genym y "dystiolaeth ynom ein hunain" ac ond i ni wneuthur Ei ewyllys Ef, "Cawn wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, neu ynte o ddynion:" 1 Ioan v. 10; Ioan vii. 17. Y mae Efe *wedi* rhoddi i ni "ffurf,"

neu arwyddlun, neu gynllun (*tupos*) "o athrawiaeth," yn meddu amlinellau a nodweddion *manwl* "i'r hon y'n traddodwyd ni:" Rhuf. vi. 17. Mae wedi dadguddio i ni "ffurf" neu gynllun (*upotupôsis)* "yr ymadroddion iachus," y rhai sydd i fod genym, ac yn "mhlaid y rhai yr ydym i ymdrechu:" 2 Tim. i. 13. Judas 3.

Thos Phillips Smith

# RHAN I.

## DUWINYDDIAETH MEWN PERTHYNAS A'I PHRAWF-REOL.

Y MAE rhesymeg ein pwnc yn gofyn i ni, yn nghyntaf, ystyried hawliau Y Llyfr a broffesa ddysgu i ni yr holl gelfyddyd o Dduwinyddiaeth Ddadguddiedig. Ein hunig brawf-reol yn yr ymchwiliad hwn ydyw y Beibl. Ond beth sydd yn cyfansoddi y Beibl? Pa fodd y cynnyrchwyd y llyfr hwnw? A pha beth ydyw ei awdurdod?

## PENNOD I.

### Y BEIBL—RHANAU CYFANSODDOL Y CANON.*

Y CWESTIWN cyntaf a'n cyferfydd yw, A ydym ni yn hollol sicr fod y llyfr genym ni, fel ag y rhoddodd Duw ef i ni? A yw y canon ysbrydoledig ar gael yn awr? A yw y llyfrau iawn genym, ac a yw y llyfrau hyn genym mewn ffurf gynhenid ac awdurdodedig?

1. I'r gofyniadau hyn atebwn, fod y prawf *à priori* † yn gwbl o du cadwraeth a phurdeb y canon. A ellir tybied y gwnai Jehofah ganiatâu i drysor mor werthfawr fyned ar goll? Ar ei gadwraeth yn offerynol yr ymddibynai cyflawniad bwriadau mwyaf goruchel Jehofah yn adenedigaeth pechaduriaid, a santeiddiad credinwyr. Gwel 1 Pedr, i. 23; a Ioan xvii. 17. A allwn ni dybied, gan hyny, y gwnai Efe, yr hwn a ysbrydolodd y gair adenedigol a santeiddiol hwn, ganiatâu iddo fyned ar goll? Ar ol ei gynnyrchu i'r fath ddybenion, y tebygolion rhagfynedol, nid i ddweyd rheidiau yr achos oeddynt, y dylai fod yn "Air Duw, yr hwn sydd yn byw ac yn parhau yn dragywydd:" 1 Pedr, i. 23. Tra y mae pechaduriaid i gael eu "geni drachefn," a saint i gael eu hadeiladu trwy "y

* Gair deilliedig "oddiwrth air Groeg, yn dynodi gwialen uniawn; wedi hyny, *rheol* neu *ddeddf*: Gal. vi. 16; Phil. iii. 16."—Gwel Llawlyfr y Beibl, tud. 8.

† Y prawf o achos i effaith.—CYF.

gwirionedd fel y mae yn yr Iesu," rhaid yw i'r gwirionedd hwnw aros ar y ddaear fel y moddion yn nwylaw yr Ysbryd Glân sydd i gynnyrchu yr effeithiau hyn.

2. *Heblaw hyn, y mae genym dystiolaeth bendant yn y gair ei hun fod yr Ysgrythyr yn gyfryw " na ellir ei thori :"* Ioan x. 35. Ac os na ellir ei thori *à fortiori*,* llawer llai y gellir ei dystrywio. Ac eilwaith, " Canys pob cnawd fel glaswelltyn yw, a holl ogoniant dyn fel blodeuyn y glaswelltyn. Gwywodd y glaswelltyn, a'i flodeuyn a syrthiodd : eithr gair yr Arglwydd sydd yn aros yn dragywydd. A hwn yw y gair a bregethwyd i chwi :" 1 Pedr, i. 24, 25. " Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn ; ond gair ein Duw ni a saif byth :" Esa. xl. 8. " Ac i Sion y daw y gwaredydd, ac i'r rhai a droant oddiwrth anwiredd yn Jacob, medd yr Arglwydd. A minau, dyma fy nghyfammod â hwynt, medd yr Arglwydd : Fy Ysbryd yr hwn sydd arnat, a'm geiriau, y rhai a osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau, nac o enau dy hâd, nac o enau hâd dy hâd, medd yr Arglwydd, o hyn allan byth :" Esa. lix. 20, 21. A'r ysgrythyrau hyn, ac ereill cyffelyb o'n blaen, rhaid i ni gredu fod gair yr Arglwydd etto yn ein plith. Os bu y Beibl erioed yn wirionedd, y mae yn wirionedd etto, a dywed wrthym na ddichon ysgrythyrau Jehofah fyned i ddinystr.

Ond, wrth gwrs, cyfyd y gofyniad yma, Pa lyfrau a gyfansoddant y canon ysgrythyrol, ac wrth ba reol y mae eu canoniaeth i'w benderfynu ? Cymmerwn, yn nghyntaf, lyfrau yr Hen Destament.

3. Ac mewn perthynas â'r rai hyn, yr ydym yn tybied nad oes ond ychydig anhawsder, *canys mae genym dystiolaeth ein Harglwydd ei hun dros ysbrydoliaeth ac awdurdod y canon Iuddewig fel y bodolai yn ei ddydd Ef.* Apëliai Efe ato yn wastadol fel awdurdod anffaeledig. Cymmered y darllenydd yr enghreifftiau canlynol :—" Oni ddarllenasoch yr ysgrythyr hon ?" Marc xii. 10. " Heddyw y cyflawnwyd yr ysgrythyr hon yn eich clustiau chwi :" Luc ix. 21. " Megis y dywedodd yr ysgrythyr :" Ioan vii. 38. " At y rhai y daeth gair Duw, a'r ysgrythyr nis

* Gyda rheswm cryfach.—Cyf.

gellir ei thori :" Ioan x. 35. "Pa fodd ynte y cyflawnid yr ysgrythyrau, mai felly y gorfydd bod?" Mat. xxvi. 54. "Ond rhaid yw cyflawnu yr ysgrythyrau :" Marc xiv. 49. "A chan ddechreu ar Moses a'r holl brophwydi, Efe a esboniodd iddynt yn yr holl ysgrythyrau y pethau am dano ei hun :" Luc xxiv. 27. "Bod yn rhaid cyflawnu pob peth a ysgrifenwyd yn nghyfraith Moses, a'r prophwydi, a'r salmau, am danaf fi :" Luc xxiv. 44. Ac nid yn unig apëliodd ein Harglwydd ei hun at ysgrythyrau y gyfraith, a'r prophwydi, a'r salmau, eithr gorchymmynodd ereill i'w darllen fel hyfforddwyr anffaeledig, "Chwiliwch yr ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol: a hwynt-hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi :" Ioan v. 39.

Rhodiodd yr apostolion yn nghamrau eu Meistr mewn perthynas i'r parch a dalodd Efe i ysgrythyrau yr Hen Destament. Yn eu holl bregethau a'u hysgrifeniadau, apëlient atynt yn barhaus. "Pa beth a ddywed yr ysgrythyr?" yw y cwestiwn â pha un y maent yn terfynu pob dadl. Gwel Rhuf. iv. 3; xi. 2—Gal. iv. 30. Galwant ysgrythyrau yr Hen Destament "yr ysgrythyrau *sanctaidd.*" Gwel Rhuf. i. 2; 2 Tim. iii. 15. A Phaul yn ddiammheuol a haera, "Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder, fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda :" 2 Tim. iii. 16, 17 Ac mae Apostol yr Enwaediad yn adysgrifenu addefiad Apostol y Cenedloedd fel y canlyn: "Gan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddehongliad priod. Canys nid trwy ewyllys dyn y daeth gynt brophwydoliaeth, eithr dynion sanctaidd Duw a lefarasant megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân :" 2 Pedr, i. 20, 21. Yr unig gwestiwn, gan hyny, i Gristion duwiolfrydig i ymholi yn ei gylch yw hwn, Pa rai oeddynt y llyfrau y darfu i Grist a'i apostolion apëlio atynt fel hyn? Ac y mae genym brofion hanesyddol o'r natur mwyaf penderfynol, fod y llyfrau y darfu i'n Harglwydd a'i genadau ysbrydoledig eu nodweddu fel hyn â'u hawdurdod, yr un â'r rhai a gyfansoddant ein Hen Destament ni yn awr.

Er ymchwiliad i'r holl gwestiwn hwn, cyfeirir y darllenydd cyffredinol at y "*Critical History and Defence of the Old Testament Canon*," gan Moses Stuart. (Argraffiad Dr. Samuel Davidson. Routledge & Co., London.) Yn y gwaith penderfynol a rhagorol hwn, profir fod y

"Llyfrau, y rhai am oesau a aethant heibio a berthynent i'r canon Hebreig, ac a berthynant iddo yn awr, yr un llyfrau ag a berthynent iddo yn amser Crist a'i apostolion, ac am amryw ganrifoedd cyn y cyfnod hwn." Tud. 272.

Nid yw y prawf beirniadol o'r gosodiad pwysig yma yn gorwedd o fewn amcan y gwaith hwn. Bwriadwn ochelyd pob peth a berthyn yn fwy priodol i RHAGDRAETH. Yr ydym yn honi fod y dysgedig Moses Stuart ac ereill wedi profi y pwynt a nodir uchod. Dyma yr oll a geisiwn ni gan y beirniaid. Nid ydym yn gofalu am fod yn alluog i egluro *pa fodd* y ffurfiwyd y canon: ni ysgogir ni chwaith yn ein ffydd oblegid anhawsderau yn eglurhad rai rhanau o hono. Crist a'i apostolion, wrth lefaru am y canon fel *cyfanwaith*, a'i galwant yn ysgrythyr, ysgrythyr santaidd, ysgrythyr na ellir ei thori, ysgrythyr wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, a thrwy gynhyrfiad yr Ysbryd Glân. Fel hyn, trwy ffordd hawdd a bèr iawn, yr ydym yn dyfod i'r penderfyniad mai gair Jehofah ydyw yr oll o'r Hen Destament. Dywedodd Iesu hyny, ac yn sicr yr oedd Efe yn adnabod ysgrythyr ganonaidd oddiwrth un nad oedd felly! Ni raid i ni chwilio hawliau mewnol unrhyw rhan o'r ysgrythyrau Hebreig i'r dynodiad o *Air Duw*. Mae y Messiah wedi gosod y cwestiwn hyny i orphwys am byth i bawb credinwyr parchus yn Ei anffaeledigrwydd a'i ddwyfoldeb. Mae ei dystiolaeth Ef yn fwy cadarnhaol i ni nâ holl feirniadaeth athrawon cadeiriol a duwinyddol ddysgedig. Nid ydym yn gofyn cadarnhâd pellach, eithr diolchwn yn ddifrifol iddo Ef am lefaru mor eglur a phendant ar bwnc cymmaint ei bwys. Yr oll a geisiwn ni gan haneswyr a beirniaid Iuddewig a Christionogol i'w wneuthur, ydyw profi i ni fod yr unrhyw lyfrau ag y cyfeiriodd ein Harglwydd atynt, genym ni. Y maent wedi gwneuthur hyn, ac mae awdurdod Iesu yn penderfynu yr oll o'r lleill. I ddefnyddio geiriau Dr. Pye Smith—

"Yr ydym yn gwrthod y llyfrau annghanonaidd (*apocryphal books*).

"*a.* Am nad ydynt yn y canon Palestinaidd a gydnabyddid gan ein Harglwydd a'r Apostolion.

"*b.* Nid ydynt yn gwneuthur un hawl i awdurdod ddwyfol, eithr i'r gwrthwyneb." Gwel Doeth. Sol. vii.; Rhagdraethau Sirach; 2 Macc. xv. 38; 1 Macc. iv. 46; ix. 27

"*c.* Maent yn cynnwys llawer sydd gyfeiliornus mewn ffaith ac athrawiaeth."—*First Lines of Christian Theology*, p. 77.

4. *Ac o barthed canon y Testament Newydd, mae y prawf yr un mor foddhaol.* Addawodd y Gwaredwr y deuai yr Ysbryd Glân i dywys Ei apostolion i bob gwirionedd. "Efe a ddysg i chwi yr holl bethau, ac a ddwg ar gôf i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi:" Ioan xiv. 25. "Eithr pan ddel y Dyddanydd, yr hwn a anfonaf i chwi oddiwrth y Tad, sef Ysbryd y Gwirionedd," &c.: Ioan xv. 26. "Ond pan ddel Efe, sef Ysbryd y Gwirionedd, Efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd:" Ioan xvi. 13. "Efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi:" Ioan xvi. 14. "Eithr chwi a dderbyniwch nerth yr Ysbryd Glân wedi y delo Efe arnoch:" Act. i. 8. Yr addewidion hyn, a llawer ereill i'r un perwyl, a gyflawnwyd, yn nghyntaf, ar ddydd y Pentecost, ac wedi hyny yn barhaus hyd ddiwedd yr oes apostolaidd.

Yr oedd Matthew a Ioan yn apostolion, ac felly yr oedd Iago, Pedr, Judas, gyda Phaul, apostol y cenedloedd. Am ganoniaeth, yr hyn a ysgrifenasant hwy yr amser hwnw, nis gall fod un ammheuaeth; a'r efengyl yn ol Marc yn ddiau a ysgrifenwyd ar gais Pedr. I ddefnyddio geiriau Dr. Angus,—"Tystiolaeth gydunol ysgrifenwyr Cristionogol foreuol ydyw, fod Marc yn canlyn Pedr, (drwy yr hwn, mae yn debyg, y dygwyd ef i wybodaeth o'r gwirionedd, gwel 1 Pedr, v. 13,) yn ystod cyfran helaeth o'i weinidogaeth, ac wedi mwynhau cyfeillgarwch yr apostol hwnw am rai blynyddoedd; iddo ysgrifenu yr hanes yma o fywyd ein Harglwydd dan ei gyfarwyddyd uniongyrchol ef. Felly y mae Justin yn galw ei efengyl yn 'Efengyl St. Pedr.' Rhai esbonwyr a dybiant fod cyfeiriad at y

ffaith yma yn 2 Pedr, i. 15, 16."—Llaw-Lyfr y Beibl tud. 432.

Ysgrifenwyd Efengyl Luc, y mae yn debyg, o dan gyfarwyddyd Paul.* Y mae yn rhagori fel efengyl y cenedloedd. Pa bryd ac yn mha le yr ysgrifenwyd hi, sydd ansicr; ond y mae wedi cael ei haddef yn gyffredinol o'r dechreuad, ei bod o awdurdod ganonaidd, ac y mae yn cynnwys cyflawnder o brofion mewnol ei bod o Dduw. Yn mhellach, dyfynir Luc x. 7, gan Paul fel ysgrythyr yn 1 Tim. v. 18. Actau yr Apostolion gan Luc a ysgrifenwyd yn ddiau o dan arolygiad Paul. Y mae wedi bod yn cael ei dderbyn hefyd oddiar y cyntaf fel rhan o'r "Oraclau bywiol."

Felly mae canoniaeth pob llyfr yn y Testament Newydd wedi cael ei brofi; ac mae yn deilwng o sylw neillduol, fod Pedr ei hun yn cydnabod awdurdod ddwyfol Epistolau Paul, gan eu rhestru gyda'r ysgrythyrau ereill (gwel 2 Pedr, iii. 15, 16,) tra yr oedd Paul etto yn fyw.

I'r cwestiwn o burdeb ac awdurdod y llyfrau, fel y maent genym ni yn awr, nid yw yn ein bwriad i fyned i mewn iddo. Y darllenydd a chwennycha chwilio y cwestiynau hyn drosto ei hun, a ddarllena lyfrau fel "Havernick's Introduction to the Old Testament;" "The Introductions to the New Testament," gan Hug a Davidson;" "Bengel's Gnomon;" "Llawlyfr y Beibl," gan Dr. Angus; a'r amrywiol erthyglau yn traethu ar y pwyntiau yma yn "Kitto's Biblical Cyclopædia." Llaw-Lyfr Dr. Angus ydyw y llyfr goreu i'r werin, efallai, o'i fath, yn gymmaint â'i fod yn rhoddi ffrwyth darllen mawr iawn mewn cwmpas bychan. Y canlyn ydyw y crynodeb a gynnwysir yn y gyfrol:—

"Yn y 7959 o adnodau sydd yn y Testament Newydd, nid oes mwy nâ deg neu ddeuddeg o ddarlleniadau o bwys mawr, ac nid yw y rhai hyn yn effeithio ar athrawiaethau yr ysgrythyr, ond yn unig ar rifedi y prawf-ranau yn mha rai y mae yr athrawiaethau yn cael eu dadguddio.

"Y gwahanol ddarlleniadau pwysig a gydnabyddir gan Griesbach yw y rhai canlynol:—

* Nid yw ond gonestrwydd i nodi fod llawer o feirniaid diweddar, ac yn mhlith ereill Dr. Samuel Davidson, yn gwrthod y traddodiad boreuol a chyffredinol am ddechreuad Paulaidd Efengyl Luc, fel yn annheilwng o gredmiaeth. Mae y pwynt hwn, fodd bynag, yn dra dibwys.

"Yn Actau, viii. 37, y mae yn gadael yr adnod allan; yn Actau, ix. 6, y mae yn gadael allan y rhan flaenaf o'r adnod; yn Actau xx. 28, am 'eglwys Dduw,' darllena 'eglwys yr Arglwydd.' Cyfnewidiad yn ymddibynu ar un lythyren—K am Th.

"Yn Phil. iv. 13, yn lle 'trwy *Grist*,' darllena 'trwy yr *hwn*.' Yn 1 Tim. iii. 16, yn lle 'Duw a ymddangosodd,' darllena '*yr hwn* a ymddangosodd;' gwahaniaeth yn ymgyfodi oddiwrth y dybiaeth fod dotyn wedi ei adael allan o un o'r ddwy lythyren yn y gair—O am Th.

"Yn 1 Ioan, v. 7, 8, y mae yn gadael allan y geiriau o 'yn y nef,' hyd 'ar y ddaear.'

"Yn Judas, 4, y mae yn gadael allan 'Dduw,' yn niwedd yr adnod.

"Yn Dad. viii. 13, am 'angel,' darllena 'eryr.'

"Y mae y diwygiadau hyn oll, oddieithr Actau xx. 28, a 1 Tim. iii. 16, yn cael eu cadarnhau gan Scholz a Hahn. Yn y ddwy adnod y mae y ddau ysgrifenydd yma yn cyduno â'r testun cyffredin, yr hyn hefyd a wnant yn llawer amlach nâ Griesbach, mewn darlleniadau dibwys ereill. Amryw o ddarlleniadau Griesbach, er nad ydynt yn dduwinyddol bwysig, a symudant anhawsderau o'r testun presenol.

"Y mae ymchwilydd manwl wedi nodi 1314 o ddarlleniadau amrywiol o werth yn yr Hen Destament. O'r rhai hyn, mabwysiadir 566 yn y cyfieithad Saesneg; 147 o'r cyfan sydd yn effeithio ar y synwyr, ond nis gellir ystyried un o honynt fel *o bwys duwinyddol.* Yn gyffredin y maent yn perffeithio y synwyr, neu yn diwygio dyddiad.—Gwel 'Codex Criticus,' gan Hamilton: Llundain, 1821.

"Y mae ysgrifeniadau Terence (chwech darn yn unig) yn cynnwys 30,000 o amrywiaethau, ac nid ydynt wedi eu hadysgrifenu mor aml â'r Testament Newydd. Gallwn yn ddibryder, gan hyny, fabwysiadu geiriau Bengel, yr hwn, ar ol ymchwiliad llafurus i'r pethau hyn, a ysgrifenai at Reuss, ei ddysgybl, 'Bwyta fara yr ysgrythyr mewn symlrwydd, fel y mae wedi ei roddi i ti, ac na chymmer dy gythryblu os cyfarfyddi yma a thraw ag ambell i dywodyn wedi dyfod drwy y felin. Pe na byddai yr Ysgrythyrau Santaidd, y rhai sydd wedi eu hadysgrifenu

gynnifer o weithiau, yn cynnwys amrywiaethau, byddai hyny yn wyrth mor fawr, fel na fyddai ffydd ynddynt mwyach yn ffydd. O'r tu arall, synir fi na fyddai mwy o ddarlleniadau amrywiol wedi canlyn yr holl adysgrifeniadau yma.'"—Tud. 8, 9.

---

## PENNOD II.

### YSBRYDOLIAETH Y BEIBL.

A CHYMMERYD yn ganiataol, gan hyny, fod llyfrau yr Hen a'r Newydd Destamentau gyda ni mewn sefyllfa o gywirdeb llenyddol rhyfeddol, cyfyd cwestiwn arall, Pa fodd y rhoddwyd y llyfr ar y cyntaf? Mae yr ymholiad hwn yn agor yr holl ddadl o barthed i ysbrydoliaeth. Mae ysbrydoliaeth y Beibl yn un o'i athrawiaethau ei hun, ac ni ellir, gan hyny, fyned heibio iddi mewn cyfundrefn broffesedig o dduwinyddiaeth. Nid yw hwn yn gwestiwn o feirniadaeth, eithr o dystiolaeth ddwyfol.

Mae genym, gan hyny, yn y bennod hon i ystyried arwyddocâd yr adnodau hyny a briodolant ysbrydoliaeth ddwyfol i'r Ysgrythyrau Santaidd. Am y *modd* y rhoddwyd yr ysbrydoliaeth ddwyfol, nid oes genym un wybodaeth; a rhaid i hyn, gan hyny, aros i ni yn ddirgelwch annhreiddiadwy. Y mae, ac fe fydd, eneidyddiaeth (*psychology*) ysbrydoliaeth yn ddirgelwch gorddwfn.

Y pwynt, pa fodd bynag, yr ydym ni i ofalu yn ei gylch ydyw, y canlyniad. Yr oll ag sydd yn angen arnom ni i'w brofi ydyw, i ysbrydoliaeth y Beibl ddiogelu ei holl ysgrifenwyr rhag cyfeiliornad, nid yn unig o berthynas i ffaith ac athrawiaeth, eithr hyd y nod yr *eiriadaeth* yn yr hon y dadguddiwyd y ffaith neu yr athrawiaeth. Os na fedrwn brofi hyn, rhaid i ni roddi fyny ein crediniaeth yn awdurdod arbenig ac anffaeledig y llyfr.

Addefa yr ysgrifenydd ei hun yn gredadyn diysgog yn ysbrydoliaeth hyd y nod eiriau yr ysgrythyr Bu ei feddwl am rhai blynyddau yn dra ansefydlog ar y cwestiwn hyny; a llawer o ymdrechion dirboenus yr aeth efe trwyddynt wrth chwilio ei ffordd yn ol i'w argyhoeddiadau cyntefig ar y pwnc. Nid oes ganddo, fodd bynag, un ddamcaniaeth

arddansoddol newydd (*metaphysical theory*) o ysbrydoliaeth i'w chwanegu at rhifedi y rhai sydd wedi eu cynnyg yn barod: yr oll y mae efe yn honi ydyw, fod geiriau yr Ysgrythyr Santaidd gymmaint dan gyfarwyddyd yr Ysbryd Glân, fel yr oedd pob llythyren yn yr ysgrifau gwreiddiol yn anffaeledig wirioneddol. Yr ydym yn dywedyd yr *ysgrifau gwreiddiol;* h. y., y llaw ysgrifau a ysgrifenwyd gan y prophwydi a'r apostolion eu hunain, neu a adolygwyd ganddynt wedi eu hysgrifenu gan eu hysgrifenyddion. Rhoddwn ein rhesymau dros y ffydd sydd ynom.

1. *Dechreuwn gyda thystiolaeth nodedig Pedr, yn ei ail Epistol*, i. 19—21: "Ac y mae genym air sicrach y prophwydi; yr hwn da y gwnewch fod yn dal arno *** Gan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddehongliad priod. Canys nid trwy ewyllys dyn y daeth gynt brophwydoliaeth; eithr dynion sanctaidd Duw a lefarasant megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân."

Mae yn eglur, feddyliem, fod yr adnodau hyn yn cyfeirio at dystiolaeth yr Hen Destament i Grist fel cyfanwaith, ac nid at unrhyw brophwydoliaeth neillduol. Mae yn haeriad cyffredin fod y dynion santaidd a ysgrifenasant yr Hen Destament, ('upò Pneúmatos 'agíou pherómenoi,) yn cael eu tywys, neu eu dirgymhell, gan yr Ysbryd Glân. Maent yn cyfeirio nid yn unig at *lefariad* gair Duw drwy eu geneuau hwynt, eithr at y gair fel y mae wedi ei gofnodi yn yr ysgrythyr. Mae yn rhaid mai am y gair hwnw fel yn *ysgrifenedig* y dywedodd yr apostol, "Y mae genym air sicrach y prophwydi," &c.; canys yr oedd y rhagfynegiadau wedi eu llefaru ganrifoedd cyn dydd Pedr, ac mewn ysgrifen yn unig y cafodd Pedr a'i gyfoedwyr hwynt. Ac am y gair ysgrifenedig y llefara yr apostol pan ddywed, "nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddehongliad priod." Nis gall dim fod yn eglurach, gan hyny, nâ hyn, fod yr apostol Pedr yn haeru fod y dystiolaeth ysgrifenedig hon i Grist, sef yr Hen Destament—*yn air sicrach* (bebaioteros) hyd y nod nâ'r *un* "llef" a ddaeth o'r nefoedd ar fynydd y Gweddnewidiad. Ni rhaid i ni fyned i eglurhâd cyffredinol o'r adnodau hyn.

Y pwynt mawr y cyfeiriwn sylw ato yma yw, fod yr unrhyw anffaeledigrwydd yn cael ei briodoli i'r *cofnodiad* o ddwyfol ddadguddiad ag i'r dadguddiad gwreiddiol ei hun. Mae yr ysgrythyr mor sicr ac mor ddwyfol ysbrydoledig â'r llefariad gwreiddiol o ba un y mae yn adysgrifeniad.

2. *Mae hyn yn cael ei ddywedyd yn bendant gan Paul yn* 2 Tim. iii. 15, 16: "Yr ysgrythyr lân, yr hon sydd abl i'th wneuthur di yn ddoeth i iachawdwriaeth trwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu. Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw (theopneustos) ac sydd fuddiol," &c. Gelwir yr ysgrifeniadau yn ysgrifeniadau santaidd ('ierà grámmata), am iddynt gael eu rhoddi trwy ddwyfol ysbrydoliaeth, neu am "eu bod yn ysbrydoledig." Ac y mae hyn yn wir am yr *holl* ganon, am bob peth y gwnai Paul fel Cristion Iuddewig ei gynnwys dan y term *Ysgrythyrau.* Mae yr holl ysgrythyr (păsa graphē) yn gynnwysedig yn y dystiolaeth hon. Yr ysgrifau cyntefig a ysgrifenwyd dan gyfarwyddyd Duw ei hun: ysbrydolodd bob ysgrifenydd santaidd yn mhob rhan o'i waith. Nid yw Paul yn dyweyd dim am *raddau* o ysbrydoliaeth yn amrywiol ranau y cofysgrifau. Mae ei honiad mor gymhwysiadol at lyfrau y Cronicl ag at lyfr Esaiah. Am bob brawddeg, gair, a llythyren, yn ysgrifau gwreiddiol y dwyfol wirionedd fel yr ysbrydolwyd hwynt gan Dduw, y llefara yr apostol.

3. Heblaw hyn, *nid ydym byth yn cyfarfod â dim yn yr Ysgrythyr Santaidd fel gwahaniaeth rhwng ysbrydoliaeth y meddyliau a draethir, a'r geiriau yn y rhai y gosodir hwynt allan.* Am ddadguddiedigaethau llefaredig Duw, darllenwn eu bod yn eiriau yr Arglwydd, ac nid Ei *feddyliau* yn unig. "Gair yr Arglwydd;" "Fel hyn y dywed yr Arglwydd;" "Fy ngeiriau;" "Duw, wedi iddo lefaru lawer gwaith wrth y tadau trwy y prophwydi." Dyma y dullwedd gwastadol y cyflwynir i'n sylw ddadguddiedigaethau dwyfol. A dywedir fod hyd y nod y geiriau yn eiddo yr Arglwydd, ac nid byth y meddyliau yn unig. Yr ydym wedi edrych i mewn i'r adnodau hyn yn ofalus, a dyma ydyw ffrwyth ein ymchwiliad.

Ac felly mewn perthynas â'r gair ysgrifenedig, honir

ysbrydoliaeth i'r ysgrifeniad, ac nid i'r ffeithiau a'r athrawiaethau yn unig. Yn chwanegol at dystiolaeth Paul, fod yr "holl ysgrythyr," yn llythyrenol, ysgrifeniad (graphē) wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw," y mae genym eiriau ein Harglwydd ei hun—"Yr Iesu a atebodd iddynt, Onid yw yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi, Mi a ddywedais, Duwiau ydych? Os galwodd Efe hwynt yn dduwiau, at y rhai y daeth gair Duw, a'r ysgrythyr nis gellir ei thori. A ddywedwch chwi," &c.: Ioan x. 34, 35. Gwelir fod y ddadl hon yn nghylch cymhwysiad uniawn *gair*, ac i'n Harglwydd ei phenderfynu trwy apëliad at yr *ipsissima verba*,* mewn adnod yn yr Hen Destament (Salm lxxxii. 6,) gan chwanegu at y cyfeiriad geiriol hwn, ei ddywediad mawreddog ei hun, "A'r Ysgrythyr," (hyny yw, yr ysgrythyr fel cyfanwaith, athrawiaethau, ffeithiau, a *geiriau* yn cael eu cymmeryd i mewn,) "nis gellir ei thori." Mae y cyd-destun yn ei wneuthur yn sicr fod ein Harglwydd yn cyfeirio hyd y nod at *eiriau* y gôf-ysgrif.

Yn chwanegol at yr ysgrythyrau uchod, gall y darllenydd ystyried y rhai canlynol:—"Eithr mynegaf i ti yr hyn a hysbyswyd yn ysgrythyr y gwirionedd:" Dan. x.21. Yr oedd, nid yn unig y dadguddiad gwreiddiol yn wirionedd, ond yr oedd yr ysgrifeniad ohono hefyd yn anffaeledig wirioneddol. "Geiriau yr Arglwydd ydynt eiriau purion:" Salm xii. 6., h.y. pur oddiwrth bob cymmysgedd o gyfeiliornad neu bechod. "Holl *Air* Duw sydd bur:" Diar. xxx. 5. Nid oedd yn yr ysgrifeniad gwreiddiol un gair o anwiredd. Ac felly trwyddo oll. Cymmerodd Duw ofal na fyddai i'r meddyliau, &c., a ddadguddiodd Efe i ddynion gael eu *cam*ddarlunio yn nghwrs eu trosglwyddiad i ysgrifen. Buasai gwall yn yr achos olaf yn annhraethol gwaeth, ac yn cael ei ledaenu lawer pellach yn ei ddylanwad niweidiol nag yn yr achos blaenaf; canys nid oedd y dadguddiad llefaredig yn aml ond i un oes a phobl, tra yr oedd y gôf-ysgrif ysbrydoledig yn cael ei bwriadu i'r holl ganrifoedd a'r cenedlaethau. A wnai Jehovah ganiatâu i'w athrawiaethau a'i fwriadau goruchel, gael eu hanafu trwy annghywirdeb geiriol? Ac nid oedd ond un ffordd i rwystro hyn, sef, trwy arolygu trwy Ei Yspryd

* Y geiriau eu hunain.—Cyf.

Glân y trosglwyddiad o'i ddadguddiedigaethau i ysgrifen, ac fel hyn yn tywys yr ysgrifenwyr i ddewisiad geiriau iawn.

4. *Os yw y Beibl yn llyfr ysbrydoledig o gwbl, yn yr ystyr y mae Cristionogion yn gyffredin yn deall yr ymadrodd hyny, yna rhaid i'w ysbrydoliaeth, oddiwrth natur yr achos, ymestyn i'w eiriau.* Am y rheswm tra eglur, fod y Beibl yn llyfr o eiriau. Mae llyfrau yn croniclo ffeithiau a meddyliau mewn geiriau. Yr ydym yn meddwl mewn geiriau, ac yn ysgrifenu mewn geiriau; fel nas gall meddyliau fod yn ysbrydoledig ar wahan oddiwrth y geiriau sydd yn eu trosglwyddo; ac nis gall côf-ysgrifau chwaith fod yn ysbrydoledig ar wahan oddiwrth y geiriau, y rhai, mewn gwirionedd, a gyfansoddant gôf-ysgrif. Cof-ysgrif ysbrydoledig, gan hyny, yn yr hon nid yw yr ysgrifenwyr dan ddylanwad dwyfol yn y geiriau a ddefnyddir, sydd afresymoldeb a gwrthddywediad. Os nad yw y geiriau yn ddwyfol gymmeradwy, pa beth a ddaw o awdurdod y prawf-ysgrif? Nis gellir ystyried un llyfr, fel llyfr, yn ysbrydoledig, os na fydd y geiriau a gyfansoddant y llyfr wedi eu hysgrifenu dan ddylanwad dwyfol.

5. *Canys mae ymadroddiad cywir yn hanfodol, fel y byddo i'r dadguddiad gwreiddiol a wnaed gael ei drosglwyddo yn wirioneddol a diammheu.* Pa fodd y gallwn ddywedyd fod genym feddyliau Duw yn wir ddiammheu, os trosglwyddwyd hwynt mewn geiriau a ddefnyddiwyd gan ddynion na chynnorthwywyd gan yr Ysbryd Glân? Ai annichonadwy oedd iddynt fethu trosglwyddo ystyr cywir y syniad neu yr athrawiaeth a fwriedid? Os nad oedd y geiriau yn cael eu rhoddi neu eu harolygu gan Awdwr Dwyfol y gwirionedd oedd i gael ei wneuthur yn hysbys, pa sicrwydd a feddwn fod genym ni y gwirionedd hwnw o gwbl?

6. Ac mae y ddadl hon yn derbyn grym chwanegol oddiwrth y ffaith fod *llawer o'r Ysgrythyr Santaidd, yn yr amser yr ysgrifenwyd hi, yn ddirgelaidd hyd y nod i'r rhai a'i hysgrifenodd hi.* Wedi iddynt ysgrifio y gair cyssegredig, yr oedd ganddynt i chwilio i mewn i'w feddwl. "Am yr hon iachawdwriaeth yr ymofynodd ac y manwl chwiliodd y prophwydi, y rhai a brophwydasant am y gras

a ddeuai i chwi: Gan chwilio pa bryd neu pa ryw amser yr oedd Ysbryd Crist, yr hwn oedd ynddynt, yn ei hysbysu, pan oedd Efe yn rhagdystiolaethu dyoddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hyny. I'r rhai y datguddiwyd nad iddynt hwy eu hunain, ond i ni, yr oeddynt yn gweini yn y pethau a fynegwyd yn awr i chwi, gan y rhai a efengylasant i chwi trwy yr Ysbryd Glân, yr hwn a ddanfonwyd o'r nef: Ar yr hyn bethau y mae yr angelion yn chwenychu edrych:" 1 Ped i. 10—12.

Mae yn eglur oddiwrth yr adnodau uchod fod llawer o rhagfynegiadau y prophwydi gynt yn annealladwy iddynt hwy eu hunain. Rhaid oedd iddynt chwilio i feddwl eu dywediadau eu hunain. Yn awr y mae yn eglur fod y prophwydi santaidd, yn yr holl achosion hyn, yn cael eu cyflenwi â'r geiriau eu hunain (*ipsissimi verba*) yn y rhai y llefarasant ac yr ysgrifenasant. Yr oedd y meddyliau uwchlaw eu perffaith amgyffrediad, pa fodd, gan hyny, y gallent yn briodol fynegu meddylddrychau nad oeddynt yn eu deall? Ymddengys y ddadl hon i'r awdwr yn anatebadwy, mor bell, o leiaf, ag y perthyn tystiolaeth yr Hen Destament i'r Messiah; a rhaid addef fod y cyfeiriad yn 1 Pedr, i. 10, 11, at y rhan neillduol hon o'r Ysgrythyr Santaidd. Os na roddodd Duw y geiriau, nis gallai y dynion byth eu cael, canys nid oeddynt hwy yn amgyffred y meddylddrychau oeddynt yn cael eu mynegu. Yma yr oedd ysbrydoliaeth eiryddol nid yn unig yn bosibl, ond yn hollol angenrheidiol. Gwel hefyd Dan. xiii 8, 13: "Yna y clywais, ond ni ddeallais; eithr dywedais, O fy Arglwydd, beth fydd diwedd y pethau hyn?" &c., &c.

7. Ond gofynir, yn ddiau, *A ydych chwi yn priodoli yr un radd o ysbrydoliaeth i ysgrifeniad y naw pennod flaenaf yn llyfr cyntaf y Cronicl, ag i gyfansoddiad y drydedd bennod ar ddeg a deugain o Esaiah?* Mae y cwestiwn hwn yn cael ei ofyn yn gyffredin fel math o *reductio ad absurdum.** Yr ydym yn ateb, na wyddom ddim am raddau ysbrydoliaeth yn yr Ysgrythyr Santaidd; ac i'r hanes ysgrifenedig y perthyn y cwestiwn. Os ydyw y naw pennod flaenaf yn llyfr cyntaf y Cronicl (fel yr ydym yn credu

* Fel math o derfyn i afresymoldeb.—Cyf.

eu bod) yn rhan o'r canon Iuddewig, at yr hwn y cyfeiriodd Crist pan ddywedodd, "A'r ysgrythyr nis gellir ei thori;" ac am ba un y dywedodd Paul, "Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw:" yna nis gall fod un ammheuaeth fod yr hanesion a roddwyd gan yr Ysbryd Glân yn y Cronicl mor anffaeledig wirioneddol â throsglwyddiad rhagfynegiadau Esaiah yn ei drydedd bennod ar ddeg a deugain. Heblaw hyn, os na ddarfu i'r Ysbryd Glân arolygu hyd y nod eiriau naw pennod flaenaf 1 Cronicl, beth a ddarfu iddo Ef ei arolygu pan ysgrifenwyd y pennodau hyny? Nid ydynt ond cofres o eiriau, sef enwau dynion. Syniad, nid oes un; athrawiaeth, nid oes un; pennodau o eiriau yn unig ydynt. Ac os nad oedd y geiriau yn y rhai y rhoddwyd hwynt ar y cyntaf gan yr Ysbryd Dwyfol, yn berffaith ac anffaeledig wirioneddol, yr oeddynt yn hollol ddiwerth. Os bu gofal am eiriau erioed yn rheidiol, yr oedd yn rheidiol yma.

Nid ydym yn aros i gyfiawnhau y doethineb dwyfol yn y gofal hwn dros achau; er na ddylai dim a berthyn i hanesiaeth y llwythau hyny, o un o ba rai yr oedd ein Harglwydd i gael ei eni, fod yn ddifudd i feddwl duwiolfrydig. Yno saif y pennodau yn rhan o'r ysgrythyrau a roddwyd gan ysbrydoliaeth Duw. Ac os oedd gan yr Ysbryd bendigedig rywbeth i'w wneuthur â hwynt, rhaid Ei fod yn gofalu am eu geiriau, canys eu geiriau a gyfansoddant eu hunig werth.

8. Ond etto, dichon y gofynir, *Pa fodd yr eglurwch y ffaith fod yr Ysgrythyrau Santaidd yn rhoddi i ni gyfieithadau gwahanol o'r un ffurf o eiriau*, megis y Deg Gorchymmyn, a Gweddi yr Arglwydd? Atebwn, Nad yw y ffaith yn gofyn am eglurhad. Yn sicr, gall yr Ysbryd Glân amrywio Ei eiriadaeth ei hun wrth fynegu i ni Ei syniadau goruchel. Yr oll a ddadleuwn ni yn ei erbyn ydyw, iddo Ef adael yr amrywiaethau hyn mewn geiriau i'r ysgrifenwyr. Yr amrywiaethau yn y Deg Gorchymmyn a Gweddi yr Arglwydd, ydynt eiddo Ef oll; a gallwn fod yn sicr, gan hyny, fod y dulliau amrywiaethol yma o fynegu yr un meddylddrych mewn perffaith gyssondeb ag unaniaeth meddwl.

Felly hefyd yr ydym yn cyfrif am ieithweddau gwa-

hanol amrywiol ysgrifenwyr y Beibl. Gwnaeth yr Ysbryd Glân ddefnydd o'u hamrywiol raddau o wrteithiad, megis addysgiad Paul a Luc, fel *media,** megis y defnyddia cerddor yr offer ar ba un y chwareua. Ond nid oedd Paul a Luc ond ysgrif-weision yn unig; y Dyddanydd oedd yn eu hysbrydoli; megis ag nad yw y bibell neu y chwibanogl ond y cyfrwng trwy yr hwn y parabla y cerddor ei dônau pèrseiniol.

Ac am y darlleniadau amrywiaethol a oddefwyd i ymlusgo mewn i'r canon ysbrydoledig trwy ddiofalwch neu anwybodaeth adysgrifenwyr, nid yw y rhai hyn yn effeithio dim ar ein dadl o gwbl—yr hon a berthyna i'r Ysgrythyr, fel y rhoddwyd hi yn wreiddiol gan Dduw. Er hyny, rhaid cadw mewn cof, nad yw yr amrywiaethau hyn o ddim pwys; † ac fod Duw yn ddiammheu wedi eu caniatau hwynt am rhesymau doeth,—yn mhlith ereill i fywhau diwydrwydd a difrifolder yr Eglwys yn ei hymchwiliad i eiriau yr "Ysgrythyr ddihalogedig" ac i enyn ynom ddymuniad i wylied, gydag eiddigedd duwiol, burdeb y côf-ysgrifau santaidd.

---

# PENNOD III.

## AWDURDOD Y BEIBL.

WEDI sicrhau fod y gwir ganon ysgrythyrol genym, ac fod yr "holl ysgrythyr wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw," y cwestiwn nesaf a'n cyferfydd yw, Pa ddefnydd ydym i'w wneuthur o'r dystiolaeth santaidd? Neu, mewn geiriau ereill, Beth ydyw ei awdurdod?

1. *Mae awdurdod yr Ysgrythyr Santaidd yn berffaith ac anffaeledig.* Yn gymmaint â'i bod yn wir air y Duw byw, a'i bod wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth yr Ysbryd, *rhaid* fod ei hawdurdod yn berffaith ac anffaeledig. Nid oes angen am un prawf arall o'i hawdurdod, heblaw yr un a roddir gan y ffaith o'i hysbrydoliaeth. Oddiwrth air Duw y gwirionedd nis gall fod un apëliad. Ni all y llyfr a ysbrydolodd Efe fod yn cynnwys dim anwiredd. Ar bob cwestiwn y mae Efe wedi llefaru, mae dadl yn terfynu,

* Fel cyfryngau.—CYF.

† Gwel tud. 27.

oddieithr mor bell ag y byddo amrywiaeth barn yn cyfodi mewn sicrhau meddwl y dystiolaeth. Ni fwriadwyd i'r Ysgrythyr Santaidd ddysgu i ni gelfyddyd neu athroniaeth, ar y pwyntiau hyn nid yw ond wedi cyffwrdd yn ddamweiniol; ond mae y Beibl i'w gredu hyd y nod yn y rhan hon o wirionedd, mor bell ag y mae wedi llefaru. Nid yw yr Ysgrythyr Santaidd yn cynnwys dim cyfeiliornadau neu gamsyniadau celfyddydol. Ni ddichon Duw fod yn llai geirwir ar gwestiynau mewn athroniaeth nag yn nhrefn iachawdwriaeth. Mor bell ag y mae wedi ymostwng i gorffoli gwirioneddau celfyddydol yn Ei ddadguddiad, bydded i ni elwa trwy ei addysgiadau. Gwell fyddai genym ddysgu gan Dduw yn mhob ymchwiliad, nâ chan holl athronwyr y byd. Os yw ein athroniaeth yn gwrthddywedyd y Beibl, rhaid fod y cyfeiliornad yn ein athroniaeth ni, nid yn y Beibl. Ond yr ydym yn dàl fod holl ymdrechion anffyddwyr i farnu Gair Duw yn euog o gyfeiliornadau celfyddydol, wedi profi yn fethiant truenus. "Buasai yn wrthun pe na fuasai ei ieithwedd, a chymmeryd i mewn yr holl gyfeiriadau at arddangosion naturiaethol a'u hachosion, yn gyfryw ag eiddo yr oes a'r wlad. Y mae yn ddigonol y gallant gymmeryd dehongliad teg, yr hyn, yn wir, nid yw ond math o gyfieithu o ffurf o ymadrodd ddyeithr a henafol i un frodorol a diweddar. Enghreifftiau: Gen. xxxii. 17; xlix. 12; 1 Sam. xvi. 14." —*Pye Smith's First Lines, &c., p.* 73.

Defnyddiwn ni yr un rhyddid ymadrodd hyd y nod yn yr oes oleuedig hon. Parha gan hyny, ein seryddwyr yn eu gweithiau mwyaf celfydd, i siarad am yr haul fel yn *machlud* ac yn *codi*, er y gwyddant yn dda nad yw yn gwneuthur y naill na'r llall. Ai cyfeiliornad yw hyn? neu a wna y bobl eu cyhuddo am ddefnyddio ohonynt y ieithwedd hon o fod ddim yn deall trefn y gyfundrefn heulawg? Na wnant yn sicr. Paham gan hyny, y cyhuddwn ni Dduw o anwybodaeth o ddeddfau Ei gyfanfyd Ei hun am iddo trwy enau Josuah ddywedyd wrth yr haul am aros?

Ond mae y Beibl wedi ei fwriadu yn benaf i fod yn hyfforddwr i'n credo a'n ymarferiad crefyddol. Hawlia oddiwrthym ffydd ddiammheuol yn ei addysgiadau, ac

ufudd-dod diymattal i'w orchymmynion. "Bydded Duw yn eirwir, a phob dyn (h. y. pob dyn a lefaro yn wrthwyneb I'w Air) yn gelwyddog:" Rhuf. iii. 4. "At y gyfraith, ac at y dystiolaeth: oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt:" Esa. viii. 20. Ein hunig orchwyl ni yw chwilio yn weddigar a pharchus ystyr addysgiadau Duw; ac wedi cael hyny allan yn deg, dylai dadl derfynu, ac ufudd-dod ddechreu. Ni raid i ni betruso canlyn pan fydd Ysbryd Jehofah yn ein tywys; oblegid fel hyn y darllenwn: "O herwydd anufuddhau o honynt eiriau Duw, a dirmygu cynghor y Goruchaf: am hyny yntau a ostyngodd eu calon â blinder," &c.: Salm cvii. 11, 12. "Yr hwn a ddirmygo y gair, a ddifethir: ond yr hwn sydd yn ofni y gorchymmyn, a obrwyir:" Diar. xiii. 13 "Oherwydd i chwi, pan dderbyniasoch air Duw, ei dderbyn ef, nid fel gair dyn, eithr (fel y mae yn wir) yn air Duw:" 1 Thess. ii. 13. "Sefwch, a deliwch y traddodiadau a ddysgasoch, pa un bynag ai trwy ymadrodd, ai trwy ein hepistol ni:" 2 Thess. ii. 15. "Bydded genyt ffurf yr ymadroddion iachus, y rhai a glywaist genyf fi, yn y ffydd a'r cariad sydd yn Nghrist Iesu:" 2 Tim. i. 13. "Od oes neb yn dyfod atoch, heb ddwyn y ddysgeidiaeth hon, na dderbyniwch ef i dŷ, ac na ddywedwch Duw yn rhwydd wrtho, canys yr hwn sydd," &c.: 2 Ioan, 10, 11. Felly anammodol (*uncompromising*) ydyw yr hawl a wna yr Ysgrythyrau Santaidd ar ein ffydd a'n ufudd-dod.

2. *Mae awdurdod yr Ysgrythyr Santaidd yn gyffredinol.*—H. y. mae ei hawdurdod yn cyrhaedd pawb dynion a glywant ei chenadwri: y rhai hyny a'i dirmygant, a ddelir fyth yn ngafael tyn ei hawliau. "Yr hwn sydd yn fy nirmygu i, ac heb dderbyn fy ngeiriau, y mae iddo un yn ei farnu: y gair a lefarais I, hwnw a'i barn ef yn y dydd diweddaf:" Ioan xii. 48. Ac ni ddichon un Cristion ddianc oddiwrth ei warogaeth i wirionedd Duw. Y mae swyddogion uchelaf yr Eglwys yn gyfrifol wrth ei frawdle. Mae honiadau pabau i fod yn uwch na gair Duw, yn gableddus. Mae esgobion i fod yn ddarostyngedig i'r gwirionedd, ac nid y gwirionedd iddynt hwy. Gwel 2 Tim. iii. 14-17.

Ac mae awdurdod yr Ysgrythyr yn gymhwysiadol at *holl*

ffydd ac ymarferiad dyn. Y mae i fod ei unig a'i ddigonol arweinydd yn mhob mater crefyddol, o berthynas i athrawiaethau yn gystal ag ordinhadau, canys mae yr "Ysgrythyr yn fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder, fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda:" 2 Tim. iii. 16, 17. Ac felly mewn perthynas i gyfansoddiad a llywodraethiad cymdeithasau y ffyddloniaid. Mae y Testament Newydd wedi ei fwriadu i fod yn ddeddf-lyfr yr Eglwysi y mae yr Arglwydd yn eu sefydlu ar y ddaear. Fel y canlyn y mae yn eu hannerch: "Deliwch y traddodiadau a ddysgasoch, pa un bynag ai trwy ymadrodd ai trwy ein hepistol ni:" 2 Thess. ii. 15. "Y rhai a ddysgasoch, ac a dderbyniasoch, ac a glywsoch, ac a welsoch, ynof fi, y pethau hyn gwnewch," &c.: Phil. iv. 9. "Yr ydwyf yn eich canmol, frodyr, eich bod yn fy nghofio i yn mhob peth, ac yn dal y traddodiadau fel y traddodais i chwi:" 1 Cor. xi. 12. "Od oes neb heb ufuddhau i'm gair trwy y llythyr yma, hysbyswch hwnw, ac na fydded i chwi gymdeithas ag ef, megis y cywilyddio efe:" 2 Thess. iii. 14. "Ac yr ydym yn gorchymmyn * * * dynu ohonoch ymaith oddiwrth bob brawd ar sydd yn rhodio yn afreolus, ac nid yn ol y traddodiad a dderbyniodd genym ni:" 2 Thess. iii. 6. Fel hyn y mae y Cristion unigol, ac Eglwysi Crist, i gael eu llywodraethu yn yr un modd gan wirionedd Duw.

3. *Mae awdurdod yr Ysgrythyr Santaidd yn cau allan bob peth arall fel awdurdod.*—H. y. rhaid i ni beidio chwanegu ati unrhyw awdurdod gydraddol. Nid yw yr ysgrythyr yn groes i ddeddf natur, oblegid mae y ddeddf hono wedi ei chorffori yn yr ysgrythyr. Nid yw gair Duw chwaith yn groes i ddeddf cydwybod, canys y mae cydwybod oleuedig yn wastad yn cyfrif holl eiriau Duw yn uniawn am bob peth:" Salm cxix. 128. Nid oes un gallu *deddf-roddol* (*legislative power*) gan Eglwys Dduw; mae ei dyledswydd hi yn unig yn weinyddol: y mae ganddi hi i ddirgymhell a defnyddio y deddfau a osodwyd i lawr yn efengyl Iesu; ond nid oes gallu ganddi i wneuthur deddfau newydd. Athrawiaethau apostolaidd y mae hi i bregethu; ordinhadau apostolaidd y mae hi i weinyddu; a dysgyblaeth apostolaidd y mae hi i ymarfer; a phryd y gwna hi

hyn, y mae yn llefaru yn enw ei Meistr gyda gallu. Ond nid yw deddf-roddiaeth o fewn ei chylch hi. Y mae i gadw yr ordinhadau fel y rhoddwyd hwynt; ond chwanegu at eu nifer fyddai yn drawsfeddiant o iawnderau coron Emmanuel. Dyma yw gorchymyn Duw:—"Holl air Duw sydd bur, &c. Na ddyro ddim at ei eiriau Ef, rhag iddo dy geryddu, a'th gael yn gelwyddog:" Diar. xxx. 5, 6 "Na chwanegwch at y gair yr ydwyf yn ei orchymmyn i chwi, ac na leihewch ddim ohono ef:" Deut. iv. 2. "Y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd ein Duw, a'r pethau amlwg a roddwyd i ni ac i'n plant hyd byth; fel y gwnelom holl eiriau y gyfraith hon:" Deut. xxix. 29. "Canys yr wyf fi yn tystiolaethu i bob un sydd yn clywed geiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn, Os rhydd neb ddim at y pethau hyn, Duw a rydd ato ef y plâau sydd wedi eu hysgrifenu yn y llyfr hwn. Ac o thyn neb ymaith ddim oddiwrth eiriau llyfr y brophwydoliaeth hon, Duw a dyn ymaith ei ran ef allan o lyfr y bywyd, ac allan o'r ddinas sanctaidd, ac oddiwrth y pethau sydd wedi eu hysgrifenu yn y llyfr hwn:" Dad. xxii. 18, 19.

Saif yr Ysgrythyr Santaidd yn ogoneddus ar ei phen ei hun yn ei hardderchogrwydd, ac yn ei hawliau. Llefara y Beibl yn wahanol i bob llyfr arall, canys tystiolaetha yn enw Duw, a hawlia barch a fyddai yn gabledd i'w roddi i unrhyw awdurdod arall.

Yn mhellach, y mae pawb dynion i'w ddarllen drostynt eu hunain. Mae hyd y nod plant i gael eu gwneuthur yn gyfarwydd â'i gynnwysiad. "A dysgwch hwynt i'ch plant, gan grybwyll am danynt," &c.:" Deut. xi. 19. Gwel hefyd Deut. xxxi. 11-13; Salm lxxviii. 5—8; 2 Tim iii. 14—17. Y mae pob dyn a dynes i chwilio yr Ysgrythyrau, fel y gwnaeth y Bereaid, ac i gymharu pawb addysgiadau ereill, er cael eu cyhoeddi gan y Pab a'i holl goleg o gardinaliaid, â'u dadguddiedigaethau. Gwel Act. xviii. 11; 2 Tim. iii. 15—17; Esa. xxxiv. 16; Matt. xv. 3—6; Gal. i. 8; Col. ii. 8; iii. 16; 1 Pedr, ii. 2; Deut. xxix. 29; Rhuf xv. 4; Ioan v. 39; Esa. viii. 20. Ac yn y fath ymchwiliad goruchel, bydded i bob dyn geisio cynnorthwy yr Ysbryd da hwnw, gwaith neillduol yr hwn yw "tystiolaethu am Grist" (Ioan xv. 26); "gogoneddu" Crist (Ioan xvi. 14); "cym-

meryd o'i eiddo Ef, a'u mynegu i ni"(Ioan xvi. 14) ; "dwyn ar gôf i ni yr holl bethau a ddywedodd Efe (Ioan xiv. 26) ; "ein tywys i bob gwirionedd" (Ioan xvi. 13). Er cyflawnu y swyddau uchel hyn, y mae y "Dyddanydd" i "aros gyda yr Eglwys yn dragywyddol" (Ioan xiv. 16) ; ac yn Ei bresenoldeb a'i dywysiad Ef y mae ein hunig ddiogelwch ni rhag "heresi a gau athrawiaeth."

Bydded i ni, gan hyny, ddeisyf am Ei gynnorthwy yn ein hymchwiliadau, gan gofio, ond eu cyfarwyddo ganddo Ef, y "rhai hyny a rodio y ffordd, pe byddent ynfydion, ni chyfeiliornant:" Esa. xxxv. 8.

Fel hyn yr ydym yn terfynu ein hystyriaeth fèr iawn, o angenrheidrwydd, o'r "brawf-reol" (*standard of appeal*). Ni a gawn fyned rhagom yn awr, i chwilio yr hyn y mae yn ei ddysgu mewn perthynas i wirioneddau mawrion crefydd.

# RHAN II.

## DUWINYDDIAETH YN EI PHWNC MAWR—DUW.

Gan fod duwinyddiaeth yn llythyrenol yn gelfyddyd a berthyn i Dduw, bydd yn iawn yn y cychwyniad i ystyried yr hyn a ddywed y Beibl mewn perthynas i'r Bod goruchel hwnw.

## PENNOD I.

### BODOLAETH DUW.

Os ydyw y Beibl yn wir, mae yn bod Dduw personol, y Creawdwr, Cynnaliwr, a Llywydd y Cyfanfyd. Unrhyw ddyn, gan hyny, sydd wedi ei argyhoeddi o wirionedd yr ysgrythyrau, mae yn rhaid iddo gredu yn modolaeth Bod Dwyfol. Dichon i ddyn gredu mewn Duw heb dderbyn yr ysgrythyrau fel yn ysbrydoledig; ond ni ddichon un dyn gredu yr olaf heb gredu y blaenaf hefyd.

Er hyny, dichon y byddai yn dda i edrych yn fyr ar y profion cyffredinol o fodolaeth Duw personol a deallol.

1. Gosodwn, yn nghyntaf, *y profion a roddir gan ddywediadau pendant yr Ysgrythyr Santaidd.*—Byddai dyfynu adnodau neillduol yn hollol ddiangenrhaid, oblegid mae y Beibl drwyddo oll yn cymmeryd yn ganiatâol fodolaeth Duw personol a deallol.

2. *Rhesymoldeb y meddylddrych ysgrythyrol am Dduw.* Mae y syniadau a roddir gan ddadguddiad am Dduw, yn gyfryw a gymmeradwyant eu hunain i bob rheswm uniawn. Teimlwn yn gyngreddfol mai dymunol fyddai i'r cyfryw Fod fodoli. Mae y meddylddrych o gyfanfyd amddifad—o fydoedd heb ben neu lywodraethwr—yn feddylddrych oer a rhewaidd i galon dynoliaeth! Dichon nad yw rheswm wedi bod yn alluog i ddarganfod gyda sicrwydd anffaeledig, fod y fath Frenin breninoedd yn bod; ond pan mae y ffaith fawreddog o'i fodolaeth yn cael ei gosod ger bron, mae ar unwaith yn lledawgrymu ei hun i'r me-

ddwl dirhagfarn. Nid oes raid i ddynion rhesymu eu hunain *i'r* grediniaeth o fodolaeth Duw personol; ond rhaid iddynt rhesymu eu hunain *allan* ohoni. Pe gallesid ysgrifenu hanes calon pob Atheist, ceid gweled fod cyfrwys ddadlyddiaeth a thwyll rhesymeg wedi rhwygo fyny o werydd *(soil)* ei enaid y grediniaeth mewn bod Dwyfol. Rhaid gwneyd cam â phob greddf o eiddo ein natur, cyn y gellid ein dwyn i ymadael â'r meddylddrych o Dduw. Mae enaid dyn, pan heb ei sarhau fel hyn, yn cydsynio â rhesymoldeb yr athrawiaeth ysgrythyrol o fodolaeth Jehofah.

3. Y *ffaith fod hyn wedi bod yn cael ei gredu gan ddyn o'r dechreuad yn mron yn gyffredinol.*—Gyda yr eithriad o ychydig Atheistiaid, y rhai ydynt wedi rhesymu eu hunain allan o grediniaeth yn mhob peth, a llwyth neu ddau a ddarganfyddwyd gan Moffat yn nghanolbarth Affrica Ddeheuol, y mae pawb dynion wedi dal y syniad hwn. Mae y rheswm paham y collwyd y meddylddrych hwn gan y pleidiau eithriadol, yn cael ei egluro yn Rhuf. i. 21, 28: "Oblegid, a hwy yn adnabod Duw, nis gogoneddasant Ef megis Duw, ac na buont ddiolchgar iddo:" "Ac megis nad oedd gymmeradwy ganddynt gadw Duw yn eu gwybodaeth." Y mae llygriad y meddylddrych hwn hefyd yn cael ei egluro gan yr un adnodau.

Y mae y gwirionedd, fodd bynag, yn aros, fod yn bodoli, ac fod wedi bodoli erioed yn mhlith dynion yn mhob gwlad ac yn mhob oes, braidd heb eithriad, ryw syniad am Dduw. Pa fodd, gan hyny, y cafodd dyn y syniad hwn? Rhaid mai trwy un o ddwy ffordd. Naill ai trwy ddadguddiad uniongyrchol,—ond mae y dybiaeth hon yn caniatâu yr holl gwestiwn, canys ni all un dadguddiad fod wedi bod, oddieithr fod Duw i ddadguddio ei Hun. Neu trwy rym profion diymwad yn gweithredu ar y rheswm cyffredinol. Ond y mae hyn etto yn awgrymu fod y meddylddrych yn gysson â rheswm cyffredinol, ac o ganlyniad, rhaid ei fod yn wirionedd; ac ar gyrn y dyryswch hwn yr ydym yn gadael pob Atheist i ymnyddu.

4. Y *profion o ragarfaethiad y rhai sydd yn nodweddu holl natur.*—Mae yr Archddïacon Paley efallai wedi gosod allan ddadl y rhagarfaethiad (*design argument*) mor nerthol

ag unrhyw ddyn, yn ei draethawd ar "Dduwinyddiaeth Naturiol. Y mae yn ddadl, grym yr hon a gydnabyddir yn yr ysgrythyr, ac ni ddichon un Cristion, gan hyny, ei rhoddi fyny. Mae Paul yn ei defnyddio gyda hyder mawr yn Rhuf. i. 20. "Canys Ei anweledig bethau Ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef Ei dragywyddol allu Ef a'i Dduwdod, hyd onid ydynt yn ddiesgus." Y mae Dafydd yn ei gwisgo â holl hyawdledd ei farddoniaeth ysbrydoledig yn y chwech adnod flaenaf yn Salm xix.:—"Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw," &c.

Gwelwn yn argraffedig ar bob gronyn o fater, ddeddfau y cyfanfyd. Mae holl egwyddorion tremyddiaeth *(optics)* yn gorfforedig yn y llygad dynol. Mae rhagarfaethiad yn amlwg yn mhob man, ond b'le mae y Rhagarfaethwr? A yw pob gronyn o fater yn hunan-arfaethedig? Yna rhaid fod Duw; canys y mae hunan-fodoldeb yn briodoledd o eiddo y Duwdod; ac felly, i gael gwared o anhawsderau dilynedig crediniaeth mewn *un* bod hunan-fodol, rhaid i ni gredu mewn nifer diderfyn o fodau hunan-fodol? Mae Un Duw yn ddirgelwch rhy fawr, ac felly rhaid i ni gael miliwnau o'r cyfryw!

Pan y mae Atheistiaid yn siarad am Natur a'i gweithrediadau, y maent yn traethu disynwyrdeb rhonc; canys y mae Natur, a'i chymmeryd yn yr ystyr y defnyddiant hwy y term, yn ddansoddiaeth bur. Nid yw ddim ond cyfanswm dychymmygol o fodau crëuedig. Nid oes ganddi un bod gwahanedig neu annibynol. Nis gall arfaethu dim, oblegid nid ydyw yn weithredydd personol. Yn Natur y canfyddwn nodau arfaethiad: nid yr arfaeth*wr* ydyw, eithr yr arfaeth*edig*. A ddarfu i Natur, gan hyny, arfaethu Natur? Pwy a ddichon gredu y fath wrthuni? Os wrth Natur y deallir unrhyw beth gwahanol oddiwrth y cyfanswm o fodau crëuedig, y mae yn rhaid iddo sefyll am Dduw; ond y mae, yn yr ystyr hyny, yn ddull o ymadrodd annghywir. Paham na ddywed yr Atheist, Duw ar unwaith, yn lle colli ei hun yn niwl geiriau?

5. *Y profion daiaregol y rhaid fod dyn wedi cael ei greu yn yr amser a nodir yn yr Ysgrythyr Santaidd.*—Y mae yr holl gynnygiadau diweddar i ddangos fod profion daiar-

egol o fodolacth dyn yn flaenorol i'r cyfnod a nodir yn y Beibl, wedi profi, yn ol barn y daiaregwyr galluocaf, yn fethiant hollol. Nid yw dyn yn ddadblygiad o unrhyw radd arall o greaduriaid. Nid ydych yn cael dim yn debyg iddo ef yn yr haenau daiaregol. Yr oedd efe yn amlwg yn greadigaeth newydd Ond pa fodd y dechreuodd efe hanfodi? Pa fodd y cynnyrchwyd yr hiliogaeth ar y cyntaf? Rhaid mae trwy greadigaeth: ac os felly, y mae yn rhaid fod Duw i'w greu ef. Ac os cafodd un hiliogaeth greawdwr, paham na chawsent oll?—Gwel yr holl bennod ar "Ddyn fel y Crewyd ef."

6. *Bodolaeth gyffredinol cydwybod mewn dyn.*—Heb Dduw, nis gall fod dim cydwybod. Dichon, yn y cyfryw achos, i feddylddrychau rhwth ac ansicr o rheidrwydd a chyfatebolrwydd, fod; ond lle na fyddo Duw, ni ddichon un gydwybod fod; canys y mae cydwybod yn cynnwys cyfrifoldeb, a chyfrifoldeb yn cynnwys fod Duw, ger bron brawdle yr hwn y bydd rhaid i ni sefyll. Heb Lywodraethwr Goruchel, fel y byth-fendigedig Jehofah, ni allasai un safon sefydlog o uniondeb ac anuniondeb fod; neu, mewn geiriau ereill, un ddeddf foesol; ac o ganlyniad, dim cyfrifoldeb; a chan hyny, dim cydwybod chwaith! Fel hyn, gan hyny, y saif ein dadl:—cydwybod mewn dyn a brawf gyfrifoldeb, a chyfrifoldeb a brawf fodolaeth Duw; oblegid, os ydym ni yn gyfrifol, rhaid fod Duw, i'r hwn y perthyn ein cyfrifoldeb. Mae yr holl syniad o rwymedigaeth foesol neu ddyledswydd yn diflanu i ddiddymdra, gyda rhoddiad i fyny [y grediniaeth o] fodolaeth Llywodraethwr deallol y cyfanfyd.

7. *Y profion sydd genym o Ragluniaeth Arolygol.*—Yn y cyffredin mae Jehofah yn gweithio yn ddirgelaidd ac mewn dystawrwydd. Gwna hyn i brofi ein ffydd a'n cymmeriad. Ni esyd Efe ddim gorfodaeth arnom. Gallwn weled Ei law, os ewyllysiwn, ond gallwn gau ein llygaid i weithrediadau Ei allu, os dewisiwn. Mae hen ysgrifenydd wedi dywedyd, na fydd yr hwn sydd yn arfer gwylied rhagluniaethau dwyfol, byth mewn diffyg o ragluniaeth i wylio. Mae dynion arferol o weddïo mewn ysbryd a gwirionedd, yn gwybod fod Duw a wrendy ac a ateb weddi. Ac yn nhyngedion cyfundebau, yr ydym yn gweled yr un

profion o fodolaeth y Bod gogoneddus. Cymmerwch, er eglurhad, y rhan ryfeddol hyny o hanesiaeth y byd, helynt y genedl Iuddewig o ddyddiau Abraham hyd yn bresenol; edrychwch arni mewn cyssylltiad â phrophwydoliaethau yr Ysgrythyr Santaidd, a dywedwch ai ni rhaid fod rhagluniaeth arolygol fod wedi bod ar waith yn amgylchiadau y genedl neillduol hono. Rhagluniaeth Duw yn unig all gyfrif am gyssondeb amlwg ffeithiau eu hanes â phrophwydoliaethau yr ysgrythyr.

8. *Ymwybodolrwydd mewnol pawb ydynt wedi gwneuthur prawf o gariad a gallu Jehofah.*—Mae gan y Cristion brofion yn ei brofiad ei hun fod Duw. Mae ei ddychweliad yn ei argyhoeddi ef fod gallu goruwch natur. Mae ef yn gwybod iddo gael ei eni drachefn, "nid o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr, eithr o Dduw:" Ioan i. 13. Ac y mae ei fywyd crefyddol beunyddiol iddo ef yn wrthbrofiad safadwy o afresymoldeb Atheistiaeth; canys y mae efe yn "bwrw ei holl ofal ar Dduw," ac yn cael Ei fod yn "gofalu am dano ef:" 1 Pedr, v. 7. "Y mae yn bwrw ei faich ar yr Arglwydd," ac yn gwybod Ei fod yn ei gynnal ef:" Salm lv. 22. Mewn trallod ffy at ei Wneuthurwr, ac mae yn ei gael yn "gymhorth hawdd mewn cyfyngder," ac yn nghaddug "glyn cysgod angau" clyw Ef yn dywedyd, "Nac ofna, canys yr wyf Fi gyda thi."

Ei fynydau dedwyddaf a dreulir wrth draed Duw; ei lawenydd dyfnaf, ei berlewygon santeiddiaf, a brofir mewn cymmundeb â'r Anweledig a'r Tragywyddol Dduw. Y mae yn credu, ac y mae ganddo y "dystiolaeth ynddo ei hun." Mae wedi "profi ac wedi gweled pa mor dda yw yr Arglwydd;" ac y mae yn gwybod mai "gwyn ei fyd y gwr sydd yn ymddiried yn yr Arglwydd." Byddai yr un man i chwi gynnyg ei resymu ef allan o'i fodolaeth ei hun, a cheisio ei berswadio nad oes un Duw. Y prawf hwn, y mwyaf nerthol o'r cwbl, a feddiennir gan y Cristion tlotaf a mwyaf anllythyrenog, i'r hwn y mae y dadleuon *à priori*, *à posteriori*, ac *à fortiori*, mor annealladwy a Groeg Sophocles.

9. *Dylanwad moesol a chymdeithasol ffydd yn Nuw.*—Profa hanesiaeth fod ffydd yn Nuw—y gwir Dduw, wrth

rheswm, a feddyliwn—yn cario dylanwad ddyrchafol a phuredigol ar unigolion a chyfundebau. Mae y Beibl wedi addysgu y fath ddynion a Havelock, Knibb, Carey, Martyn, Williams, Schwartz, Howard, Moffat, a Livingstone, a llu o enwogion ereill. Y mae ffydd yn Nuw wedi rhoddi i hanesiaeth ei chymmeriadau rhagoraf, a'i rhanau godidocaf. Mae cenedloedd wedi suddo neu gyfodi, fel yr aethont rhagddynt neu y gwrthgiliasant yn eu ffydd yn ein Gwneuthurwr. Y cyfundebau duwiolaf yn wastad ydynt wedi bod y rhai puraf a mwyaf dedwydd; tra y darfu i gyfodiad Atheistiaeth yn Ffrainc ddwyn i mewn "deyrnasiad dychryn." Os yw cyfundraethau i'w hadnabod wrth eu ffrwythau, yna mae crediniaeth yn Nuw yn wirionedd, ac Atheistiaeth yn anwiredd!

10. *Y ddadl arddansoddol, neu y ddadl oddiwrth debygoliaethau rhagflaenorol, a elwir yn gyffredin y ddadl à priori.* Cymmerai dadblygiad cyflawn o'r drefn hon o ymresymu, fodd bynag, ormod o'n gofod gyfyngedig. Nodwn yn unig eu hamlinellau, gan adael i'r darllenydd i'w llanw fyny. Gwn fy mod i yn bodoli—gwn fy mod yr hyn ydwyf—h. y. yn fod personol ac ymwybodol. Gwn nad wyf wedi bodoli erioed, canys nid yw fy ymwybodolrwydd yn cyrhaedd yn mhellach yn ol nag ychydig flynyddau. Er hyny, mae rhywbeth wedi bodoli erioed; rhaid ei fod wedi bodoli erioed, oblegid os bu erioed gyfnod pryd nad oedd dim, rhaid fod y cyfnod hyny wedi parhau er tragywyddoldeb, am y rheswm hunan-brofedig nas gall dim gynnyrchu rhywbeth. A ddichon y darllenydd—a ddichon rhyw fod dynol, gredu mewn dim fel yn achosi unrhyw beth? A ddichon dim byth gynnyrchu rhywbeth? Na ddichon: y meddwl ar unwaith a etyb, dim yw dim, ac ni ddichon byth ddyfod yn achos effeithiol o rhywbeth. Allan o ddim ni ddichon dim ddyfod. Ond os rhaid fod rhyw beth wedi bodoli erioed, rhaid fod y rhywbeth hwnw wedi bod yn fwy na defnydd marw difywyd; canys yr wyf fi yn fod deallol, ac ni ddichon yr hyn sydd anneallol gynnyrchu dealltwriaeth, am rheswm amlwg arall—nad all fod byth fwy yn yr *effaith* nag y sydd yn yr *achos*. Rhaid, o ganlyniad, fod wedi bodoli erioed, Fod personol ac ymwybodol. Nis gall annealltwriaeth gynnyrchu dealltwriaeth.

Gwyddom fod gwagle *(space)* yn bod, ac nas gall fod iddo derfynau. Gwagle annherfynol, neu wagle heb derfynau, ydyw yr unig syniad allwn ni gael am wagle. Megis ag na fu erioed *ddim*, felly hefyd ni fu erioed *unman*. Y mae "pobman;" nid oes "unman." "Pobman" annherfynol ydyw gwagle. Mae y rhai hyn yn wirioneddau hunan-brofedig. Y mae rhywbeth wedi bodoli erioed yn mhob man, rhaid fod wedi bodoli erioed yn mhob man; oblegid os oes man lle nad oes dim yn bod, rhaid fod hwn wedi bod er tragywyddoldeb felly, ac yno y bodolodd dim erioed. Ac os gellir dyweyd hyn am un man mewn gwagle, gellir ei ddyweyd am bob man. Gorfodir ni, o ganlyniad, i fabwysiadu y casgliad, y rhaid fod rhywbeth wedi bodoli erioed yn mhob man, ac yn mhob parth o bobman.

A hyn yn gywir ydyw y meddylddrych Cristionogol am Jehofah, yr hwn sydd yn fod personol, deallol, ac ymwybodol, yn bodoli yn mhob man ac yn mhob parth o bob man. Y mae Efe yn Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, ac yn llenwi parthau anfeidroldeb (*immensity*) â'i bresenoldeb; yn greawdwr pob bod deallol îsraddol, ac Efe ei hun gan hyny, yn meddu pob dealltwriaeth. Ac yn gymmaint a'm bod yn gwybod fod genyf ewyllys, ac fod yr ewyllys hon yn allu, felly, rhaid fod Duw yn meddu yr un gallu o ewyllysio, yr hwn ynddo Ef, rhaid fod yn allu arbenig ac anfeidrol. Fel hyn, y gwnaeth Efe i bob peth arall fodoli. Ni fu *dim* erioed; yr oedd Duw erioed; ac ynddo Ef gynneddf o ewyllys yr hon oedd yn allu, ac a berodd i'r cyfanfyd i fod.

Ac yn mhellach, yr wyf yn ymwybodol fy mod yn meddu synwyr moesol, yr hwn sydd yn fy nhywys i wahaniaethu gweithred uniawn oddiwrth un anuniawn. A theimlwyf yn reddfol, er mor anmherffaith ydyw fy natur foesol, ei bod er hyny, yn brif ogoniant fy modolaeth. Y mae yn rhaid i mi benderfynu, gan hyny, fod yr un natur yn hanfodi yn yr anfeidrol Dduw—ond ynddo Ef yn ei pherffeithrwydd penaf.

Atheistiaid a ddywedant, nad oes y fath fod â Duw, ac ein bod wedi dyfeisio y meddylddrych trwy "ddethol y rhinweddau goreu yn y meddwl a'r cymmeriad dynol, a'n bod

wedi bwrw i lawr bob terfynau a'u gwneuthur yn anfeidrol, ac o'r rhai hyn wedi llunio ein Duwdod gwahanol perffaith." (Joseph Barker mewn dadl â Thomas Cooper, tud. 8). Mae y geiriau hyn yn addef llawer; addefant fod duwdod gwahanol perffaith, yn gysson â "rhinweddau goreu y meddwl a'r cymmeriad dynol," ac ei fod gan hyny, yn *à priori* rhesymol.

Nis gallwn orphen yr adran hon heb sylwi fod y ddadl *à priori*, megis ei gelwir, yn cyfranogi yn dra helaeth mewn gwirionedd o nodwedd y ddadl *à posteriori*. (Gwel Pearson on Infidelity. p. 16).

Mae Dr. Samuel Clarke wedi rhoddi y ddadl *à priori* yn ei ffurf fwyaf gywrain; ond caif y darllenydd hi wedi ei gosod yn rhagorol dda gan ein cyfaill Mr. Thomas Cooper, yn ei ddadl â Joseph Barker, yn Bradford: tud. 28, 29, 30, a tud. 140, 141, 142. (Ward and Co., London).

Cyn terfynu y bennod hon, cawn nodi, ac ateb yn fyr rai o'r prif wrth-ddadleuon a ddygir yn erbyn y Bod Dwyfol.

1. "*Nis gallaf amgyffred y meddylddrych o Dduw.*"—Mae hyn yn wir yn ddiau. Ni ddichon neb amgyffred y syniad goruchel o Jehofah hunan-fodol a thragywyddol. Ond nis dichon un dyn amgyffred dirgelion ei natur ei hun chwaith, ac nis gall un dyn er hyny ammheu y ffaith o'i fodolaeth bersonol. Gall dyn gredu y gwirioneddolrwydd o fodolaeth Duw, heb allu amgyffred pa fodd y bodola Y mae pob bywyd yn ddirgelaidd; ac mae y dirgelwch yn mwyhau fel y cyfyd y bywyd mewn ardderchogrwydd, ac yn y radd uchelaf o fywyd, bodolaeth Duw, mae y dirgelwch yn cyrhaedd ei eithafnod.

2. "*Pa fodd y dichon dau fod, fod yn bresenol yn yr un lle ar yr un amser.*"—Mae yr anhawsder hwn yn cymmeryd yn ganiatâol fod Duw yn fod *materol.* Ond *ysbryd* yw Jehofah. Ni ddichon dau fod materol fod yn yr un lle ar yr un amser. Gall ysbryd, fodd bynag, fod yn bresenol gyda mater heb ymgymmysgu ag ef, fel yn achos pob enaid dynol sydd yn trigo mewn corff. Pa fodd y gall ysbryd fod yn bresenol felly gyda defnydd, heb fod yn unrhywiol ag ef, nis gallwn ddywedyd; ond dywed ein hymwybodolrwydd wrthym ei fod felly. Pa faint mwy y gall

hyn fod yr achos mewn perthynas i bresenoldeb y tragywyddol Johofah gyda Ei greaduriaid?

3. "*Personolrwydd ar wahan oddiwrth gyfansoddiad* (*organization*) *sydd anmhosibl.*"—Mae hon yn ddadl orhoffus gyda Holyoake, Barker, a'u cymdeithion. Y mae, fodd bynag, yn ddarn o ymhoniad gwaradwyddus. Mae y dynion hyn yn cael cyfansoddiad a phersonolrwydd yn gyssylltiedig yn eu natur eu hunain, a chan hyny, yn honi yn bwyllog y rhaid eu bod yn gyssylltiedig yn mhob natur, heb eithrio y natur ddwyfol. Amlwg ydyw, nad yw hyny yn canlyn (*non sequitur*)! A ydyw y natur *ddynol* yn gysgod ac yn gynllun o bob natur arall? O ran a wyddom ni i'r gwrthwyneb, gall fod bodau deallol ereill, i'r rhai y mae y meddylddrych o bersonolrwydd *gyda* chyfansoddiad yn gymmaint o ddirgelwch ag yr ydym ni yn cael fod y meddylddrych o bersonolrwydd *heb* gyfansoddiad.

Gobeithiwn, fodd bynag, eu bod hwy yn fwy gwylaidd na'n Atheistiaid diweddar ni, ac nad ydynt yn rhyfygu i haeru fod peth yn anmhosibl, yn unig am y rheswm na chawsant hwy brofiad ohono! Beth all fod yn fwy rhyfygus nag i un radd o fodau meddyliol osod i fyny ddeddfau eu dull presenol o fodolaeth, fel deddfau natur holl fodau deallol y cyfanfyd? Yr wrthddadl, a'i gosod yn ffurf cyfreswm (*syllogism*) a redai fel hyn—Pob peth ar nad wyf wedi cael un profiad ohono sydd anmhosibl. Nid wyf wedi cael profiad o bersonolrwydd ar wahan oddiwrth gyfansoddiad. Am hyny, mae personolrwydd ar wahan oddiwrth gyfansoddiad yn anmhosibl.

Yn y cyfreswm hwn ymddibyna pob peth ar y gynsail. Ond a anturia un anffyddiwr i honi fod pob peth nad yw efe wedi cael profiad ohono yn anmhosibl? Na wna yn sicr! Yna nid yw yr ail osodiad a'r casgliad yn werth gwelltyn. Ac felly diflana y ddadl ffrostfawr hon, fel ysbryd tad Hamlet i awyr deneu!

4. "*Mae bodolaeth Duw yn annghydweddol a bodolaeth drwg.*"—Fod anhawsderau yn gyssylltiedig â bodolaeth drwg, ni wada un meddwl duwiolfrydig. Mae anffyddwyr fodd bynag, yn wastad yn eu mawrhau a'u chwanegu gan edrych heibio yn y modd mwyaf gwrthnysig i bob peth ellir ddywedyd mewn amddiffyniad i'r cariad a'r

doethineb Dwyfol yn nghaniatâd dyoddefaint a marwolaeth yn Ei gyfanfyd. Ni all yr anhawsderau a ymgodant o'r caniatâd hwn, ddystrywio nerth y profion o fodolaeth Duw. Ymddengys un fod yn teimlo hefyd, fod bodolaeth drwg yn gwneuthur presenoldeb a gweithrediad Rhagluniaeth oruwchlywodraethol yn fwy angenrheidiol. Beth all fod yn fwy ofnadwy a chalon-rhewaidd nâ'r meddylddrych o gyfanfyd yn cael ei ddifrodi gan ddyoddefaint ac angau, ac heb Dduw i oruwchlywodraethu a gwrthweithio y drwg o dan yr hwn y mae yn ochain?

5. "*Os oes Duw, paham y caniatâ Efe i'r cenedlaethau i aros mewn anwybodaeth o'r ffaith?*"—Digon yw dywedyd yn atebiad i hyn, fod anwybodaeth dyn o'i Greawdwr yn wirfoddol. Bydded i'r darllenydd ystyried y rhan ganlynol o'r Ysgrythyr Santaidd, Rhuf. i. 21—32, er cadarnhad cyflawn i'r gosodiad hwn. Yn nghanol yr anwybodaeth wirfoddol hon, fodd bynag, mae Duw yn barhaus wedi cadw tystiolaeth iddo Ei hun. Gwel Rhuf. i. 20; Salm xix. 1—6; Act. xiv. 15—17. Daeth Ei Fab ei hun i'w ddadguddio Ef, ac mae yr holl Eglwys wedi cael ymddiried iddi y gwaith mawr o'i wneuthur Ef yn hysbys i'r rhai ydynt mewn anwybodaeth ohono Ef. "Canys oherwydd yn noethineb Duw, nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw, fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu:" 1 Cor. i. 21. Ac nid yw y dydd yn mhell pan "fydd y ddaear yn llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megis y mae y dyfroedd yn toi y môr:" Esa. xi. 9. "O herwydd hwynt-hwy oll o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt a'm hadnabyddant, medd yr Arglwydd:" Jer. xxxi. 34.

## PENNOD II.

### Y TRINDOD.

Yr ydym yn dyfod yn awr i ystyried un o ddirgelion mawr duwioldeb, sef tri phersonoldeb y Duwdod, neu mewn geiriadaeth gyffredin, athrawiaeth y Trindod. Addefwn nad yw y gair Trindod yn yr ysgrythyrau, ond y mae yr athrawiaeth yno; ac yr ydym yn dadlu dros y gair yn

unig er mwyn yr athrawiaeth, yr hon y maent yn ei harddangos yn briodol. Mae yr athrawiaeth hon yn mhellach, yn perthyn i ddadguddiad dwyfol yn unig. Y mae yn analluadwy i ni, oddiwrth natur yr achos, wybod dim am *ddullwedd* (*mode*) yr hanfod dwyfol, ond mor bell ag y mae Duw ei Hunan yn gweled yn dda i'n goleuo ar y pwnc hyny. Gan y preswylia Efe mewn goleuni rhy ddysglaer i ni allu edrych arno Ef; gan na welodd neb Ef, ac na ddichon neb ei weled Ef, y cwbl allwn ni wybod am ddullwedd Ei hanfodaeth a raid i ni ddysgu oddiwrtho Ef. Gallem ymresymu yn *à priori*, y rhaid fod yn hanfodi yn yn natur Duw rhyw briodoleddau, megis, er engraifft, y rhaid ei fod Ef yn fod deallol; yn llywydd moesol; yn santaidd; daionus; galluog; a doeth. Ond *pa fodd* y mae Efe yn hanfodi, pa un ai yn hollol fel un person, neu ynte mewn Trindod o Bersonau mewn un hanfod, sydd gwestiwn na allwn ni o angenrheidrwydd wybod dim, ond mor bell ag y dysga Jehofah ei Hun ein hanwybodaeth. Yma y mae pob ymresymiad *a priori* yn methu. Os gellir, fodd bynag, gymhwyso y fath ymresymiad at y pwnc o gwbl, yn y ffurf hon yn unig y gellir. Gellid dysgwyl y dylem gael fod dullwedd hanfod Duw yn cael ei nodweddu gan ryw briodoledd neillduol a digyffelyb; ac ai ni ddichon yr hanfodaeth yma o drindod o bersonau yn yr unig Dduw, fod yn un o'i briodoleddau tragywyddol ac annghyfranogol, un o'r perffeithderau hyny drwy y rhai y mae Efe yn cael Ei wahaniaethu oddiwrth Ei holl greaduriaid?

Ond eglur yw, fod yn rhaid derbyn yr athrawiaeth hon ar dystiolaeth *ddwyfol* yn unig. Mae pob ymgeision i'w chasglu oddiwrth ymresymiad dynol, neu oddiwrth gyfatebiaethau dychymmygol a gynnysgaethir gan *drioedd* ereill a dybir fod yn bodoli mewn natur, yn ofer ac anmharchus. Dichon y cyfryw ddamcaniaethau ddifyru, ond nis gallant adeiladu. Nis gall dullwedd bodolaeth creaduriaid gynnysgaethu un hyspysiaeth am ddullwedd bodolaeth y Creawdwr Mawr, gan y gwelir ei fod Ef yn hunan-fodol; yn "Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Yma, gan hyny, mae pob cyfatebiaeth yn methu.

Yr ydym yn gweled, o ganlyniad, mor afresymol ydyw edliw afresymoldeb i athrawiaeth y Trindod. Pa beth sydd yn cyfansoddi afresymoldeb? Rhywbeth sydd yn gwrthddywedyd ryw ffaith neu wirionedd diammheuol a gwireddedig yn mlaen llaw, neu rhywbeth sydd yn gwrthddywedyd ei hun. Ond pa ffaith ddiammheuol a gwireddedig yn mlaen llaw y mae athrawiaeth y Trindod yn eu gosod o'r neilldu? Pa brofiad ydym ni wedi gael o ddullwedd bodolaeth Duw? Neu pa hunan-wrthddywediad sydd yn y syniad hwn? Pe dywedasem fod y Tad, Mab, ac Ysbryd, yn un yn yr un ystyr ag y maent yn dri; neu yn dri yn yr un ystyr ag y maent yn un,—byddai hyny yn wrthddywediad. Ond pa drindodwr (*trinitarian*) sydd mor ffol a honi hyn? Heb gymmeryd arnom feddu unrhyw allu i egluro dirgelwch mor fawr, yr ydym yn credu fod y Trindod Santaidd yn dri fel personau, yn un fel Duw,—tri mewn un ystyr, ac un mewn ystyr arall. Nid oes yma, gan hyny, ddim afresymoldeb.

Y mae yr athrawiaeth hon yn ddiau yn ddirgelwch mawr; ond un peth yw dirgelwch, mae afresymoldeb yn beth arall. Mae yn ddirgelwch, nid yn afresymoldeb, oblegid y mae yn rhywbeth uwchlaw pob ffeithiau gwireddedig blaenorol: nid yn groes iddynt, am ei bod tuhwnt i'n profiad ni: nid yn wrthwynebol iddo, yn gymmaint ag nad oes genym ni brofiad i apëlio ato ar ddullwedd bodolaeth Duw; am nad yw yn gwrthddywedyd ei hun, gan y gwelir fod y gosodiad fod Duw yn dri, yn perthynu i rhywbeth gwahanol i'r gosodiad nad yw Duw ond un. Rhywbeth uwchlaw ein gwybodaeth yn unig yw dirgelwch, ond y mae afresymoldeb yn rhywbeth hollol wrthwynebol iddi.

Yr unig gwestiwn i ni i'w chwilio, gan hyny, yw—A ydyw yr Ysgrythyrau Santaidd yn dysgu beth sydd i'w ddeall wrth athrawiaeth y Trindod? Credwn yn y modd mwyaf diysgog eu bod, ac awn yn mlaen i chwilio yn fyr eu tystiolaeth.

Gellir rhoddi darnodiad o'r athrawiaeth, er ein bod yn dychrynu at y cynnyg. Wrth y syniad hwn yr ydym yn golygu fod yn bodoli yn Nuw dri pherson gogyfuwch mewn gogoniant a gallu—y Tad, y Mab, neu y Gair, a'r Ysbryd Glân: nad yw Jehofah, yn Ei hanfod,

ond un, tra yn Ei bersonoliaeth y mae Efe yn dri: fod Jehofah, fel Duw, yn hollol ac anrhanadwy un, er yn cynnwys, yn Ei natur ddwyfol, dri pherson gwahaniaethol. Credwn yn mhellach, fod y naill a'r llall o'r tri pherson yn meddu holl briodoleddau y Duwdod, ac eu bod yn gyfartal mewn gallu a doethineb; ac ei fod yn iawn, o ganlyniad, i weddio ar y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Ymattaliwn, fodd bynag, rhag pob cynnygion i egluro yr athrawiaeth hon wrth reolau rhesymeg. Nid ydyw yn ddarostyngedig i'r cyfryw ffurf-reolau!

1. *Mae bedydd yn cael ei weinyddu yn enw y Trindod Santaidd.*—"Gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân:" Matt. xxviii. 19. Mae crybwylliad enwau y tri yn yr adnod hon, ar wahan ac yn bennodol, yn brawf amlwg o bersonoliaeth y naill a'r llall. Pe byddai y Mab ond amlygiad o'r Tad yn unig, a'r Ysbryd Glân ond dylanwad y Tad yn unig, byddai bedydd yn enw y Tad yn cynnwys bedydd yn enw Ei HOLL ddylanwadau a'i amlygiadau, a byddai crybwylliad enwau y Mab a'r Ysbryd, ar wahan oddiwrth enw y Tad, yn amleiriaeth o'r fath fwyaf gwrthun. Pa synwyr fyddai mewn bedyddio dyn yn nghyntaf yn enw y Tad,—yn ail, yn enw un O'i amlygiadau,—ac yn drydydd, yn enw un O'i ddylanwadau?

Mae crybwylliad enwau y tri yn y ffurf-reol bwysig hon, yn profi yn mhellach, eu cydraddoldeb dwyfol ac hanfodol.

Os mai dyn yn unig yw Crist, byddai yn gabledd i gysylltu Ei enw gyda'r Tad Tragywyddol yn y cyfryw ffurf o eiriau. Mae yr un sylw yn gymhwysiadol am grybwylliad enw yr Ysbryd Glân, os mai creadur yn unig yw Efe. Canys mae y ffurf hon o eiriau yn cael ei bwriadu i arddangos Y BOD MAWREDDOG, i enw rhyfeddol yr hwn y mae pob Cristion yn cael ei fedyddio. Yr ydym yn cyflawnu yn y bedydd weithred bwysig o ADDOLIAD, o'r nodwedd fwyaf uniongyrchol ac arbennodol; ac mae y ffurf-reol a ddefnyddir, yn arddangos y byth-fendigedig JEHOFAH ELOHIM, enw yr hwn ydym yn ei addoli yn yr ordinhad. Fel hyn mae yr ordinhad, trwy yr hon y mae pob dysgybl egwyddoredig yn cael ei dderbyn i mewn

i'r eglwys broffesedig, yn cael ei adgofio yn rymus o dri-phersonolrwydd y Duw a wasanaetha efe.

2. *Mae y saint yn cael eu bendithio yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân,* ar wahan.—"Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân, a fyddo gyda chwi oll:" 2 Cor. xiii. 13. Mae hon mewn effaith yn weddi a gyflwynir i'r Tri yn Un, ac mae yn profi personoliaeth y naill a'r llall o honynt. Ni ellir cyflwyno gweddi gyda phriodoldeb ond i berson yn alluog i'w gwrando, i'w deall, a'i hateb. Os oedd unrhyw synwyr, gan hyny, yn neisyfiad yr Apostol, rhaid fod y Tad yn berson, a'r Mab, a'r Ysbryd hefyd. Ni ellir, gydag unrhyw gyssondeb, annerch mewn gweddi yr hyn nad yw yn ddim amgen na dylanwad. Y meddylddrych o weddïo yn mlaenaf, ar y Tad, wedi hyny ar un O'i amlygiadau, ac wedi hyny ar un O'i ddylanwadau!

Mae y deisyfiad triphlyg hwn yn mhellach, yn gyffelyb i'r ffurf-reol yn y bedydd, yn brawf o gydraddoldeb dwyfol y tri. I Dduw yn unig y gellir cyflwyno addoliad. Pwy a feddyliai am gyssylltu enw un a fyddai yn ddim amgen na chreadur ag enw y Tad Tragywyddol mewn gweithred ddifrifol o addoliad? Er hyny, mae yr Apostol Paul wedi bod yn euog o'r annuwioldeb hwn, os nad yw y Mab yn Dduw, ac os nad yw yr Ysbryd yn Dduw. Mae y weithred o weddïo ar y naill a'r llall o honynt, yn profi personoliaeth pob un o honynt.

3. *Yr oedd yn medydd ein Harglwydd amlygiad pennodol ac etto unol o'r Trindod.*—Bedyddiwyd y Gair ymgnawdoledig, llefarodd y Tad â llais hyglyw o'r nefoedd, ac ymddangosodd yr Ysbryd Glân yn ffurf *shechina* goleufawr, a ddaeth allan o'r nefoedd agored, yn hofian yn gyffelyb i golomen uwchben ein Harglwydd, hyd nes y gorphwysodd o'r diwedd ar ei ben Ef. Gwel Matt. iii. 16, 17; Marc i. 10, 11; Luc iii. 21, 22. Yr oedd yn ddarlun gwerthfawr ac addysgiadol o safle a swydd pob un o'r dwyfol Dri, yn nghyflawniad iachawdwriaeth dyn.

4. *Y mae cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân, gwahanol i'r cabledd yn erbyn y Mab, ac yn erbyn y Tad.*—"Pob pechod a chabledd a faddeuir i ddynion: ond cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân, ni faddeuir i ddynion. A phwy

bynag a ddywedo air yn erbyn Mab y dyn, fe a faddeuir iddo: ond pwy bynag a ddywedo yn erbyn yr Ysbryd Glân, nis maddeuir iddo, nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw:" Matt. xii. 31, 32. Yr oedd pob cabledd yn erbyn y Tad, a geiriau wedi eu llefaru yn erbyn y Mab, yn faddeuadwy; ond yr oedd y cabledd neillduol hwn yn erbyn yr Ysbryd Glân—h. y. priodoli y gwyrthiau a gyflawnodd Crist trwy Ei allu, i Beelzebub (gwel Marc iii. 28, 30,)—yn anfaddeuadwy byth. Pa iaith allasai ddysgu yn fwy pennodol athrawiaeth fawr y Trindod? Mae personoliaeth pob un yn cael ei brofi, yn ei fod yn wrthddrych cyflawniad pechod neillduol yn ei erbyn. Ac y mae personoliaeth ddwyfol pob un yn cael ei dybied gan natur y pechod mewn cwestiwn—*cabledd.*

5. *Mae y tri pherson yn cael eu gwahaniaethu yn fynych y naill oddiwrth y llall, yn gyffelyb fel y gwahaniaethwn ni un gweithredydd deallol oddiwrth un arall.*—Cymmerwch, er enghraifft, eiriau Crist o barthed i ddyfodiad yr Ysbryd Glân fel y Dyddanydd. "A mi a weddïaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr arhoso gyda chwi yn dragywyddol. Ysbryd y gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn," &c.: Ioan xiv. 16, 17. Dygir ger ein bron yma y tri—y Mab, y Tad, a'r Ysbryd, fel tri gweithredydd personol. Mae y Mab yn eiriol; y Tad yn derbyn yr eiriolaeth; a'r Ysbryd Glân yn dyfod yn Ddyddanydd yr eglwys fel ffrwyth cyfryngiad ein Harglwydd. Yma etto yr ydym yn cael trindod mewn undod yn iachawdwriaeth eglwys Crist. I'r un effaith y mae geiriau ein Harglwydd yn Ioan xxv. 26. Fel hyn, "trwyddo ef (Crist Iesu) y mae i ni ein dau (Iuddew a Chenedlddyn) ddyfodfa mewn un Ysbryd at y Tad:" Eph. ii. 11. Felly hefyd yn Eph. ii. 21, 22; Col. ii. 2; Eph. iii. 14—16; Tit. iii. 4—6. Fel yma darlunir y saint fel "Etholedigion yn ol rhagwybodaeth Duw Dad, trwy sancteiddiad yr Ysbryd, i ufudd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist:" 1 Pedr, i. 2.

Gellid gosod pwys mawr ar ddefnyddiad yr enw lluosog, Elohim yn yr Ysgrythyrau Hebreig, i arddangos Duw. Y mae yn yr iaith Hebraeg rhif unig, deuol (dual), a lluosog, ac yn cyfeirio yn ddiammheu at luosogedd personau yn y Duwdod, tra y cyssylltir ef â berfau

unig, pan gymhwysir ef at Dduw; ac felly yr ydym yn cael amlygiad prydferth o drindod mewn undod. Pe byddai Jehofah ac Elohim yn cael eu trosi yn wastad i'n cyfieithad ni, pan ddygwyddont yn y gwreiddiol, yn lle cael eu cyfieithu, byddai yn fantais. Fel hyn y mae adnod hoffus yr Undodiaid, "Clyw, O Israel, Jehofah ein Elohim ni, sydd un Jehofah:" Deut. vi. 4; mewn gwirionedd, yn gosod allan yr athrawiaeth dros yr hon yr ydym yn dadleu—sef, fod trindod o bersonau yn Nuw. Gellid galw sylw hefyd at ddefnyddiad y rhif luosog, mewn cyfeiriadau at Jehofah, fel y rhai canlynol:—"Duw hefyd a ddywedodd, GWNAWN ddyn ar ein delw NI, wrth ein llun ein HUNAIN:" Gen. i. 26. "Hefyd, yr Arglwydd Dduw (Hebraeg, Jehofah Elohim,) a ddywedodd, Wele y dyn sydd megis un o honom ni," &c.: Gen. iii. 22. A dichon fod priodoliad triphlyg santeiddrwydd i Jehofah yn addoliad y pedwar anifail yn y Dadguddiad, yn cael ei fwriadu yn briodoliad pennodol o'r briodoledd hono i'r naill a'r llall o'r tragywyddol dri yn un,—"Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Hollalluog, yr hwn oedd, a'r hwn sydd, a'r hwn sydd i ddyfod:" Dad. iv. 8.

Afreidiol fyddai dyfynu yn helaethach mewn cadarnhad i'r pwynt hwn. Os ydyw y Beibl yn ysbrydoledig, mae y Trindod yn wirionedd; a rhaid i bob dyn sydd yn derbyn y llyfr yma yn onest, fel arweinydd anffaeledig, gofleidio yr athrawiaeth hon. Rhagrith yn unig yw proffesu pob math o barch i'r Ysgrythyrau Santaidd, ac etto wrthod un o'u haddysgiadau sylfaenol mewn perthynas i natur yr unig Fod y bwriadwyd iddynt wneuthur yn hysbys. Os ydym yn derbyn y llyfr fel dadguddiad, ymddygwn tuag ato fel y cyfryw. Na fwriwn ymaith o hono bob peth sydd yn ymddyrchafu uwchlaw ein amgyffrediaeth; eithr derbyniwn yn barchus beth bynag y mae Duw yn ei weled yn dda wneuthur yn hysbys i ni ynddo o barthed I'w fodolaeth, priodoleddau, a gweithredoedd.

## PENNOD III.

### IESU GRIST YN BERSON DWYFOL.

Y MAE yr ystyriaeth o Dduwdod ein Harglwydd yn syrthio yn rhesymegol o fewn y rhan hon o'n gwaith. Yr

ydym eisoes, yn wir, o angenrheidrwydd, wedi rhag-gymmeryd y pwnc hwn i raddau, canys y mae yr hyn a brawf athrawiaeth y Trindod yn arddangos mewn effaith Dduwdod personol Iesu Grist. Ar y llaw arall, y mae pob prawf o Dduwdod personol y Mab a'r Ysbryd mewn effaith yn dystiolaeth i athrawiaeth y Trindod. Bydd yn dda, fodd bynag, i roddi pennod neillduol i ystyried pob un o'r pwyntiau hyn. Yn hon, ymdrechwn grynhoi, o fewn cylch bychan, dystiolaeth yr Ysgrythyr Santaidd i Dduwdod yr Arglwydd Iesu.

I. Ac yn y lle cyntaf, cawn ystyried y profion a roddir o rag-hanfodaeth ein Harglwydd cyn ei enedigaeth o'r Forwyn.

A ydyw yr ysgrythyrau yn tystio fod dwy natur yn mherson ein Harglwydd? A ydynt yn llefaru am Ei ymddangosiad yn ein plith ni fel ymgnawdoliad? A ydynt yn dwyn tystiolaeth I'w feddianniad o fodolaeth wirioneddol ddeallol cyn Ei ymddangosiad fel dyn? A wnaeth Efe, wrth ddyfod yn ddyn, gyflawnu gweithred o ymddarostyngiad digyffelyb? I'r holl gwestiynau hyn deallwn fod yr ysgrythyr yn ateb yn gadarnhaol, yn y modd mwyaf anmhetrusol. I'r Ceidwad bendigedig *fodoli cyn* Ei ymgnawdoliad, sydd amlwg oddiwrth yr adnodau canlynol:— "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair. Hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw:" Ioan i. 2. "Ac yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun, a'r gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd:" Ioan xvii. 5. "Canys Myfi a ddisgynais o'r nef:" Ioan vi. 38. "Beth, gan hyny, os gwelwch Fab y dyn yn dyrchafu lle yr oedd Efe o'r blaen:" Ioan vi. 62. "Oblegid ti a'm ceraist cyn seiliad y byd:" Ioan xvii. 24. "Yr hwn, ac Efe yn ddisgleirdeb Ei ogoniant Ef, ac yn wir lun ei berson Ef:" Heb. i. 3. "Ac y mae Efe cyn pob peth:" Col. i. 17. "Yna yr oeddwn I gydag Ef megis un wedi ei feithrin gydag Ef: ac yr oeddwn yn hyfrydwch iddo beunydd, yn ymlawenhau ger ei fron Ef bob amser:" Diar. viii. 30, 31. "Cyn bod Abraham yr wyf Fi:" Ioan viii. 58. Yma y mae bodolaeth bersonol, ymwybodol, a deallol, yn cael ei phriodoli i Iesu yn flaenorol i'w ddyfodiad yn ddyn.

Y mae adnodau ereill yn priodoli i'n Harglwydd *gyflawniad holl weithrediadau gweithredydd deallol* cyn Ei ymgnawdoliad. "Trwyddo Ef y gwnaethpwyd pob peth; ac hebddo Ef ni wnaethpwyd dim ar a wnaethpwyd:" Ioan i. 3. "Canys trwyddo Ef y crewyd pob dim ar sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear:" Col. i. 16.—"Yn cynnal pob peth trwy air Ei nerth:" Heb. i. 3. Efe a ymddangosodd i'r patriarchiaid a'r prophwydi dan y gyfraith; canys mae genym dystiolaeth ysgrythyrol i'r ffaith fod yr ymddangosiadan hyny yn amlygiadau o'r Mab. "Ni welodd neb Dduw (y Tad) erioed; yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd Ef:" Ioan i. 18. "Yr hwn (Duw y Tad) nis gwelodd un dyn, ac nis dichon ei weled:" 1 Tim. vi. 19. "Nid oherwydd gweled o neb y Tad, ond yr hwn sydd o Dduw; efe a welodd y Tad:" Ioan vi. 45. Y Bod dirgeledig hwnw, gan hyny, yr hwn a ymddangosodd mor fynych i saint yr Hen Destament, ac i'r hwn yn fynych y rhoddir yr enw annghyfranogol Jehofah, ydoedd neb amgen nâ'r Arglwydd Iesu Grist yn Ei ogoniant rag-hanfodol. Mae yr ysgrythyr yn dyst na welodd un dyn, mewn un oes o'r byd, erioed y Tad; y Mab a'i dadguddiodd Ef dan y gyfraith; ond yr oedd yr ymddangosiadau hyny yn amlwg yn ymddangosiadau gweithredydd personol, canys Efe a lefarodd mewn awdurdod, Efe a ymresymodd, Efe a rybuddiodd, Efe a gysurodd, ac Efe a roddes ddeddfau.

Yn mhellach, wrth ddyfod yn ddyn, arddangosir ein Harglwydd fel yn *cyflawnu gweithred o ymddarostyngiad annghymarol.* Llefarir yn wastadol am dano Ef fel yn ymostwng yn wirfoddol i'r darostyngiad dyfnaf pan gydsyniodd i gael Ei wneuthur yn gnawd; iaith a fyddai yn gwbl wrthun ar y dybiaeth nad oedd Efe yn ddim mwy nâ dyn. Canys ni all un dyn yn unig ddewis amser, lle, na dull ei enedigaeth Yr ydym ni, yn ein cyflwyniad i'r byd, yn hollol oddefol, ac nis gallwn amlygu gostyngeiddrwydd na balchder. Ni ellir yn sicr ddyweyd am ddyn, yr hwn am y waith gyntaf sydd yn dyfod i fodolaeth fel baban dyddiau, ac na fodolodd yn flaenorol mewn sefyllfa arall neu uwch, ei fod yn ymostwng wrth ddyfod i'n byd ni. Ond ein Harglwydd a ddarostyngodd Ei Hun yn Ei ddy-

fodiad yn ddyn, yr hyn a brawf Ei fod yn meddu natur arall ac uchelach.

Ni ellir dywedyd fod y weithred o ymddarostyngiad yn cyfeirio at unrhyw wahaniaeth tybiedig rhwng dwy ran wahanol o'i yrfa ar y ddaear; canys rhan oedd yr yrfa hono i gyd. Yr oedd drwyddi oll yn yrfa o ymddarostyngiad a gwaradwydd. Dechreuodd gyda y preseb, a gorphenodd gyda y groes. Y cyferbyniad bwriadedig yn y cyfryw adnodau sydd rhwng "y gogoniant oedd i'n Harglwydd gyda y Tad cyn bod y byd," a'i ymddangosiad yn ein plith ni mewn natur newydd fel y "Bachgen a aned, a'r Mab a roddwyd." Fel hyn y darllenwn:—"A'r Gair a *wnaethpwyd yn gnawd*, ac a drigodd yn ein plith ni:" Ioan i. 14. "Oblegid hyny, gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau:" Heb. ii. 14. "Danfonodd Duw Ei **Fab**, wedi ei wneuthur o wraig:" Gal. iv. 4. "Yr hwn ac Efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw, eithr Efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymmeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion; A'i gael mewn dull fel dyn, Efe a ddarostyngodd ei Hun, gan fod yn ufudd hyd angau, ïe, angau y groes:" Phil. ii. 6, 7, 8. "Canys chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo Ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy Ei dlodi Ef:" 2 Cor. viii. 9. Yn awr yr ydym yn dadleu, fod y fath adnodau a'r rhai hyn yn annealladwy ond ar y dybiaeth i'n Harglwydd fodoli mewn sefyllfa a natur uwch yn flaenorol i'w enedigaeth yn Bethlehem. Bydded i unrhyw Undodydd ddywedyd wrthym pa fodd y gellid dyweyd am ddyn yn unig ei fod yn darostwng ei hun yn y weithred o ddyfodiad i'n byd ni!

II. Symudwn yn mlaen i brofi FOD Y NATUR RAGHANFODOL HON A YMGYSSYLLTODD A DYNOLIAETH WEDI, AC YN BOD ETTO, YN DDWYFOL, AC YN MEDDU HOLL BRIODOLEDDAU DUWDOD PERSONOL. Ni pheidiodd Iesu a bod yn Dduw wrth ddyfod yn ddyn. Mae y ddwy natur yn Ei berson addoladwy yn cadw eu priodoleddau gwahaniaethol etto. Y ddwyfol heb ddyfod yn ddynol, na'r ddynol yn ddwyfol. Nid yw y Duwdod wedi

suddo yn y dyndod, na'r dyndod wedi ei golli yn y Duwdod. Tra yr oedd ein Harglwydd ar y ddaear, ni chydnabyddwyd yn gyffredinol Ei hawl i fod y Duw ymgnawdoledig, eithr ymddygwyd tuag ato Ef fel twyllwr. Gweddïodd gan hyny, ar Ei Dad am i'r holl gymmylau hyn gael eu gwasgaru, ac i'w hawliau gael eu cydnabod "yn y nefoedd ac ar y ddaear:" Ioan xvii. 5. Ni lychwynwyd gogonianau Ei natur ddwyfol mewn gwirionedd, ond nid oeddynt yn cael eu cydnabod yn gyflawn gan y cyfanfyd; a gweddïodd ein Harglwydd am iddynt lewyrchu allan drwy Ei ddynoliaeth ddyoddefig, fel ag i gywilyddio Ei elynion a chysuro y rhai daionus a santaidd.

Yr oedd natur rag-hanfodol ein Harglwydd, yr hon oedd yn awr yn annatodadwy unedig A'i ddynoliaeth, yn meddu ar holl bridoleddau dwyfoldeb. Mae yn arferol mewn corff o dduwinyddiaeth i gael pennodau gwahanol ar bob un o berffeithderau Jehovah. Gwell genym ni, fodd bynag, ddywedyd yr hyn sydd genym i'w gynnyg mewn perthynas iddynt *yma*, oblegid mae yn cael ei ddywedyd yn bendant fod Duw wedi rhoddi i ni oleuni Ei ogoniant yn llewyrchu yn y modd egluraf yn "ngwyneb Iesu Grist:" 2 Cor. iv. 6. "Yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd ym mynwes y Tad, hwnw a'i hyspysodd Ef:" Ioan i. 18. "Nid edwyn neb y Tad ond y Mab; a'r hwn yr ewyllysio y Mab ei ddadguddio iddo:" Math xi. 27. Mae Crist Iesu i ni yn ddadguddiwr pennodedig Duw. Ynddo Ef yr ydym yn cael yr holl briodoleddau dwyfol yn ymgnawdoledig. Mae enw Jehofah ynddo Ef:" Exod. xxiii. 21. Yn Ei berson a'i waith Ef, mae hyd y nod calon Duw wedi ei gwneuthur yn hyspys. Bydded i ni am hyny, fyfyrio "Duw yn Nghrist." Dechreuwn gyda'r priodoleddau naturiol.

1. *Mae Duw yn ysbryd anfeidrol a holl-gynnwysol:* Gwel Ioan iv. 24, ac Esa. xxxi. 3, &c. Nid bod materol yw Efe, yn cael ei wneyd i fyny o ranau neu aelodau, ond ysbryd pur, digymmysg, a diranedig. Ac mae y meddiant o'r fath natur â hon yn cael ei phriodoli yn yr ysgrythyr i Iesu Grist. "Hwn a wnaed o had Dafydd o ran y cnawd, ond o ran *ysbryd santeiddrwydd* a eglurwyd yn nerthol yn Fab Duw, trwy Ei adgyfodiad oddiwrth y meirw:" hyny yw, o ran Ei natur *ddwyfol*, profwyd Ef yn Fab Duw: Rhuf.

i. 3, 4. "Y mae yma," meddai yr hybarch Pye Smith, "gyferbyniad amlwg a nodedig rhwng y cnawd, y natur farwol a dyoddefedig; ag egwyddor *arall*, gweithrediad gwyrthiol yr hon yn Ei adgyfodi Ei Hun oddiwrth y meirw, a brofodd Grist yn Fab Duw. Gelwir yr egwyddor uwchraddol hon yn 'ysbryd' mewn cyferbyniad i'r 'cnawd,' y natur ddynol; ac 'ysbryd santeiddrwydd, gan gasglu ardderchogrwydd moesol y natur ddwyfol, ei *phrif briodoledd*, fel y talfyriad mwyaf cyfaddasol i ddynodi y natur hono ei hun. Ymddengys y meddylddrych hwn fod yn rhoddi y dehongliad mwyaf boddhaol o'r mynegiad i Grist "trwy yr Ysbryd Tragywyddol, offrymu Ei Hun *yn ddifai* i Dduw:" Heb. ix. 14. Yn yr un modd meddylwyf fod genym reswm da i ganlyn Cameron, James Cappell, Vitringa ieuengaf, Schöttgen, Stapfer, ac ereill a gymhwysant y nodiad hwn at 1 Tim iii. 16, "*Cyfiawnhawyd yn yr Ysbryd*," ac at 1 Pedr iii. 18, "Wedi Ei farwolaethu *yn y cnawd* eithr Ei fywhau *yn yr Ysbryd*." "Pan mae y *term* 'ysbryd' yn cyfeirio at Grist, ac yn cael ei osod yn gyferbyniol i 'y cnawd,' y mae yn dynodi Ei natur ddwyfol." Scöttgen, Hor. Heb. Vol. I. p. 1043. Tyb a noddid yn ddilys gan y diweddar Ddr. Arnold. Gwel ei bregeth ar 1 Tim. iii. 16." Pye Smith's Scripture Testimony, Vol. II. pp. 363, 364, fourth edition.

Y meddiant o'r natur ddwyfol hon a wnaeth yr ail Adda "Yn ysbryd yn *bywhau*:" 1 Cor. xv. 45. Yr Ysbryd a fywhaodd y prophwydi gynt ydoedd "Ysbryd Crist:" 1 Pedr i. 11. Yr Ysbryd sydd yn rhoddi bywyd i'r holl ddadguddiad yw Crist Iesu; canys "yr Arglwydd (Iesu) yw yr Ysbryd hwnw:" 2 Cor. iii. 17. Ac mae Mab Duw gan hyny, yn abl i fod yn neillduol o bresenol gydag eneidiau neu ysbrydoedd Ei bobl. "Yr Arglwydd Iesu Grist fyddo gyd â'th ysbryd di:" 2 Tim. iv. 22. "Digon i ti fy ngras I:" 2 Cor. xii. 9. "Canys lle mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw I, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt:" Matt. xviii. 20. "Ac wele, yr ydwyf Fi gyd â chwi bob amser hyd ddiwedd y byd:" Matt. xxviii. 20. "Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr Hwn sydd yn fy nerthu i:" Phil. iv. 13. "Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd:" Act vii. 59. "A'r holl eglwysi a gânt wybod

mai Myfi (Iesu Grist) yw yr Hwn sydd yn chwilio yr arennau a'r calonau:" Dad. ii. 23. Mae Iesu Grist o ganlyniad, yn meddu natur arall, ar wahan oddi wrth Ei ddynoliaeth neu Ei gnawd, ac un o briodoleddau hon ydyw, ysbrydolrwydd perffaith, digymmysg, a diranedig.

2. *Mae Duw yn hunanfodol*.—Mae yn bodoli o angenrheidrwydd goruchel natur. Ni ddichon Efe lai nâ bod. Y mae Ei fodolaeth yn an-hanedig, yn hunan-gynnaliol, ac yn dragywyddol ei pharhad. Ei enw yw YDWYF YR HWN YDWYF. Gan Ei fod Ef cyn pob peth, nis gall Ei fodolaeth fod wedi ei hachosi gan arall, canys byddai y bod arall hwnw o flaen Duw. Nis gall yr Hwn oedd yn bod o flaen yr holl fydoedd, a'r creaduriaid, oddiar natur pethau, fod yn ddyledus i neb am ei fodolaeth. Rhaid Ei fod yn Jehofah annibynol a hunanfodol; yn achos pawb achosion ereill—ond Efe ei Hunan heb achos. "Efe yw y cyntaf a'r diweddaf."

Yn awr, mae yr hunanfodoldeb hwn yn cael ei briodoli i'r Gwaredwr, canys am dano ef y gwneir yr honiadau canlynol:—"Ac y mae Efe cyn pob peth:" Col. i. 17. "Ynddo Ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion:" Ioan i. 4. "Cyn bod Abraham yr wyf Fi:" Ioan viii. 58. "Mi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, medd yr Arglwydd, a'r hwn oedd, a'r hwn sydd i ddyfod, yr Hollalluog:" Dad. i. 8. "Nac ofna; Myfi yw y cyntaf a'r diweddaf; a'r un byw (kài 'o zŏn). Ac a Fu'm farw; ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd," Dad. i. 17, 18, felly ii. 8. "Yn y dechreuad oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair:" Ioan i. 1. Yr ydym yn casglu oddiwrth y tystiolaethau hyn ac ereill cyffelyb, fod yr Arglwydd Iesu yn feddiannol ar natur, yr hon oedd wedi bodoli o flaen pawb bodau ereill, yr hon a raid fod o ganlyniad yn ddwyfol. Gan nad oedd neb o'i flaen Ef, nis gall fod wedi cael Ei fodoldeb oddiwrth neb arall.

3. *Mae Duw yn dragywyddol*.—Gan na fu erioed amser pryd y dechreuodd Duw fod, felly hefyd, ni fydd amser byth pan y peidia Efe a bod. Rhaid o angenrheidrwydd i fôd hunanfodol ac annibynol fod yn fôd tragywyddol; a rhaid yw i fôd tragywyddol, o angenrheidrwydd

fod yn fôd annibynol a hunanfodol. Ond y mae *tragywyddolrwydd* yn cael ei briodoli yn eglur i Iesu Grist. Dywedir am dano Ef, nid yn unig Ei fod "cyn pob peth:" Col. i. 17. Eithr na "phalla Ei flynyddoedd:" Heb. i. 12. Ond wrth y Mab, "Dy orseddfaingc di O Dduw, sydd yn oes oesoedd:" Heb. i. 8. "Yr Hwn sydd, a'r Hwn oedd, a'r Hwn sydd i ddyfod:" Dad. i. 8. "Efe yw y cyntaf a'r diweddaf:" adn. 17.

Hawliodd yr enw sydd yn gosod allan dragywyddolrwydd Jehofah, "Wyf Fi:" Ioan viii. 58. A'r cyfenw Jehofah ei hun, yr hwn sydd yn arddangos yn rhagorol berffaith dragywyddolrwydd Duw, ac sydd yn cael ei roddi iddo Ef drachefn a thrachefn yn yr Hen Destament. Cenadaeth Ioan Fedyddiwr a ddarlunir fel yma, "Llef un yn llefain yn yr anialwch, Parottôwch ffordd JEHOFAH, unionwch, &c.:" Esa. xl. 3. "A hyn fydd ei enw ar yr hwn y gelwir ef (Messiah) JEHOFAH EIN CYFIAWNDER:" Jer. xxiii. 6. Yr oedd y weledigaeth a rydd Esaiah yn ei chweched bennod yn rhagfynegiad o ardderchogrwydd ein Harglwydd:" Gwel Ioan xii. 39—41. Ac yn y weledigaeth hono Efe a elwir yn JEHOFAH Y LLUOEDD: Esa. vi. 5. Gwel hefyd Exod. iii. 2, a chymharer hi ag adnod y bedwaredd, lle mae Angel y Cyfammod yn cael ei gyfenwi yn bendant, JEHOFAH. Felly etto, y mae tywysog llu yr Arglwydd a ymddangosodd i Josuah, yn cael ei anrhydeddu â'r un cyfenw: Jos. vi. 2. "A JEHOFAH a ddywedodd wrth Josuah, &c." Gellid dyfynu yn helaeth gymhwysiadau fel hyn o'r enw annghyfranogol hwn ar Dduw. Bydded i'n darllenwyr gael eu cymhell i chwilio am rai ereill eu hunain. Mae Iesu yn meddu tragywyddolrwydd.

4. *Mae Duw yn holl-bresenol.*—Y ma Efe yn mhob man, nid oes un man lle nad yw Efe. Mae Ei bresenoldeb, fel Ei hanfod, yn *anfeidrol.* Mae Salm y cxxxix yn darlunio y briodoledd hon mewn barddoniaeth o'r radd uchelaf. I ba le bynag yr awn, yn y nefoedd neu uffern, neu y ddaear, mae Duw nid oes modd dianc oddiwrth Ei bresenoldeb oll-gynnwysol Ef!

Ac y mae Iesu yn feddiannol ar natur a ddywedir fod yn hollbresenol. "Canys ynddo Ef y mae pob peth yn

cydsefyll" (neu hongian yn nghyd): Col. i. 17. Mae yn rhaid, gan hyny, fod Ei bresenoldeb yn dreiddiedig trwy yr holl gyfanfyd. Y mae Efe yn "Cynnal pob peth trwy air Ei nerth:" Heb. i. 3. "Canys lle mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw I, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt:" Matt. xviii. 20. Ond nis gallai Efe fod yn bresenol fel hyn, yr un pryd, yn holl gynnulleidfaoedd Ei saint, yn ngwahanol barthau y byd, pe na fyddai yn hollbresenol. Mae yr un ddadl yn gymhwysiadol at Matt. xxviii. 20. "Ac wele, yr ydwyf Fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Ac y mae meddiant o'r briodoledd hon yn cael ei arddangos gan y ffaith fod Iesu yn abl i "chwilio arennau a chalonau" miliwnau o fodau deallol, mewn gwahanol leoedd, ar yr un eiliad: Dad. ii. 23. Fel hyn, tra mae dynoliaeth ein Harglwydd o angenrheidrwydd yn gyfyngedig i un lle ar y pryd, y mae Ei Dduwdod yn mhob man trwy yr eangder. Y mae Efe yn meddu y briodoledd ryfeddol hon o hollbresenoldeb.

5. *Mae Duw yn hollwybodol.*—"Hysbys i Dduw yw Ei weithredoedd oll erioed: Act, xv. 18. Nid oes *dim* yn guddiedig oddiwrth Ei wybodaeth, megis ag nad oes un *lle* allan o gyrhaedd Ei bresenoldeb. Y mae yn deall hyd y nod ein meddyliau o bell. Pob dygwyddiad sydd wedi cymmeryd lle, yn cymmeryd lle, ac a gymmer le etto yn y cyfanfyd, y mae yn eu gwybod yn berffaith. Mewn gair, mae Ei wybodaeth, fel Ei holl briodoleddau ereill yn anfeidrol. Pe gallai syniad newydd gyfodi yn meddwl Duw, pe gallai Efe wybod heddyw, beth nad oedd yn ei wybod y ddoe, neu filiwnau o oesoedd yn ol, awgrymai hyn gynnydd mewn gwybodaeth, a byddai yn groes i berffeithrwydd arbenig ac anfeidrol Duw.

Y mae Hollwybodolrwydd yn cael ei briodoli yn yr Ysgrythyr Santaidd i'n Harglwydd. Nid i'w ddyndod, oblegid nid oedd Ei enaid dynol yn gwybod dydd nac awr y farn ddiweddaf, tra yr oedd Efe ar y ddaear: Marc, xiii, 32, eithr i'w Dduwdod. Ni ddichon enaid dynol ein Harglwydd byth ddyfod yn gwbl hollwybodol, oblegid yna efe a ddarfyddai fod yn ddynol. Pa fodd y trosglwyddir meddyliau oddiwrth y Duwdod trigfewnol i'r enaid dynol sydd ddirgelwch na fedr creaduriaid byth dreiddio iddo;

ond diammheu fod y trosglwyddiad yn anfeidrol hawddach a chyflymach nag y gallwn ni ddychymmygu. Mae un peth yn amlwg fodd bynag, tra mae y Messiah yn cael Ei osod allan fel yn feddiannol ar un natur gyda galluoedd terfynol, y mae yn cael Ei osod allan hefyd fel yn meddu natur arall, yr hon sydd yn cael ei gwisgo â holl briodoleddau annherfynol Duw. Yr Undodiaid yn wastad a ddyfynant yr adnodau hyny a berthynant i *ddynoliaeth* ein Harglwydd, fel prawf nad oedd Efe yn *fod dwyfol.* Nyni a ddywedwn, nad ydyw y cyfryw ddyfyniadau yn gymhwysiadol. Nid ydynt yn profi ond yn unig fod Crist yn ddyn, yr hyn nad yw un Trindodydd yn ei wadu; ond ond pan yr ydych wedi profi fod ein Harglwydd yn ddyn, *nid* ydych wedi profi nad oedd Efe yn Dduw, Y mae yn anrhesymegol i ddadleu oddiwrth adnodau a berthynant i un natur, fel pe perthynant i'r llall. Yr oedd Crist yn wir ddyn, yn meddu corff, yspryd, ac enaid dynol. Fel dyn yr oedd yn ddibynol ac eiddil, ac yn y natur hono, ac yn Ei sefyllfa swyddogol, yr oedd Efe yn israddol i'w Dad. Yn yr ystyr hon y dywedodd Efe, "Fy Nhad I sydd fwy nâ phawb;" Ioan, x. 29.

Ond yr oedd Efe yn berchen natur arall, i'r hon y mae Hollwybodolrwydd yn cael ei briodoli. Fel hyn y llefarodd Efe am dano Ei Hun: "A'r holl eglwysi a gânt wybod mai Myfi yw yr Hwn sydd yn chwilio yr arennau, a'r calonau: Dad. ii. 23. Ond nis gall neb heblaw yr Hollwybodol chwilio dyfnderau yr ysbryd dynol! Yn mhellach, dedfrydau y dydd diweddaf a gânt eu cyhoeddi dros Ei wefusau Ef. "Gosodir ni oll gerbron gorsedd-faingc Crist:" Rhuf. xiv. 10. 2 Cor. v. 10. "A chyd-gesglir ger Ei fron Ef yr holl genhedloedd: ac Efe a'u didola hwynt oddiwrth eu gilydd, megis y didola bugail y defaid oddiwrth y geifr: Matt. xxv. 32. Mynega Efe Ei Hun, "Ac Mi a roddaf i bob un o honoch yn ol eich gweithredoedd:" Dad. ii. 23. Ond pwy yw yr hwn sydd yn llywio taranfolltau ad-daledigaeth dragwyddol? Pwy yw yr hwn sydd yn proffesu bod yn abl i rhanu i bob dyn ei wobr uniawn yn y byd arall; sydd yn honi y gallu o farnu, nid yn unig haeddiannau pob bywyd, eithr pob gweithred berthynol i bob bywyd, gyda ei holl amgylchiadau dullweddiadol o

gymhelliad a gallu? A'i ni rhaid Ei fod Ef yn Hollwybodol? Gwel, Heb. iv. 13, 14.

6. *Mae Duw yn Hollalluog.*—Y mae Efe yn gallu gwneuthur Ei holl ewyllys. Mae pob peth yn bosibl gydag Ef. Ni fedr neb attal Ei fraich, neu ofyn iddo, beth yr wyt yn ei wneuthur? Efe a ddywed, a hyny a fydd. Efe orchymmyn, a hyny a saif. Mae gallu anfeidrol yn mhob ewyllysiad (*volition*) o'i Eiddo. Yr hyn y mae yn Ei ewyllysio, y mae yn ei gyflawnu yn ddifeth. Efe yn arbenigol ydyw YR HOLLALLUOG.

Ond y mae hon yn briodoledd sydd yn cael ei phriodoli gan yr Ysgrythyrau Santaidd i'r Gwaredwr. Gosodir Ef ger ein bron drachefn a thrachefn fel Creawdwr Hollalluog yr holl fydoedd. "Trwyddo Ef y gwnaethpwyd pob peth, ac hebddo Ef ni wnaethpwyd dim ar a wnaethpwyd:" Ioan i. 3. "Trwy yr Hwn hefyd y gwnaeth Efe y bydoedd:" Heb. i. 2. "Canys trwyddo Ef y crëwyd pob dim ar sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac anweledig, pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddiannau; pob dim a grëwyd trwyddo Ef, ac erddo Ef:" Col. i. 16. Ac os mai Iesu yw y Crëawdwr Cyffredinol, rhaid Ei fod yn Hollalluog, canys ni ddichon neb greu ond yr Hollalluog. Mae Efe yn cynnal y cyfanfyd mewn bod. "Ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll:" Col. i. 17. Efe sydd yn "Cynnal pob peth trwy air Ei nerth:" Heb. i. 3. "Wrth y Mab y dywedodd,—Dy Orsedd-faingc Di O Dduw, sydd yn oes oesoedd; teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen Dy deyrnas Di:" Heb. i. 8. Heblaw hyna, darfu i Iesu yn Ei ymddangosiad i Ioan yn Mhatmos, ddynodi Ei Hun yn arbenigol "YR HOLLALLUOG:" Dad. i. 8. Y mae llywodraeth y cyfanfyd ar Ei ysgwyddau Ef. Y mae Efe yn "agoryd ac nid yw neb yn cau; ac yn cau, ac nid yw neb yn agoryd." Y mae agoriadau Hades a Marwolaeth yn crogi wrth Ei wregys archoffeiriadol, Y mae ganddo "bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear:" Matt. xxviii. 18.

Fel dyn, yr oedd yn eiddil a dibynol: fel Duw, yr oedd yn Hollalluog. Cysgodd Ei ddynoliaeth ar obenydd yn y llong ar y llyn, yn lluddiedig gan lafur a gofid; ond gallai Ei Dduwdod ddystewi yr ystorm a thawelu y dyfroedd â

gair! Anadlodd Hollalluogrwydd yn seiniau y llais hwnw, gan Ei brofi Ef y DUW-DDYN; Duw wedi ymddangos yn y cnawd. Fel Cyfryngwr, *derbyniodd* lywodraeth gyffredinol oddiwrth y Tad Tragywyddol; a galluogodd Ei Dduwdod Ef i ymgynnal dan y baich aruthrol.

7. *Mae Duw yn anfeidrol ddoeth.*—Mae gwahaniaeth rhwng gwybodaeth a doethineb. Doethineb ydyw medrusrwydd yn y cymhwysiad o wybodaeth; y gelfyddyd o wneuthur pethau yn y modd goreu a ellir; deall beth i'w ddywedyd ac i'w wneuthur, a pha beth i beidio ddywedyd neu wneuthur. Mae llawer o ddynion â'u penau wedi eu gorlenwi â gwybodaeth a dysg, etto yn hollol annoeth, ac yn cyfeiliorni yn echrydus yn y llwybrau a gymmerant. Ond y mae Jehofah mor anffaeledig mewn gweithrediad ag ydyw Efe o Anfeidrol yn Ei wybodaeth. Nis gall Efe byth wneuthur camsyniad yn rheolaeth Ei orchwylion cymhlethedig. Mae yn gwybod pob peth, ac oddi ar angenrheidrwydd goruchel natur, ni fedr byth wneuthur dim mewn unrhyw ffordd ond yn yr un fyddo yn anfeidrol oreu. "Mor lïosog yw Dy weithredoedd, O Arglwydd; gwnaethost hwynt oll mewn doethineb:" Salm civ. 24. "Bendigedig fyddo enw Duw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, canys doethineb a nerth ydynt eiddo Ef:" Dan. ii. 20. "Trwy yr Hwn y bu Efe helaeth i ni yn mhob doethineb a deall:" Eph. i. 8. "Mawr amryw ddoethineb Duw:" Eph. iii. 10. "O ddyfnder golud doethineb Duw! mor anchwiliadwy yw Ei farnau Ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt:" Rhuf. xi. 33. Ond y mae y doethineb anfeidrol ac anffaeledig hwn yn un arall o'r priodoleddau dwyfol y mae ein Meistr yn eu meddiannu. Am hyny, mae yn cael Ei ddynodi y *Logos* neu Ddoethineb dwyfol: Ioan i. 1. Ac yn llyfr y Diarhebion, mae yn cael Ei gyflwyno i ni o dan yr un cyfenw, Doethineb: Diar. viii. 12-36. Efe a ddynodir yn "Grist gallu Duw, a doethineb Duw:" I Cor. i 24. Ynddo Ef "y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig:" Col. ii, 3.

Mae doethineb anfeidrol yn hanfodol i Iesu i lanw y swydd o Lywodraethwr Cyffredinol, yr hon y mae Efe yn ei dal, fel yr ydym wedi profi yn barod. Pe na fyddai yn

anfeidrol ddoeth, pa fodd y gallai Efe lywyddu peiriant cymhlethedig natur, a pha fodd y gallai lywyddu amgylchiadau y cyfanfyd meddyliol? Bydd dedfrydau y dydd diweddaf yn gofyn yr un briodoledd. Gwnaeth ein Harglwydd yn amlwg yn fynych yn Ei ddywediadau a'i weithredoedd ar y ddaear, Ei fod yn berchen doethineb anfeidrol. Yr oedd Ei wrthwynebwyr yn cael eu dyrysu gan ddoethineb dwyfol Ei ymadroddion, a gofynasant mewn syndod, "O ba le y daeth y doethineb hwn, a'r gweithredoedd nerthol i'r dyn hwn:" Marc vii. 2. Nid oeddynt hwy yn gwybod mai Efe yr hwn oeddynt yn wrando, ydoedd y Doethineb Tragywyddol mewn cnawd, pe amgen, darfuasai eu syndod!

Yr ydym yn dyfod yn awr i ystyried priodoleddau moesol Jehofah.

8. *Mae Duw yn ddifrycheulyd o santaidd a chyfiawn.*—"Glanach yw Ei lygaid nag y gall edrych ar anwiredd." Y mae yn medru gwneuthur Ei holl ewyllys, ond nis gall byth ewyllysio pechu. Nis gall Efe wadu Ei Hun. Ni ddichon Efe ddywedyd celwydd. Mae santeiddrwydd yn un o'r priodoleddau a briodolir yn neillduol i'r Tragywyddol Dri yn Un gan y pedwar anifail byw yn llyfr y Dadguddiad. "Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Hollalluog, yr hwn oedd, a'r hwn sydd, a'r hwn sydd i ddyfod." Dad. iv. 8.

Santeiddrwydd yw y briodoledd y mae Duw wedi ei dewis uwchlaw y lleill oll i fod yn awdurdod Ei lw dwyfol. "Tyngais unwaith i'm sancteiddrwydd:" Salm lxxxix. 35 "Tyngodd yr Arglwydd Dduw i'w sancteiddrwydd:" Amos iv. 2. Mor ogoneddus y rhaid fod y briodoledd hon, a wneir yn gadarnhad llw Duw.

Santeiddrwydd yw y briodoledd sydd yn rhoddi gogoniant ar holl briodoleddau ereill Jehofah. Heb hon, byddai Ei gyfiawnder yn ormes, Ei allu yn orfodaeth, Ei ffyddlondeb yn gyndynrwydd, a'i drugaredd yn wendid. Y mae Efe yn santaidd yn Ei holl ffyrdd, a hyn sydd yn gwneuthur Ei ffyrdd mor deilwng o edmygedd y cyfanfyd.

Nid yw Cyfiawnder yn briodoledd *bennodol.* Santeiddrwydd ydyw, yn cael ei arddangos yn llywodraethiad bodau deallol; santeiddrwydd yn rhoddi deddfau i fodau cyfrifol, ac yn cadarnhau awdurdod y deddfau hyny, Mae Duw

yn gyfiawn, oblegid y mae yn "eistedd ar orsedd-fainc Ei sancteiddrwydd:" Salm xlvii. 8. Ffurf neu ddadblygiad o santeiddrwydd ydyw cyfiawnder, yn ymgyfodi o'r berthynas sydd yn hanfodi rhwng Duw a'i greaduriaid rhesymol, fel eu llywydd moesol. Ac mae Efe mor anffaeledig yn Ei gyfiawnder, ag ydyw yn Ei ddoethineb. "Ei holl ffyrdd ydynt farn: Duw gwirionedd, ac heb anwiredd, cyfiawn ac uniawn yw Efe:" Deut. xxxii. 4. "Cyfiawnder a barn yw trigfa dy orsedd-faingc:" Salm lxxxix. 14.

Mae santeiddrwydd pur a difrycheulyd yn briodoledd o eiddo y Gair Tragwyddol. Mae natur ddwyfol ein Harglwydd yn cael ei galw yn arbenigol "Yn ysbryd sanctaidd:" Rhuf. i. 4. Gwel tud. 61. Gelwir Ef mewn ffordd o ragoriaeth, yn Sanct. "Yna yr ymddiddenaist mewn gweledigaeth a'th Sanct:" Salm lxxxix 19. "Ac ni oddefi i'th Sanct weled llygredigaeth:" Salm xvi. 10. "Eithr chwi a wadasoch y Sanct:" Act. iii. 14. &c., &c.

Mae y Messiah i "gadarnhau Ei deyrnas mewn barn a chyfiawnder, o'r pryd hwn, ac hyd byth:" Esa. ix. 7. Efe yn arbenigol ydyw Y *Cyfiawn* yn gystal a'r Sanct. "Y rhai oedd yn rhagfynegu dyfodiad y Cyfiawn:" Act. vii. 14. "Chwi a wadasoch y Sanct a'r Cyfiawn," Act. iii. 14.

Ni a welwn santeiddrwydd a chyfiawnder anhyblyg ein Harglwydd yn cael eu harddangos yn Ei ymgnawdoliad, Ei ufudd-dod, a'i angau. Yn hytrach nag i iawnderau cyfiawnder gael dyoddef yn mhrynedigaeth colledigion, Efe a ddaeth yn ddyn, yn "Wr gofidus a chynnefin â dolur." Gosododd werth uwch ar drefn a daioni y cyfanfyd moesol nag ar Ei einioes Ei hun. Yn hytrach nag i gyfiawnder tragwyddol gael cam yn nghadwedigaeth annghyfiawnion heb gymmod, cymmerodd eu lle Ei hun, dygodd eu pechod a dyoddefodd eu cosbedigaeth; ac fel hyny Efe a fawrhaodd y gyfraith ac a'i gwnaeth yn anrhydeddus: Esa. xlii. 21.

A thra ar y ddaear Efe a hawliodd fod yn Arglwydd arbenig yn holl faes moesau. Esboniodd gyfraith Duw gyda y fath awdurdod, nad oedd yn gweddu i neb ond ei Hawdwr. Yn mhob cwestiwn o'r fath yr oedd Ei bwysig "*Ond yr wyf fi yn dywedyd i chwi*," i'w dderbyn fel penderfyniad anffaeledig ar y ddadl: Matt. v. 20, 22, 28,

32, 34, 39, 44. Honodd awdurdod cyflawn yn mhob cwestiwn perthynol i ddyledswydd ddynol. Llefarodd fel y Barnwr, gerbron brawdle yr hwn y bydd rhaid i ni yn y diwedd sefyll. Honodd fod "Mab y Dyn yn Arglwydd hefyd ar y Sabboth:" Marc ii. 28. Wrth yr hyn yr honodd Ei awdurdod cyflawn ar holl ordinhadau crefydd. Arddangosir santeiddrwydd a chyfiawnder anfeidrol y Gwaredwr yn y cospedigaethau a esyd Efe ar y drygionus yn y dydd diweddaf. Yr holl gyfanfyd a gyffesa y pryd hwnw mai Efe yn arbenigol yw "Y Sanct a'r Cyfiawn." Ei ddwylaw Ef a lywiant daran-folltau ad-daledigaeth, a'i gyfiawnder a rydd i bob un ei dynged gyfiawn.

9. *Y mae Duw yn annirnadwy dda.*—Cariad ydyw Efe yn ei wir hanfod. Daioni ydyw Ei natur; nid priodoledd o'i hanfod yn unig ydyw; Efe ei Hun ydyw. "Daionus yw yr Arglwydd i bawb, a'i drugaredd sydd ar Ei holl weithredoedd:" Salm cxlv. 9. Barn ydyw Ei "ddieithr-waith:" Esa. xxviii. 21. Nid yw yn ewyllysio marwolaeth yr annuwiol: Esec. xviii. 23. Eithr y mae yn "hoff ganddo drugaredd:" Mic. vii. 18.

Nid yw Ei drugaredd ond *ffurf o'i ddaioni.* Cariad anfeidrol yn tosturio wrth y colledig ydyw. Dadblygiad ydyw o ddwyfol ewyllys da yn cyfateb sefyllfa dyn, fel gwrthryfelwr colledig. Trugaredd, ydyw daioni naturiol a hanfodol Jehofah yn wylo dros y rhai hyny a ddinystrasant eu hunain, y rhai nid oedd ganddynt gynnorthwywr! A llefaru yn gywir, nis gall trugaredd gael ei hestyn ond yn unig i rai a bechasant. Gall Duw fod yn *dda* tuag at y bodau angelaidd hyny a gadwasant eu dechreuad, ond braidd y gellir dywedyd Ei fod yn *drugarog* tuag atynt hwy. Oblegid y mae trugaredd yn awgrymu euogrwydd ac anheilyngdod. Ac mor lluosog ydynt y tystiolaethau a gynnwysir yn yr Ysgrythyr santaidd i drugaredd Duw! Dywedir Ei fod yn "gyfoethog o drugaredd:" Eph. ii. 4. "Yn aml o drugaredd:" Num. xiv. 18. Yn "fawr o drugaredd:" 1 Pedr i. 3. "O fawr drugaredd:" Salm xxxiii. 5. "Tosturiol iawn a thrugarog:" Iago v. 11. "Yn hoff ganddo drugaredd:" Mic. vii. 18. "O drugaredd yr Arglwydd y mae y ddaear yn gyflawn:" Salm xxxiii. 5. "Ei drugaredd sydd yn dragywydd:" 1 Cron. xvi. 34.

"Yr Arglwydd sydd hoff ganddo—y rhai a ddysgwyliant wrth Ei drugaredd Ff:" Salm cxlvii. 11.

A Chariad a Thrugaredd anfeidrol yn ymgnawdoledig yw Iesu Grist. Mor frwdfrydig ydyw yr iaith yn yr hon y llefara y Beibl am y cariad hwnw oedd gryfach nag angau! Y mae Iesu yr amlygiad perffeithiaf o gariad Ei Dad at hiliogaeth golledig. "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd Efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol:" Ioan iii. 16. "Yn hyn y mae cariad; nid am i ni garu Duw, ond am iddo Ef ein caru ni, ac anfon Ei Fab i fod yn iawn dros ein pechodau:" 1 Ioan iv. 10. Nid oedd gan Dduw y Tad ond un Mab felly yw roddi, ac yr oedd Ei Fab yn anwylach iddo Ef nâ deng mil o fydoedd; er hyny, Efe a'i "traddododd Ef drosom ni oll." Hawdd y gallai yr Apostol ddywedyd, "Ac i Dduw y byddo y diolch am Ei ddawn annhraethol! 2 Cor. ix. 15.

Ond rhoddodd Mab Duw Ei Hun. "Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, oblegid dodi o hono Ef Ei einioes drosom ni:" 1 Ioan iii. 16. Efe a dywalltodd Ei enaid i farwolaeth. Efe a roddes Ei hun yn iawn dros ein pechodau. Darfu i Grist Duw, gydag afradlonedd breiniol o ewyllys dā wneuthur aberth O'i holl fodolaeth drosom ni. Dadguddiwyd calon Jehofah y pryd hwnw, a gwelodd y cyfanfyd y fath arddangosiad o gariad y galon hono, ag nad all, yn natur pethau weled ei gyffelyb byth mwyach. Gallwn gasglu yn wir, oddiwrth yr arddangosiad hwn, anfeidroldeb trugaredd ddwyfol. A gallwn "ymgadw yn ngariad Duw, trwy ddysgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragwyddol:" Judas 21.

Yn mhellach, gan mai cariad a daioni ymgnawdoledig yw Iesu, y mae yn *defnyddio holl ragorfreintiau trugaredd ddwyfol.* Am hyny, yr ydym yn Ei gael Ef ar amryw achlysuron, yn honi yr awdurdod o faddeu pechodau, a chyflawnu gwyrthiau er prawf O'i allu i wneuthur hyny: Matt. ix. 6; Marc ii. 7; Luc vii. 49. Ac yn *awr* y mae maddeuant yn cael ei weinyddu ganddo Ef. Y mae wedi Ei "ddyrchafu i roddi edifeirwch a maddeuant pechodau:" Act. v. 31. "Trwy hwn yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant pechodau:" Act. xiii. 38. "Yn yr hwn y mae

i ni brynedigaeth trwy Ei waed Ef, sef maddeuant pechodau:" Eph. i. 7, a Col. i. 14. Ac Efe fydd yn rhoddi holl ogonianau a dedwyddwch y nefoedd i'r etholedigion. Coron y bywyd, cyfiawnder, a gogoniant a rydd Efe i bawb a'i derbyniant hi. Ei ddwylaw Ef a'i gesyd ar benau y gwaredigion. Ei lais a ddywed, "Deuwch chwi fendigedigion, etifeddwch y deyrnas. &c." Y mae yn wir na rydd Efe y gogoniant hyny i neb, ond "i'r sawl y darparwyd iddynt gan Ei Dad," Matt. xx. 23; oblegid y mae y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, yn un yn eu holl fwriadau trugarog: Ioan xvii. 7, 8. Etto, oddiar hawlfraint, Efe a rydd fendith i *bawb a'i derbyniant hi.* Canys y rhai hyn oeddynt wir eiriau ein Harglwydd. "Eithr eistedd ar FY llaw ddehau, ac ar FY llaw aswy, nid eiddof ei roddi; OND i'r sawl y darparwyd gan Fy Nhad:" Matt. xx. 23, ac felly Marc x. 40; geiriau a awgrymant yn rhesymegol *hawl arbenig* ein Harglwydd i roddi y goron, ond dim ond i'r cyfryw a ddewiswyd i'r anrhydedd hwn yn nghynghorau cariad prynedigol.

10. *Y mae Duw yn benarglwydd yn nghyfraniad Ei ffafrau i bechaduriaid.*—Penarglwyddiaeth sydd un arall o briodoleddau moesol Jehofah. Yn nghyfraniad bendithion prynedigaeth i'r rhai hyny a haeddasant gael eu colli, y mae Efe yn gweithredu yn ol cynghor Ei ewyllys Ei hun. Dywedwn, ei fod yn gwneuthur felly yn nghyfraniad *daioni;* oblegid nid oes lle i benarglwyddiaeth yn ngweinyddiad cospedigaeth. Yn yr achos olaf, cyfiawnder yn unig sydd yn teyrnasu. Yn hyny gweithreda Duw yn ol Ei ddeddfau Ei hun. Y mae yn cospi annuwiolion yn ol mesur eu haeddedigaethau. Tra y mae iachawdwriaeth yn gwbl o ras, a chan hyny yn fater o benarglwyddiaeth bur; y mae colledigaeth yn gwbl o weithredoedd, ac yn cael ei llywodraethu o ganlyniad gan gyfiawnder syml. Y mae cyfiawnder manwl Duw yn hawlio na chaiff y troseddwr gwaethaf ddyoddef ond yn unig yn ol ei euogrwydd personol. Yma, gan hyny, bydd rhaid gwrando deddf a chyfiawnder yn unig. Ond pan y byddo prynedigaeth dragywyddol yn cael ei rhoddi i'r rhai hyny a haeddasant gael eu colli, ewyllys benarglwyddiaethol Duw yn unig sydd yn penderfynu pwy a gânt dderbyn Ei hael-

ioni breninol. Y mae hon yn ffafr sydd "yn ol boddlonrwydd Ei ewyllys Ef:" Eph. i. 5. "Yn ol Ei foddlonrwydd Ei Hun, yr hon a arfaethasai Efe ynddo Ei Hun:" Eph. i. 9. "Yr hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor Ei ewyllys Ei Hun:" Eph. i. 11. Gan mai trwy ras neu rhadlonrwydd yr ydym yn gadwedig, rhaid i'r gras hwnw, oddiar natur yr achos, fod yn ras *penarglwyddiaethol.* Y mae gweinyddu trugaredd yn rhagorfraint freninol yn yr hon y mae Jehofah yn gweithredu yn gwbl rhydd. Mae hyn yn rhywbeth sydd *uwchlaw* cyfraith, ond gan ei fod yn cael ei weinyddu, trwy ufudddod a marwolaeth dirprwyol Iesu, y mae yn *gysson* â chyfraith.

Ac y mae yr un benarglwyddiaeth ddwyfol hon yn cael ei phriodoli i'n Harglwydd. Yn y weithred o ddyfod i'n daear ni, cymmeryd ein natur i undeb â'r un ddwyfol, ac felly wneuthur Ei Hun yn asgwrn o'n hesgyrn ni, a chnawd o'n cnawd ni, myned heibio yn Ei ddisgynfa bob gradd o fodau canolaidd, (Heb. ii. 16,) cyflawnodd y weithred rhyfeddaf o benarglwyddiaeth ddwyfol a welodd y cyfanfyd erioed, neu a ga weled byth. Ac amlygodd tra yn ein plith ni yma, Ei fod yn meddu y rhagorfraint hon. Yn nghyfraniad Ei ffafrau, honodd hawl arbenig i'w rhoddi hwynt, yn ol ewyllys benarglwyddiaethol Ei Dad ac yntau, gan honi Eu bod yn un yn y materion hyn. "Ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab; a'r hwn yr ewyllysio y Mab ei ddadguddio iddo:" Matt. xi. 27. "A mi a esmwythâf arnoch:" Matt. xi.28. "I chwi y rhodded gwybod dirgelwch teyrnas Dduw:" Marc iv. 10–12. "Ac yn awr, ar orsedd Ei ogoniant, y mae ganddo agoriadau Hades a Marwolaeth:" Dad. i. 18. "Y mae yn rhodio yn nghanol y saith ganhwyllbren aur," ac yn "dal y saith seren yn Ei law ddehau," gan drefnu graddau eu dysgleirdeb, pennodi maes eu llafur, cynnal eu doniau a'u grasusau: Dad. ii. 1. Y mae yn "agoryd ac nid yw neb yn cau; ac yn cau, ac nid yw neb yn agoryd:" Dad. iii. 7. Fel hyn y mae gogonianau penarglwyddiaeth ddwyfol yn pelydru oddiwrth y Cyfryngwr, ac arweinir ni gan ymwybyddiaeth oruchel i'w addoli Ef fel "ein Harglwydd a'n Duw:" Ioan xx. 28.

11. *Y mae Duw yn ffyddlon a diball yn Ei wirionedd.*—Y mae Efe felly trwy rinwedd Ei santeiddrwydd perffaith. Nid yw geirwiredd a ffyddlondeb mewn gwirionedd, ond ffurfiau o burdeb hanfodol Duw. Arwyddant santeiddrwydd Duw fel yn arddangosedig yn nghyflawniad Ei air, pa un bynag a'i bygythiad, ynte addewid fyddo y gair hwnw. Pan mae Jehofah yn ffyddlon, y mae yn ffyddlon yn unig iddo Ei *hun*. Y mae Efe yn eirwir, am nas gall fod yn gelwyddog. Y mae yn ffyddlon am nas gall Efe wadu Ei hun. "Jehofah ydyw y gwir Dduw." (*Duw y gwirionedd.* Margin,) Jer. x. 12. Y mae Ei "wirionedd" (ffyddlondeb, Saes. Cyf.) "hyd y cymmylau:" Salm xxxvi. 5. "Dy wirionedd (ffyddlondeb, Saes.) sydd hyd genhedlaeth a chenhedlaeth:" cxix. 90.

Ac mor ardderchog y mae gwirionedd a ffyddlondeb anfeidrol yn ymddysgleirio yn mherson y Messiah! "Y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist:" Ioan i. 17. Y mae Efe "yn llawn a gras a gwirionedd:" Ioan i. 14. Efe ydyw "y Gwirionedd:" Ioan xiv. 6. Nid yw Ei ffyddlondeb byth yn cyfnewid. Wedi caru Ei eiddo, Efe a'u câr hyd y diwedd. Ac onid ydym yn ymddangos fod yn clywed seiniau Duw pan y mae Efe yn llefaru mewn ymadroddion fel hyn,—"Nef a daear a ânt heibio; ond Fy ngeiriau I nid ânt heibio ddim:" Matt. xxiv. 35; Marc xiii. 31; a Luc xxi. 33. Yn sicr, llais gwirionedd tragywyddol a ffyddlondeb anfeidrol yn ymgnawdoledig ydyw hwn!

12. *Y mae Duw yn annirnadwy fendigedig.*—Gelwir Ef yn arbenigol, Y Bendigedig. Efe ydyw y "Creawdwr, yr hwn sydd fendigedig yn dragwyddol:" Rhuf. i. 25. "Duw a Thad ein Harglwydd ni Iesu Grist, yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd:" 2 Cor. xi. 31. "Y Duw bendigedig:" 2 Tim. i. 11. "Y bendigedig a'r unig Bennaeth:" 1 Tim. vi. 15. Efe ydyw *ffynonell* Ei fendigedigrwydd Ei Hun. Megis y mae Ei hanfod yn anhanedig a hunan-fodol, felly mae Ei holl briodoleddau, ac yn mhlith y lleill, Ei fendigedigrwydd. "Nid yw ein da ni ddim iddo Ef:" Salm xvi. 2; nis gall fwyhau Ei ogoniant neu Ei ddedwyddwch hanfodol. Oblegid nid yw y cyfanfyd yn nghyd â'i holl fydoedd a'i greaduriaid ond

deilliad (emanation) o'i gyflawnder dwyfol, ac nis gall gan hyny, chwanegu dim ato Ef, megis ag nas gall yr effaith chwanegu dim at allu cynhenid ei achos. Nid oes arno "eisiau dim oddiwrthym ni, gan Ei fod Ef yn rhoddi i bawb fywyd, ac anadl, a phob peth:" Act. xvii. 25.

Ond y mae y briodoledd hon o fendigedigrwydd dwyfol yn cael ei phriodoli yn bendant yn yr Ysgrythyr Santaidd i Emmanuel. "O'r rhai yr hanodd Crist yn ol y cnawd, yr hwn sydd uwchlaw pawb, *yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd:*" Rhuf. ix. 5. A chan fod yr Ysgrythyr yn honi mai Iesu oedd Creawdwr y cyfanfyd, a'i fod "cyn pob peth," rhaid fod Ei fendigedigrwydd hanfodol fel person dwyfol, fel Ei Dduwdod ei hun, yn dragywyddol, hunanfodol, ac anfeidrol.

13. *Y mae Duw yn ddyben goruchaf pob peth.*—Mae pob peth yn bodoli er anrhydedd i'w enw Ef. Y mae y "nefoedd yn datgan Ei ogoniant, a'r ffurfafen yn mynegu gwaith ei ddwylaw Ef." "Teilwng wyt, O Arglwydd, i dderbyn gogoniant, ac anrhyded, a gallu; canys Ti a greaist bob peth, ac o herwydd Dy *ewyllys di y maent, ac y crewyd hwynt:*" Dad. iv. 11. Y mae llestri trugaredd yn amlygu golud Ei ogoniant, a llestri digofaint yn peri adnabod Ei gyfiawnder, Ei hirymaros, A'i allu: Rhuf. ix. 22, 23. Y mae pob creadur a pheth, yn byw iddo Ef.

Ond y mae hyn oll yn cael ei gadarnhau am ein Gwaredwr. "Pob dim a grewyd trwyddo Ef, ac ERDDO Ef:" Col. i. 16. "Efe yw Arglwydd pawb oll:" Act. x. 16. "Arglwydd y byw a'r meirw hefyd:" Rhuf. xiv. 9. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae Mab y Dyn yn Arglwydd ar y Sabboth hefyd:" Y mae holl drefn Rhagluniaeth yn ddarostyngedig i'w ogoniant. Y mae yr Ysbryd Tragywyddol yn preswylio yn mysg dynion er cynnal Ei anrhydedd. Rhagddywedodd y Gwaredwr am ddyfodiad y Dyddanydd arall hwnw yn y geiriau hyn, "Efe a'm gogonedda I:" Ioan xvi. 14. "Efe a dystiolaetha am danaf Fi:" Ioan xv. 26. A mabwysiadodd Apostolion ysbrydoledig hyn fel eu harwyddair—"Canys byw i mi yw Crist:" Phil. i. 21. Hyn ydoedd gwrthddrych eu huchel-gais,—"Fod Crist yn cael ei fawrygu yn eu cyrff hwynt pa un bynag a'i trwy fywyd a'i trwy farwolaeth:" Phil. i. 20.

A rhaid yn ddiau mai Efe, I'R HWN y mae yr holl fydoedd a'r creaduriaid fel yma yn bodoli, ydyw *y gwir Dduw!*

14. *Y mae Duw yn annghyfnewidiol.*—Hyn ydyw canlyniad hanfodol Ei berffeithrwydd anfeidrol. Ni ddichon yr hyn sydd anfeidrol berffaith gyfnewid heb ddirywiad, oblegid y mae ei berffeithrwydd anfeidrol yn gwneuthur cyfnewidiad er gwell—yn ol natur pethau, yn anmhosibl. Ond ni ddichon Jehofah byth beidio bod mor berffaith ag ydyw Efe, ac nis gall o ganlyniad byth gyfnewid.

"Gydag Ef nid oes gyfnewidiad, na chysgod tröedigaeth:" Iago i. 17. Am dano Ei hun y dywed, "Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidir; am hyny, ni ddifethwyd chwi, meibion Jacob:" Mal. iii. 6. "Ond y mae Efe yn un, a phwy a'i try Ef?" Job. xxiii. 13. "Tithau yr un ydwyt:" Salm cii. 27. Ac y mae y briodoledd addoladwy hon yn Jehofah yn cael ei phriodoli yn yr Ysgrythyrau i Iesu. Mae yn cael Ei osod allan fel "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd:" Heb. xiii. 8. Ac yn y Testament Newydd, mae geiriau Salm cii. 27, yn cael eu dyfynu fel wedi eu llafaru gan y Tad wrth Ei ogyfuwch Fab." "Ond wrth y Mab (y dywedodd) * * * * ond Tydi yr un ydwyt, a'th flynyddoedd ni phallant:" Heb. i. 12. Fel hyn y mae pob priodoledd o'r Jehofah bendigedig yn cael eu priodoli yn yr Ysgrythyrau Santaidd i'r Gair Tragywyddol, y Mab. I ni, ymddengys y prawf yn berffaith. Mewn gwirionedd, pe dewisem ddysgu yr athrawiaeth yn y modd mwyaf pendant ac awdurdodol, nis gallem ddefnyddio iaith grefach nag a gynnwys yr Ysgrythyrau. Mae Crist yn cael Ei alw yn yr Ysgrythyrau Santaidd yn "Dduw," "Duw Cadarn," "Duw uwchlaw pawb," "Duw bendigedig yn oes oesoedd," "y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol." Dywedir Ei fod yn Greawdwr, yn Gynnaliwr, yn Gymmwynaswr y cyfanfyd. Mae pob enw, priodoledd, a gwaith o eiddo Duw yn cael eu priodoli drachefn a thrachefn i'n Harglwydd. Priodol gan hyny, y gallwn ddywedyd, os nad yw y dystiolaeth Ysgrythyrol yn dysgu yr athrawiaeth o Dduwdod personol a thragywyddol Crist, ni *allai* un iaith, pa mor rymus bynag ei dysgu, oblegid ni ellid dywedyd

mwy nag y sydd wedi ei ddywedyd mewn amddiffyniad iddi. Yr ydym yn gofyn i'r Undodiaid i wneuthur cynnyg at hyny Bydded iddynt awgrymu, os gallant rhyw gwrs arall o brawf, mwy argyhoeddiadol nâ'r un hwnw a gynnwysir yn barod yn Ngair Duw.

Gellir profi yr athrawiaeth hon trwy y *reductio ad absurdum.* Os nad yw Iesu yn Dduw, y mae yr anghenfil mwyaf cableddus, y mwyaf rhyfygus a beiddgar o ddysgawdwyr, a lefarodd ar y ddaear erioed, canys dysgodd y ffaith o'i gydraddoldeb â'r Tad; ac os nad oedd ganddo un hawl i wneuthur y fath honiad, ni ddichon un iaith ddesgrifio, llawer llai, or-helaethu erchylldra, Ei annuwioldeb. Yr Undodiaid a ddywedant lawer o bethau gwych am berffeithrwydd moesol Iesu; ond yr ydym yn eu herio, oddiar eu sefyllfa hwy, i ateb yn llwyddiannus y sylwadau beirniadol ofnadwy hyny, ar gymmeriad Crist, a gynnwysir yn ail argraffiad Newman o'i "Agweddion Ffydd," yn y bennod ar Berffeithrwydd Moesol Iesu. mae cynnwysiad y bennod hyny yn wir yn ofnadwy; ond y maent yn ein tyb ni wedi gwneuthur gwasanaeth da i achos iawn–grediaeth. Mae ein synwyr moesol yn gwrthgilio oddiwrth gableddau Newman. Yr ydym yn teimlo fod yn RHAID fod ei feirniadaeth yn anwireddus; a theimlwn ar yr un pryd y rhaid fod Iesu yn Dduw. Bwriadwyd y bennod yn atebiad i James Martineau; *ac yn y ddadl fel rhwng y ddau ddyn*, addefwn fod gan Newman y law drechaf ynddi. Ond y mae Newman ei hun yn addef y byddai i olygiadau uniawn–gred ar berson a gwaith ein Harglwydd, *aneffeithioli rhan anferth o rym ei ymresymiad.* Dyma ei eiriau:—

"Bydd fy nadleuon i, mewn rhan, y rhai hyny o eiddo Trindodydd uniawn-gred, gan y gallem ein dau ddal fod y grediniaeth yn moesoldeb dwyfol, arbenigol Iesu, yn anamddiffynadwy, pan fyddo y grediniaeth yn mhob rhinwedd ddwyfol a goruwch ddynol arall yn cael ei gwadu. O bydd i mi gael rhyw ddarllenydd uniawn-gred, byddai i'm dadleuon anafu llai ar ei deimladau, ond iddo gadw hyn mewn golwg. Mewn gwirionedd, gall yr un weithred neu air yn Iesu fod yn gydweddol neu annghydweddol â pherffeithrwydd moesol, yn ol yr honiadau blaenorol, perthynol

i'w berson:" tud. 141. Cyhyd ag y bydd i mi (gyda'm cyfaill) edrych ar Iesu fel dyn [yn unig], cyhyd a hyny yr wyf yn dal gydag argyhoeddiad tra hyderus a gorddwys y casgliad ei fod ef yn foesol anmherffaith, ac na ddylai gael ei ddal i fyny fel yn anmhosibl dyfod yn agos iddo mewn daioni:" tud. 148.

Ond pwy a ddichon dderbyn y fath gasgliad â hwn? Mae yn amlwg, gan hyny, fod y cynseiliau yn gyfeiliornus, ac fod Newman a Martineau wedi cychwyn gyda golygiadau sylfaenol gyfeiliornus am berson a gwaith ein Harglwydd: oblegid rhaid i ni dderbyn llawer o gasgliadau Newman, os addefwn ei gynseiliau. Nid oedd yn Iesu Grist ddim gweddeidd-dra. os nad oedd efe yn Dduw!

I ddefnyddio iaith yr hyawdl Massillon, "ni pheidiodd Iesu a galw ei Hun yn 'ogyfuwch a'i Dad.' Efe a ddaeth i'n dysgu Ei fod wedi disgyn o'r nefoedd, ac wedi dyfod allan o fynwes Duw; Ei fod cyn Abraham; cyn pob peth; fod Ei Dad ac yntau yn un: fod bywyd tragywyddol yn gynnwysedig mewn adnabod y Mab, yn gystal ag mewn adnabod y Tad; fod y cwbl a wna y Tad yn cael ei wneuthur gan y Mab hefyd. Dangoswch i mi brophwyd, yr hwn, i fyny hyd amser Iesu Grist, a ddefnyddiodd iaith mor anarferol, mor rhyfeddol, yn cynnwys can lleied o barch i'r Goruchel Dduw; a'r hwn, yn mhell o roddi gogoniant i Jehofah, fel Awdwr pob rhodd werthfawr, a briodolodd i'w allu Ei hun y pethau mawrion a welodd yr Arglwydd yn dda eu cyflawnu trwy Ei weinidogaeth. Cymharodd Crist ei Hun yn mhob man â'r Goruchel Dduw. Dywedodd, mae yn wir, ar un achlysur, fod "y Tad yn *fwy* nàg Ef;" ond mor ddiystyr ydoedd y geiriau hyn, os nad oedd Efe ei hun yn Dduw, wedi ymddangos yn y cnawd! Oni ystyriem ni y dyn hwnw yn wallgofddyn, a ddeuai i'n plith i ddywedyd yn brysur fod y "Bod Goruchel yn fwy nag Ef?" Onid ydyw hyd y nod cymharu ei hunan â'r Duwdod, mewn gwirionedd yn gydraddoli ei hunan ag Ef? A oes rhyw gyfartalwch, yn fwy neu yn llai, rhwng Duw a dyn, y cwbl a dim?" ("Ar Dduwdod Iesu Grist," cyfieithad yr Awdwr, tud. 25, 26.)

Cyn gadael y pwnc mawr hwn, rhaid i ni wneyd cyfeiriad at y gwibl Undodaidd, a geisia wanychu grym y ddadl

dros Dduwdod ein Harglwydd, trwy awgrymu nad oedd Efe ond "Duw trwy gynnrychiolaeth," yn debyg fel y gwnawd Moses yn dduw i Pharaoh, Exod. vii. 1. Digon ar hyn yw ateb, na ddywedir un amser fod Iesu wedi Ei *wneuthur* yn Dduw i neb, er y dywedir Ei fod wedi ei wneuthur *yn ddyn*. "Duw *oedd* Efe; Efe a fodolodd fel person dwyfol, o angenrheidrwydd goruchel natur. Nid dwyfoldeb dirprwyol, eithr Duwdod cynhenid a feddiannai Efe: natur bersonol ddwyfol ydoedd.

Y mae yn amlwg nas gellir rhoddi priodoleddau Duw i neb trwy ddirprwyaeth. Ni dichon un bôd ddyfod yn dragywyddol, hollwybodol, hollalluog, hollbresenol ac annghyfnewidiol, trwy gynnrychiolaeth. Nis gellir byth rhoddi priodoleddau hanfodol y Goruchaf i ddyn yn unig. Gall Duw ddefnyddio creaduriaid i gyflawnu Ei waith, fel y defnyddiodd Moses i dywallt Ei lidiogrwydd ar au-dduwiau a phobl lygredig yr Aifft; ond ni ddichon Efe wneuthur creaduriaid yn unig yn gyfranogion o'r priodoleddau naturiol a moesol hyny trwy y rhai y mae Efe yn dragywyddol, o angenrheidrwydd, wedi Ei ddyrchafu yn anfeidrol uwchlaw pawb creaduriaid. Gwnaeth Iesu fwy nâ chyflawnu gweithredoedd dwyfol: yr oedd yn meddu perffeithderau dwyfol; ac y mae yn rhaid, o ganlyniad, Ei fod yn berson dwyfol.

Yn mhellach, yr ydym yn fynych yn cael fod natur ddwyfol ein Harglwydd yn cael siarad am dani fel ar *wahan* oddiwrth eiddo y Tad, er yn dragywyddol un â hi. Cymmerwch, er enghraifft, ymadroddion fel y canlyn:—"Y Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair:" Ioan i 1. "Gwir lun Ei berson Ef:" Heb. i. 3. Y "Gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd:" Ioan xviii. 5. "Yn ogyfuwch â Duw:" Phil. ii. 6. Mae y cyfartaledd hwn rhwng Duwdod y Mab ag eiddo y Tad, yn profi eu meddiant o wahanredoliaeth bersonol a dwyfol, er eu hunoliaeth hanfodol.—Gwel tud. 57, a'r bennod ar y Trindod, tud. 50.

Nis gallwn derfynu y bennod hon, er ei bod eisoes wedi myned yn faith, heb alw sylw at y ddadl *amgylchiadol* a *chasgliadol* yn ffafr Duwdod Crist, yr hon, efallai, yw y grefaf o'r oll. Mae y ddadl hon yn cael ei dadblygu yn gyflawn yn nghyfrol yr Awdwr, "The Evangelical System

Considered," o tud. 26 hyd 46. Yma, nis gallwn ond taflu cip-olwg at y ffynonellau. Yr ydym yn dadleu Duwdod ein Harglwydd oddiwrth y ffaith Ei fod bob amser yn cael ei osod ger ein bron fel pwnc arbenig dadguddiad, fel swm a sylwedd y gwirionedd ysbrydoledig, gwrthgysgod yr holl gysgodau, testun prophwydoliaeth, a gwir enaid yr efengyl. Ond pwy yw hwn, y mae pob dadguddiad dwyfol yn cydgyfarfod ynddo, os nid Efe ei hun yw y gwir Dduw? Os nad yw Crist yn Dduw, y mae y Beibl yn ymgais lafurus i'n harwain ymaith oddiwrth y Goruchaf! A allwn ni gredu fod yr holl ddygwyddiadau a'r goruchwyliaethau blaenorol wedi terfynu yn nim ond ymddangosiad prophwyd arall—dyn yn unig, cyffelyb i Esaiah a Jeremiah? Onid ydyw darostyngiad yr oll o ddadguddiad i'r arddangosiad o Iesu, yn cytuno yn unig â'r athrawiaeth o'i dragywyddol allu Ef a'i Dduwdod? Yna, drachefn, mae y Beibl, yr hwn sydd yn cyhoeddi melldith ar y "gwr a hydero mewn dyn, ac a wnelo gnawd yn fraich iddo" (Jer. xvii. 5,) yn galw arnom i roddi ymddiried difesur yn Iesu; i roddi ein holl ymddiried yn Ei berson a'i waith, ac yn mynegu mai "gwyn eu byd pawb a ymddiriedant ynddo Ef:" Salm ii. 12. Yna rhaid fod Crist yn fwy nâ dyn—yn *fwy nâ chnawd;* pe amgen, wrth ymddiried ynddo Ef â'r ffydd a ofynir gan *Y*sgrythyr, ni a fedem felldith, ac nid bendith. Byddai yn bechod i rhoddi yr ymddiried hyny mewn creadur yn unig, a ofyn y Beibl genym i'w roddi yn ein Harglwydd! Rhaid Ei fod yn Dduw!

Y mae cyfraith Duw yn ein gorchymmyn i garu yr Arglwydd ein Duw â'n holl galon, ac â'n holl enaid, ac â'n holl nerth; ac yn bygwyth y rhai hyny a garant y creadur yn fwy nâ'r Creawdwr. Ond gofynir genym i garu Crist gyda'r anwylder a'r ymroddiad ag sydd yn cyfateb yn gywir i'r hyn y mae y Tad Tragywyddol yn ei ofyn iddo ei Hun, a'r hyn a fyddai yn eilunaddoliaeth i'w arddangos tuag at unrhyw greadur yn unig. Y neb sydd yn caru gwraig neu blant, neu ei einioes ei hun, yn fwy nâ Christ, nid yw yn deilwng o hono Ef: Matt. x. 37. Mae y Gwaredwr yn gofyn genym aberthiad o'n holl fodolaeth: yr holl ag ydym ac a feddwn, sydd i'w gosod wrth Ei draed Ef. Os nad yw yr arddelwad hwn yn gabledd, rhaid fod Iesu yn Dduw.

Dywed y Beibl wrthym am addoli yr Arglwydd ein Duw, a'i wasanaethu Ef yn unig. Mae angelion wedi gochelyd bob amser rhag derbyn dim oedd yn tebygu i addoliad yn y graddau lleiaf: Dad. xxii. 8, 9. Ond mae yr holl angelion yn y nefoedd yn cael eu gorchymmyn gan y Tad Tragywyddol ei Hun i addoli y Mab: Heb. i. 6. A phan addolodd Thomas ein Gwaredwr fel ei "Arglwydd a'i Dduw," darfu i'r Bôd a gyfarchodd efe felly, gymmeradwyo ei ffydd: Ioan xx. 28, 29. Stephan, y merthyr cyntaf, "gwr llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân," a fu farw gan weddïo ar ein Harglwydd—"Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd:" Act. vii. 59. Erfyniodd Paul deirgwaith ar Grist mewn gweddi am i'r swmbwl yn ei gnawd gael ei symud; a derbyniodd atebiad oddiwrth wrthddrych ei addoliad: 2 Cor. xii. 8, 9. Y Cristionogion boreuol a ddarlunir fel rhai yn galw "ar enw ein Harglwydd Iesu Grist" mewn gweddi: 1 Cor. i. 2. Mae y fendith Apostolaidd yn cynnwys deisyfiad cyfeiriedig at Grist (2 Cor. xiii. 13); a bedydd sydd weithred o addoliad a roddir iddo Ef mewn cyssylltiad â'r Tad, ac â'r Ysbryd Glân: Matt. xxviii. 19. Ond byddai pob addoliad a gwarogaeth fel hyn yn eilunaddoliaeth rhonc, pe na fyddai Iesu yn Dduw. Ac hyd y nod yn y NEFOEDD, ni pheidiwn a bod yn dragywyddol ddyledus i'n Harglwydd. Cawn wisgo Ei enw ar ein talcenau:" Dad. xxii. 4. Cawn ganu caniadau ein buddugoliaeth santaidd i Dduw ac I'R OEN: Dad. v. 8.—13. Am y nefoedd y dywedir mai "yr Arglwydd Dduw Hollalluog, *a'r Oen* yw ei theml hi." "Gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw *yr Oen*." Ei gorseddfainc yn dragywydd fydd "gorseddfainc Duw a'r Oen:" Dad. xxi. 22, 23, a xxii. 1. Fel hyn y mae enw Iesu yn anwahanadwy unedig ag eiddo Ei Dad yn y darluniadau a roddir i ni hyd y nod o wynfydedigrwydd a gogoniant y nefoedd! A phwy ond y Tragywyddol Dduw a ddichon fod yn deml, a gogoniant, a goleuni y nefoedd? Ond y mae Iesu yn bob un o'r pethau hyn, ac o ganlyniad rhaid Ei fod yn Dduw!

Yr oedd hyd y nod cymmeryd yr enw, MAB Y DYN, yn brawf i'n Harglwydd honi Ei fod y Duw-ddyn. Yr oedd mewn rhinwedd yn honiad Ei fod yn meddu priod-

oleddau a rhagorfreintiau dwyfol; oblegid trwy gymmeryd yr enw hwn, yr oedd yn amlwg Ei fod yn dewis cael Ei ystyried y Mab y Dyn y dywedir am dano yn mhrophwydoliaeth Daniel yn y termau ardderchog a ganlyn:—'Ac mi a welwn mewn gweledigaethau nos, ac wele megis Mab y Dyn yn dyfod gyda chymmylau y nefoedd; ac at yr Hen Ddihenydd, a hwy a'i dygasant ger ei fron Ef. Ac Efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a brenhiniaeth, fel y byddai i'r holl bobloedd, cenedloedd, a ieithoedd, Ei wasanaethu Ef. Ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith, a'i frenhiniaeth ni ddifethir:" Dan. vii. 13, 14. Fel hyn mae hyd y nod y cyfenw sydd yn gosod allan wirioneddolrwydd Ei ddynoliaeth yn amddiffyniad anuniongyrchol i'w feddiant o berffeithderau ac awdurdod dwyfol.

## PENNOD IV.

### YR YSBRYD GLAN YN BERSON DWYFOL.

Y MAE personolaeth yr Ysbryd Glân yn un o athrawiaethau bywydol dadguddiad. Mae yn anmhosibl i eglwys Dduw ddal y gwirionedd mawr hwn yn rhy egniol a duwiolfrydig. Yr ydym yn ddibynol ar yr Ysbryd Glân am ein holl lwyddiant yn lledaeniad teyrnas y Gwaredwr, yn gystal ag am ein eysur a'n santeiddrwydd personol ein hunain. Dylanwadau yr Ysbryd dwyfol ydynt nerth yr eglwys. Y mae o bwys mawr gan hyny, i ni anrhydeddu yn briodol y gweithredydd bendigedig hwn! Y cyfryw a'i hanrhydeddant Ef, a anrhydedda yntau.

I. NI A GAWN EDRYCH YN MLAENAF AR Y PROFION A RODDIR O BERSONOLIAETH YR YSBRYD GLAN.

1. Ac y mae yn amlwg y *gellir dyfynu yma y cwbl a ddywedwyd mewn amddiffyniad i athrawiaeth y Trindod.* Mae yr hyn a brawf athrawiaeth y Trindod, yn profi personoliaeth yr Ysbryd. Y mae fod Bedydd yn cael ei weinyddu yn Ei enw, yn profi Ei fodoldeb personol; oblegid byddai yn ynfydrwydd bedyddio dyn yn enw y Tad, ac wedi hyny yn enw dylanwad y Tad yn unig. Y mae yr un ddadl yn gymhwysiadol i'r cyflwyniad o weddi neillduol i'r Ysbryd Glân yn y fendith Apostolaidd. Byddai

yn eithafnod afresymoldeb i weddïo ar beth nad yw ond dylanwad yn unig: 2 Cor. xiii. 13. Drachefn, yr oedd yn medydd ein Harglwydd amlygiad neillduol a phersonol o'r Ysbryd Glân, heblaw yr amlygiad o'r Tad a'r Mab: Matt. iii. 16, 17.

Yn mhellach, y mae cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân, a wahaniaethir oddiwrth y cabledd yn erbyn y Mab a'r Tad: Matt. xii. 31, 32. Y mae yr Ysbryd Glan yn ddyddanydd *arall* ar wahan oddiwrth y Mab, yr hwn sydd yn eiriol am Ei ddyfodiad, yn gystal ag oddiwrth y Tad, yr hwn sydd yn Ei anfon mewn atebiad i eiriolaeth Ei Fab: Ioan xiv. 16. Mae y Tad wedi ethol yr eglwys i iachawdwriaeth; mae y Mab wedi ei phrynu trwy Ei waed; ac mae yr Ysbryd Glân trwy Ei ras yn ei haileni. Felly mae genym brofion digonol o bersonoliaeth neillduol yr Ysbryd Glân.

2. Mae dosparth pwysig arall o Ysgrythyrau yn y rhai y mae *holl briodoleddau gweithredydd deallol yn cael eu priodoli i'r Ysbryd Glân.* Mae yn berchen *meddwl*, am hyny darllenwn "A'r hwn sydd yn chwilio y calonnau, a ŵyr beth yw *meddwl* yr Ysbryd; canys y mae Efe yn ol ewyllys Duw (y Tad) yn erfyn dros (yn) y saint:" Rhuf. viii. 27. Darlunir yr Ysbryd yma fel yn meddu dealltwriaeth, fel yn gwybod meddwl Duw Ei hun, ac yn alluog, gan hyny, i'w wneuthur yn hysbys i ereill. Y mae meddwl neu ddealltwriaeth, yn cael ei briodoli i'r Ysbryd Glân mewn llawer o adnodau ereill. Dywedir Ei fod yn "*chwilio* pob peth, ïe dyfnion bethau Duw hefyd:" 1 Cor. ii. 10, yn rhagwybod ac yn rhagddywedyd dygwyddiadau dyfodol: Ioan xvi. 13. Y mae yn berchen *ewyllys.* "Gan rannu i bob un o'r neilldu megis y mae yn ewyllysio:" 1 Cor. xii. 11. Cymharir Ef â'r gwynt, yr yr hwn sydd yn "chwythu lle y myno:" Ioan iii. 8. "Ni oddefodd" i Paul a Silas bregethu yn Asia a Bithynia: Act. xvi. 6, 7. Os ydyw Efe yn berchen ewyllys, rhaid Ei fod yn weithredydd personol.

Mae yn berchon *serchiadau.* Darllenwn gan hyny, am "gariad yr Ysbryd:" Rhuf. xv. 30. Mae yn edrych ar rai bodau, nodweddion, a gweithrediadau gyda boddlonrwydd, ar ereill gydag anfoddlonrwydd. "Canys

Gwelwyd yn dda gan yr Ysbryd Glân, a chennym ninnau, na ddodid arnoch faich ychwaneg na'r pethau angenrheidiol hyn:" Act. xv. 28. Ond nis gall yr hyn a fyddo yn ddim ond priodoledd neu ddylanwad feddu dim serchiadau; nis gall fod yn meddu un math o ymwybodolrwydd o foddhad neu anfoddhad. Mewn bod yn berchen dealltwriaeth yn unig, y gall boddlonrwydd neu anfoddlonrwydd hanfodi.

Felly, ymddengys oddiwrth Air Duw, fod yr Ysbryd Glân yn meddu *holl* briodoleddau gweithredydd personol. Mae yn berchen meddwl, ewyllys, a serchiadau; rhaid o ganlyniad Ei fod yn berson, oblegid ni ddichon dylanwad yn unig feddu dim o'r rhai hyn.

3. Ac megis y mae Efe yn meddu holl briodoleddau gweithredydd personol, felly y mae yn *cyflawnu holl weithrediadau gweithredydd personol hefyd* Yn mhlith y gweithrediadau ereill a briodolir iddo, y mae yn "chwilio dyfnion bethau Duw," (1 Cor. ii. 10,) y mae yn "clywed," (Ioan xvi. 13,) yn "cyd-dystiolaethu," (Rhuf. viii. 16), yn "tystiolaethu am Grist," (Ioan xv. 26,) yn "llefaru," (Ioan xvi. 13,) yn "mynegu pethau Crist i'w bobl," (Ioan xvi. 14,) "yn argyhoeddi y byd," (Ioan xvi. 8,) "yn erfyn dros y saint," (Rhuf. viii. 26,) "dysgodd yr apostolion," a dygodd ddywediadau y Gwaredwr i'w cof" (Ioan xiv. 26). Ac felly trwy yr holl Ysgrythyr Santaidd. Mae pob gweithred a ddichon brofi personoliaeth, yn cael ei phriodoli i'r Ysbryd Glân, a hyny hefyd yn yr adnodau mwyaf difrifol, sobr, ac addysgiadol. Eglur yw, gan hyny, y rhaid fod yr Hwn sydd yn cyflawnu holl *weithrediadau* gweithredydd personol, yn weithredydd personol. Nis gall dylanwad yn unig na gweled, clywed, na chwilio, &c., &c.; ac o ganlyniad, ni ddichon yr Ysbryd Glân fod yn ddylanwad yn unig.

4. A thrachefn, *dywedir fod yr Ysbryd Glân yn cael Ei ddylanwadu gan weithrediadau gweithredwyr personol ereill,* fel y gall *gweithredydd personol yn unig gael.* Er enghraifft, dywedir i Ananias "ddywedyd celwydd wrth yr Ysbryd Glân," (Act. v. 3,) ac y mae hyn yn awgrymu Ei fod yn alluog i chwilio i wirionedd neu anwiredd tystiolaeth, a chan hyny yn berchen barn. Dywedir Ei fod

yn cael Ei "dristâu," "Ei ofidio," a'i "demtio:" Eph. iv. 30; Esa. lxiii. 10; Act. v. 9; yr hyn ni ellid mewn un ystyr ei ddywedyd am dano, pe na fuasai yn berchen gallu i farnu natur gweithredoedd fel yn dda neu yn ddrwg. Dywedir Ei fod yn "gweled yn dda" am bethau: Actau xv. 28, yr hyn a brawf Ei allu i ganfod a gwerthfawrogi eu nodweddion moesol.

Gwyddom yn dda nàs gall Duw gael Ei dristâu, neu Ei ofidio, *yn yr ystyr y mae y cyfryw sefyllfaoedd meddwl yn gymhwysiadol i ni.* Nid ydym yn aros yma chwaith i egluro y modd yn yr hwn y gellir dywedyd hyny am yr Ysbryd. Ein holl amcan yn awr, wrth gyfeirio at y cyfryw adnodau, ydyw adgofio ein darllenwyr, eu bod yn awgrymu personoliaeth.

5. Ac y mae i'w sylwi, *na ddywedir Ei fod yn gwneuthur y pethau hyn yn anymwybyddol, neu annealldwriaethol*, fel y tystiodd carnedd Jacob: Gen. xxxi. 48. Y mae Ei dystiolaeth yn un ddeallol, canys y mae Efe yn "chwilio pob peth, ïe, dyfnion bethau Duw hefyd." Llefara a thystiolaetha am yr hyn a wybuodd Efe ei hun; mae Efe yn *rhyddweithredydd*, canys mae yn "rhanu i bob un o'r neilldu megis y mae yn ewyllysio:" 1 Cor. xii. 11. Fel hyn y darluniodd y Gwaredwr Ei genadaeth, "Ond pan ddêl Efe, sef Ysbryd y gwirionedd, Efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd; canys ni lefara o hono Ei hun; ond pa bethau bynag a glywo a lefara Efe: a'r pethau sydd i ddyfod, a fynega Efe i chwi:" Ioan xvi. 13.

Yr holl ymdrechion Undodaidd i esbonio ymaith y priodoliad o briodoleddau personol, gweithrediadau, a chynhyrfiadau (*emotions*) i'r Ysbryd Glân, trwy sefydlu cyffelybiaeth rhwng y cyfryw adnodau a'r rhai hyny yn mha rai y dywedir fod cerrig yn dwyn tystiolaeth, ac y gelwir ar y ddaear i wrando, ydynt ddim ond *quibbles.* Llefarir am yr Ysbryd Glân *bob amser* fel gweithredydd personol, ac nid mewn iaith farddonol neu ffugyrol yn unig; ac nis gall cymhwysiad ffugyrol nodweddion personol at wrthrychau difywyd, byth ddymchwelyd y ddadl osodir i lawr yn y bennod hon, mewn amddiffyniad i bersonoliaeth y Dyddanydd Dwyfol.

II. Y MAE GENYM YN AWR I BROFI DUWDOD YR YSBRYD GLAN.

Ni raid i ni, er hyny, ddywedyd llawer yma, oblegid os yw yr Ysbryd yn berson, rhaid Ei fod yn berson *dwyfol.* Rhoddir y profion o'i Dduwdod gan hyny, yn y modd byraf a mwyaf crynôawl.

1. *Mae yn cael Ei alw yn fynych yn "Ysbryd Duw," a "Glân Ysbryd Duw."* Os yw Efe, gan hyny, yn berson, rhaid Ei fod yn berson yn y Duwdod. Rhuf. xv. 19; Eph. iv. 30.

2. *Mae yn cael Ei alw yn Dduw.* Cyhuddodd Pedr Ananias o ddywedyd "celwydd wrth yr Ysbryd Glân;" a chwanegodd ei fod wedi dywedyd hyny "wrth Dduw:" Act. v. 3, 4. Mae y saint yn demlau Duw, am fod yr Ysbryd Glân yn trigo ynddynt:" 1 Cor. iii. 16. Dywedir fod yr amrywiaeth doniau yn y saint yn cael ei gynnyrchu gan yr "un Ysbryd," a dywedir Ei fod yr "un Duw, yr hwn sydd yn gweithredu pob peth yn mhawb:" 1 Cor. xii. 4. 6. Efe yn arbenigol yw Ysbryd Jehofah; neu y Jehofah Ysbryd.

3. *Mae yn cyflawnu holl weithredoedd Duw.* Mae yn cyfranogi o holl weithredoedd dwyfol y Tad a'r Mab, tra mae lluaws o weithrediadau y Duwdod yn cael eu priodoli yn neillduol iddo Ef. Cyfranogodd yn ngwaith y grëadigaeth, ac ymsymudodd ar wyneb y cymmysgedd cynfydol: Gen. i. 2. Cynnorthwya yn nghynnaliad y byd; adnewydda wyneb y ddaear; a rydd i bob creadur anadl bywyd: Salm civ. 30. Yn yr Eglwys Gristionogol, Efe yw cynnyrchydd, cynnalydd, a pherffeithydd ei bywyd ysbrydol. Rhinweddau a doniau gwyr a gwragedd Cristionogol ydynt effeithiau Ei ras a'i allu dwyfol; canys yr "holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu, gan ranu i bob un o'r neilldu megis y mae yn ewyllysio:" 1 Cor. xii. 11. Efe, trwy Ei Hollalluogrwydd, sydd yn rhoddi y ffurf adderchocaf o fywyd, sef y bywyd crefyddol yn yr enaid, canys, "Ni all neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu, eithr trwy yr Ysbryd Glân [Mai Iesu yw yr Arglwydd.—Margin Cyf.]:" 1 Cor. xii. 3.

4. *Mae ganddo hawl i addoliad dwyfol.* Yr ydym yn ein bedydd yn cyflawnu gweithred o *addoliad* yr hon a

berthyn i'r Ysbryd Glân yn gystal ag i'r Tad a'r Mab: Matt. xxviii. 19. Yn y fendith Apostolaidd, y mae gweddi yn cael ei chyflwyno i'r Ysbryd Glân yn gystal ag i'r Tad a'r Mab: 2 Cor. xiii. 13. Efe yw yr Arglwydd, yr Ysbryd, ar yr hwn y gweddïodd Paul yn y geiriau canlynol:— "A'r Arglwydd a gyfarwyddo eich calonau chwi at gariad Duw, ac i ymaros am Grist: 2 Thess. iii. 5; canys mae "Cariad Duw wedi ei dywallt yn ein calonau ni, trwy yr *Ysbryd Glân*: Rhuf. v. 5.

Yn llyfr y Dadguddiad, gelwir arno yn Ei weithrediadau amrywiol fel yr Ysbryd holl-berffeithiol, yn gyssylltiedig â'r Tad a'r Gair, fel hyn:—"Gras fyddo i chwi, a thangnefedd, oddiwrth yr Hwn sydd, a'r Hwn fu, a'r Hwn sydd ar ddyfod, ac oddiwrth y saith Ysbryd sydd ger bron Ei orseddfaingc Ef; ac oddiwrth Iesu Grist: Dad. i. 4, 5. Bwriadwyd galwad Eseciel ar yr anadl i anadlu ar laddedigion dyffryn y weledigaeth (xxxvii. 9.) i gysgodi y weddi hono ar yr Ysbryd Glân, trwy yr hon y mae hen Israel Duw i gael eu dwyn i mewn. Canys fel hyn y mae Jehofah Ei Hun yn ei hesbonio:—"Ac y rhoddwyf fy Ysbryd ynoch, ac y byddoch byw: Esec: xxxvii. 14. Mae yn amlwg gan hyny, ei fod yn ysgrythyrol i weddïo, nid yn unig *am* yr Ysbryd, ond *ar* yr Ysbryd hefyd. Mae Efe i'w addoli yn gyssylltiedig â'r Tad a'r Mab.

A diau mai nid anmhriodol mewn corff o dduwinyddiaeth fyddai cyfeirio at brofiad plant Duw yn y mater hwn. Gall yr ysgrifenydd yn bersonol, ddywedyd gan hyny, nad yw efe byth yn gweddïo gydâ'r fath gysur a lles â phan y galluogir ef i gyfeirio ei ddeisyfiadau yn ddeallus at y naill a'r llall o'r personau yn y Jehofah tri-unol addoladwy. Ac y mae wedi cael wrth ymddiddan â Christionogion ereill, fod eu profiad yn gyffelyb i'r eiddo ef ei hun. Dywedir am yr enwog Robert Hall, fod yr ystafell ddirgel a'i hymarferion, yn foddion i'w gadarnhau yn ei ffydd mewn golygiadau uniawngred. Pan y gweddïai ar Dduw fel Jehofah Tri-unol, ac yr annerchai y naill a'r llall o'r personau ar wahân, caffai ryddid ac ëangiad enaid i'r hyn, yn ei sefyllfa o feddwl llai efengylaidd, yr oedd yn hollol ddyeithr. Mae ein profiad wrth yr orsedd yn cadarnhau gwirioneddolrwydd y golygiad uniawngred, ei fod yn iawn i gyfeirio

gweddi a deisyfiad at y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

5. *Mae yr Ysbryd Glân yn meddu pob priodoledd ddwyfol.* Y mae yn *Ysbryd anfeidrol.* Ei enw ef yw yr Ysbryd, Ysbryd Duw, yr Ysbryd Glân, Ysbryd Glân Duw. Y mae yn Ysbryd pur, digymmysg, a diranedig.

Y mae yn *Hollbresenol,* canys Ei bresenoldeb sydd yn rhoddi bywyd i bob peth byw. Am hyny y gofynir, "I ba le yr âf oddiwrth dy Ysbryd?" Salm cxxxix. 7 Mae yn bresenol yn mhob man fel rhoddydd a chynnalydd bywyd.

Y mae yn *Hollwybodol,* canys mae yr "Ysbryd yn chwilio POB peth; ïe, DYFNION bethau Duw hefyd:" 1 Cor. ii. 10; ac Efe a ysbrydolodd brophwydi ac apostolion i ragddywedyd dygwyddiadau dyfodol. "A'r pethau sydd i ddyfod, a fynega Efe i chwi:" Ioan xvi. 15.

Y mae yn *Hollalluog,* canys Ei greadigaeth Ef yw *pob* bywyd, a holl ddoniau a grasusau y Cristion ydynt gynnyrchion Ei hollalluogrwydd. Y mae "yn gweithredu pob peth yn mhawb." "A'r holl bethau hyn y mae yr un â'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu:" 1 Cor. xii. 4—6, 11. Y mae gallu y gweithredydd daionus hwn yn cael ei deimlo yn gyffredinol yn y byd naturiol. "Pan ollyngych dy Ysbryd, y crëir hwynt, ac yr adnewyddi wyneb y ddaear:" Salm civ. 30.

*Y mae yn anfeidrol ddoeth,* canys Efe sydd yn rhoddi doethineb i'r doethion. Yr oedd yr apostolion i ymddiried iddo Ef am gyfarwyddyd i'w dysgu beth i'w ddywedyd a'i wneuthur yn yr amgylchiadau mwyaf annysgwyliadwy a phrofedigaethus. "Eithr pan y'ch rhoddant chwi i fynu, na ofelwch pa fodd neu pa beth a lefaroch, &c., canys nid chwychwi yw y rhai sydd yn llefaru, ond Ysbryd eich Tad yr hwn sydd yn llefaru ynoch." "Efe a ddysg i chwi yr *holl* bethau." "Efe a'ch tywys i *bob* gwirionedd." Ac felly o barthed i bob doethineb naturiol: Matt. x. 19, 20; Ioan xiv. 26; xvi. 13: Exod. xxxi. 2—4.

Y mae yn *ddifrycheulyd o santaidd.* Am hyny, gelwir Ef yn wastadol, yr Ysbryd Glân. Mae yn anfeidrol bur yn Ei natur Ei hun, ac yn Ei holl weithrediadau. Santeiddrwydd yw y briodoledd hono yn Ei hanfod, gan ba un y dynodir Ef yn neillduol.

*Y mae yn anfeidrol dda.* Gelwir Ef yn "Ysbryd daionus." "Dy Ysbryd daionus hefyd a roddaist i'w dysgu hwynt:" Neh. ix. 20. "Tywysed dy Ysbryd daionus fi i dir uniondeb:" Salm cxliii. 10. Efe yw Ysbryd y gras. "Ac a ddyfenwodd Ysbryd y gras:" Heb. x. 29. "A thywalltaf ar dŷ Dafydd * * Ysbryd gras a gweddïau:" Zech. xii. 10.

Y mae yn gweithredu gyda *phenarglwyddiaeth ddwyfol* yn nghyflwyniad Ei roddion. Dywedir iddo wahardd i Paul a Silas bregethu y Gair yn Asia, ac na oddefodd iddynt fyned i Bithynia: Act xvi. 6. Efe yn Ei benarglwyddiaeth alwodd Paul a Barnabas i lafurio yn mhlith y cenedloedd. "Dywedodd yr Ysbryd Glân, Neillduwch i mi Barnabas a Saul, i'r gwaith y gelwais hwynt iddo:" Act. xiii. 2. Yn fyr, dywedir am holl gylch grasusau a doniau Cristionogol, "A'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu, gan rannu i bob un o'r neilldu, MEGIS Y MAE YN EWYLLYSIO:" 1 Cor. xii. 11.

Y mae yn *annghyfnewidiol wirioneddol a ffyddlon.* Mynych ac arbenigol y gelwir Ef yn Ysbryd y Gwirionedd. "Ysbryd y Gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn:" Ioan xiv. 17; ac felly yn Ioan xv. 26, a xvi. 13, a 1 Ioan iv. 6. Ie, mwy, gelwir yr Ysbryd Bendigedig yn *wirionedd ei hun.* "A'r Ysbryd yw yr hwn sydd yn tystiolaethu, oblegid yr Ysbryd sydd wirionedd:" 1 Ioan v. 6. Efe ydyw y gwirionedd tragywyddol.

Y mae yn *anfeidrol* fendigedig. Yn meddu adnoddau annherfynol Ei hunan, ymhyfryda mewn rhoddi bywyd a llawenydd i greaduriaid Ei luniaethad. Mae y cyfanfyd yn orlawn o arddangosion Ei fod Ef ei Hun yn anfeidrol ddedwydd, ac yn cymmeryd hyfrydwch dwyfol mewn bendithio ereill: Job xxvi. 13.

*Y mae yn ddyben bodolaeth creadigaeth.* "Yr Arglwydd a wnaeth bob peth er Ei fwyn Ei Hun: a'r annuwiol hefyd erbyn y dydd drwg:" Diar. xvi. 4. Cymharer â Salm civ. 30.

Mae yr Ysbryd Glân yn *annghyfnewidiol.* Efe yw y dyddanydd ffyddlon a digyfnewid sydd i "aros gyda yr eglwys yn dragwyddol:" Ioan xiv. 16. "Ysbryd Duw a ddaeth ar Balaam:" Num. xxiv. 2; yn ngeiriau yr hwn

y llefarwyd y syniad goruchel yma, "Nid dyn yw Duw i ddywedyd celwydd, na mab dyn i edifarhau: a ddywedodd Efe, ac nis cyflawna? a lefarodd Efe, ac oni chywira?" Num. xxiii. 19. Fel yma, saif y tragwyddol Dri yn Un, y Jehofah Elohim, y Trindod mewn Cyfammod, Duw ein iachawdwriaeth, yn ddadguddiedig ger ein bron. Yn y dirgelwch hwn o Dduw yr Ysbryd, a'r Tad, a Christ, y mae yn guddiedig holl drysorau gwybodaeth a doethineb. Dirgelwch mawr ydyw, un a'n gorchfyga ag arswyd santaidd. Gwedda i ni yn ei bresenoldeb mawreddog addoli a mawrhau. Nid oes genym un tir i ymresymu yn ei erbyn; dim seiliau i osod lawr ein gwrthddadleuon. Am ein bodolaeth ein hunain ni wyddom ond ychydig iawn, ac am fodolaeth Duw ni wyddom ddim, ond a ddysgodd *Efe ei Hun* i ni yn Ei weithredoedd a'i air. Mor bell gan hyny, ag mae ein hymchwiliadau personol ni yn myned, gwagder a rydd ein gwybodaeth i ni, o ran dim allwn wybod am ddullwedd bodolaeth Jehofah, pa un ai trindod, ynte undod, ynte y ddau yn un ydyw. Awgryma rheswm yn wir, nas *gall fod ond un Duw;* ond y mae yn hollol yn y tywyllwch, *pa fodd* y bodola yr un Duw hwnw. Am hyny, yr unig ymholiad o bwys i ni ydyw hwn,—A yw Jehofah wedi ymostwng i roddi i ni unrhyw wybodaeth ar y cwestiwn goruchel yma? Y mae *wedi* gwneuthur hyny yn Ei Air ei hun yn *unig;* canys er fod natur yn tystio i *ffaith* Ei fodolaeth, ni ddywed ddim am ei *ddullwedd.* Rhaid i'r rhai hyny o ganlyniad, a wrthodant athrawiaeth y Trindod, wrthod y Beibl sydd yn ei dysgu. Dywedodd Archimedes, pe gallasai gael byd arall i osod lawr ei beirianau, y cymmerasai arno symud y byd hwn. Ond, er trugaredd i ni, nis gallai gael un attegydd ar wahan oddiwrth y blaned ar yr hon oedd yn byw, ac felly ni aflonyddwyd y byd gan ei gywreinrwydd peirianol aruthrol ef! Ac felly y rhai hyny a ymosodant ar athrawiaeth y Trindod, a seiliant eu gwrthddadleuon ar ddim; ceisiant osod eu magnelau ymosodol ar yr hyn mewn gwirionedd, *o barthed i'r cwestiwn* hwn sydd wagder; ac felly rhaid i'w peirianau rhyfel, yn gorphwys fel y maent ar awyr deneu, dreiglo i waered trwy wagle hyd oni chyrhaeddont gyfryngle (*limbo*) aflunaidd Milton, y lle addasaf i'r fath

afresymoldebau ymhoniadol. Dysged dyn wrando pan ymostynga Jehofah i lefaru ar bwnc, am yr hwn ni ddichon dyn, oddiwrth natur yr achos, wybod dim ond yr hyn y mae Duw yn gweled yn dda ddadguddio.

# RHAN III.

## DUWINYDDIAETH YN EI HADDYSGIADAU PERTHYNOL I DDYN.

Yn y rhan hon cawn ystyried beth sydd gan dduwinyddiaeth i ddyweyd wrthym mewn perthynas i ddechreuad, natur, a phriodoleddau dyn. Ymdrechwn ochelyd rhagflaenu yr hyn fydd genym i'w ddywedyd yn y rhan nesaf, Duwinyddiaeth, fel y dadblygir hi yn hanes Prynedigaeth. Yma, yr ydym i ymwneyd â dyn fel creadur yn unig.

## PENNOD I.

### DYN FEL Y CREWYD EF.

Sylwasom yn barod fod dyn yn *greadigaeth newydd* pan ddaeth i fodolaeth ar y cyntaf: (tud. 43). Dywed yr hanes ysgrythyrol yn eglur wrthym, i'r "Arglwydd Dduw (Hebraeg, Jehofah Elohim) lunio dyn o bridd y ddaear:" Gen. ii. 7; ei *gorff* a luniwyd felly, ond yr enaid a anadlwyd iddo gan ysbrydoliaeth Duw; ac hyd hyny, nid oedd gan y corff, er yn berffaith yn ei holl esgyrn, cyhyrau, gewynau, ac ymysgaroedd, ddim bywyd; oblegid chwanegir, "A'r Arglwydd Dduw a anadlasai yn ei ffroenau ef anadl einioes; a'r dyn a aeth yn enaid byw:" Gen. ii 7. Corff y wraig a luniwyd o'r dyn, ac wedi ei greadigaeth, a dderbyniodd yn ddiammheu, yr un bywiol-anadliad ysbrydoledig oddiwrth yr Hollalluog, a hithau hefyd a ddaeth yn enaid byw: Gen. ii. 21—24.

Y cyfryw yw yr hanes ysgrythyrol am greadigaeth y pâr dynol cyntaf. Yr oedd dyn yn greadigaeth newydd, wedi ei lunio o bridd y ddaear; ei enaid a grëwyd ac a anadlwyd iddo yn uniongyrchol; a Jehofah Elohim oedd creawdwr y ddau, y corff a'r enaid. All dim fod yn eglurach.

Yn awr, y mae yn hollol anmhosibl cyssoni yr hanes yn Genesis â'r ddamcaniaeth ddadblygiadol. Os ydyw y ddamcaniaeth ddadblygiadol yn wirionedd, y mae yr

hanes ysgrythyrol am ddechreuad dyn yn anwireddus; ond os ydyw yr hanes ysgrythyrol yn wirionedd, y mae y ddamcaniaeth ddadblygiadol yn anwireddus. Y mae y ddamcaniaeth ddadblygiadol yn agos fel hyn: mai o egin (*germs*) cyntaf bywyd cyfluniol (y rhai a addefa rhai o'r boneddwyr hyn, a gawsant greawdwr, tra mae ereill ohonynt yn gwadu i Dduw y rhan fechan hon yn nghreadigaeth bodolaeth anifeilig), y *dadblygwyd* yr holl ffurfiau ereill trwy weithrediadau naturiol, â pha rai nid oedd gan y Creawdwr ddim i wneuthur â hwynt; ac fod dyn yn ffrwyth y diweddaf o'r dadblygiadau hyn!!

Oken yn ei "Draethawd ar Fywydeg," *(Biology)* yw y golygiannydd (*speculator*) mwyaf beiddgar yn yr ysgol hon. Haera ef mai y llŷs (*mŭcus*) cynhenid, o'r hwn y crĕwyd pob peth cyfluniol yw llŷs y môr; a chynnyrchiad y llŷs hwn a briodola efe i weithrediad goleuni, yr hwn ar y cyntaf a wnaeth halen y môr, ac yna, a'i bywydolodd ef!

Dywed wrthym i'r ffurfiau cyfluniol boreuol, pa un bynag a'i planigion ynte anifeiliaid, ymgyfodi o ranau bâs y môr, ac fod dyn ei hun yn blentyn rhanau cynhes a bâs y môr, yn nghymmydogaeth y tir! Yn ol fel y dywed ef, *pen llysog* ydyw y cyfluniad cynhenid; y penau cyfluniol cyntaf ydynt chwysiglenau (*vesicles*); ni chrëir un cyfluniad o faintioli mwy nâ phen milithiol (*infusorial*); pa beth bynag sydd fwy, nid ei greu gafodd, eithr ei ddādblygu. Nid ei greu a gafodd dyn, eithr ei ddadblygu! Ychydig mae damcaniaeth Lamarck yn rhagori ar eiddo Oken, ac mae yr un naws gan draethawd ein henwog Charles Darwin ni, ar "Ddechreuad Rhywogaethau trwy Ddetholiad Naturiol; neu Gynnaliad Hiliogaethau Ffafredig yn yr ymdrech am Fywyd." Ymddengys y naturiaethwyr enwog hyn yn barod i dderbyn unrhyw ddamcaniaeth, pa mor afresymol bynag, pe gallant gael gwared o bresenoldeb yr Anfeidrol a'r Hollalluog oddiwrth weithredoedd Ei ddwylaw. Gyrer Duw allan o'i gyfanfyd, a gadawer i "Ddetholiad Naturiol" Darwin i lywodraethu yn Ei le!

*Mae y ddamcaniaeth hon mor afresymol, ac mor groes i ffaith* ag ydyw o groes i Ysgrythyr. Os ydym i farnu profiad y chwe mil blynyddau diweddaf, rhaid fod pob gradd wahanol o greaduriaid yn ddechreuol, yn greadigaeth new-

ydd. Canys yn ystod hanesiaeth Addâ-aidd (*Adamite*) y ddaear, ni wybuwyd erioed am y fath amgylchiad a dadblygiad un rhywogaeth i un arall; ni chanfyddwyd erioed chwaith yr ysgogiad lleiaf yn nghyfeiriad y fath ddadblygiad, nac hyd y nod *ogwyddiad* tuag at ysgogiad o'r fath. Mae rhywogaethau wedi diflanu, ac ereill yn meirw allan, ac yn y diwedd a ddiflanant; ond heriwn holl naturiaethwyr "dadblygiadol" y byd i gyfeirio at un engraifft yn yr hon oedd y rhith lleiaf o ogwyddiad tuag at eglureb o'u damcaniaeth. A ddichon Mr. Darwin ein hysbysu o engraifft am blanigyn wedi dyfod yn anifail, neu bysgodyn yn aderyn, neu aderyn yn fwystfil, neu wedi amlygu y gogwyddiad lleiaf tuag at hyny. A gafwyd erioed rhywogaeth neillduol mewn sefyllfa draws-symudol? A wybuwyd erioed am epa yn dyfod yn ddyn, neu a ymsuddodd dyn erioed i *level* epa? Yr oedd y llwythau ddarganfyddwyd gan Moffat yn nghanolbarth Affrica Ddeheuol, wedi suddo yn isel iawn, yr oeddynt wedi colli hyd y nod y meddylddrych o Dduw; ond yr oeddynt yn ddynion er hyny, a holl gynneddfau ein hiliogaeth, er yn nghudd ganddynt heb eu dystrywio, fel y mae ffrwyth llafur y cenadwr enwog hwnw yn profi yn eglur. Ni ddarfydd dynion a bod yn ddynion, er dyfned bynag yr ymsuddant; ac nid yw epâod a *gorillas* yn dyfod yn ddynion, ac ni ddangosant y gogwyddiad lleiaf tuag at hyny. Mae deddfau hanfodol a digyfnewid eu natur yn cau allan bosibilrwydd y fath gyfnewidiad. Mae *ffeithiau* hanesiaeth naturiol yn cadarnhau gwirioneddolrwydd yr hanes Ysgrythyrol, i'r amrywiol raddau o fodau cyfluniol sydd wedi, ac yn bodoli yn awr ar ein daear, gael eu creu gan Dduw. Y ffaith yw, (ac y mae un ffaith yn werth mil o ddamcaniaethau) y dichon rhywogaethau, er agosed bynag y perthynant i'w gilydd, gael eu croesi weithiau ,ond ni chynnyrchant byth hilogaeth *epiliog*.

Ond ebe y boneddwyr hyn, nid yw chwe mil o flynyddoedd yn gyfnod digon hir i gynnyrchu y cyfryw ddadblygiad; rhaid i ni fyned yn ol i'r oesau erfawr daearegol, &c., &c. Gorfodir Mr. Darwin, fodd bynag i addef fod yr hanes daearegol yn *farw yn erbyn ei ddamcaniaeth ef;* ond er hyny, yn lle gwrthod ei ddamcaniaeth afresymol ei hun, dywed fod yr hanes daearegol yn dra anmherffaith, a lled-

awgryma pe gallem ei gael mewn sefyllfa berffaith, diau y caffem ei fod yn gysson â'i dybiau ef!! Mae hon yn sicr yn ffordd rwydd i osod o'r neilldu ddiffoddyr (*extinguisher*) daearegol damcaniaeth y dadblygiad! Digon yw dywedyd nad oes genym un ammheuaeth pe gellid cael yr hanes daearegol yn ei *berffeithrwydd*, y gwnelai i dyb hoffus Mr. Darwin ymddangos yn llai fyth, ac yn fwy dirmygiedig nag y mae wedi wneuthur yn barod! Oblegid tystiolaetha daeareg nad oedd anifeiliaid boreuaf pob rhywogaeth yn rhai bychain, eithr gorfawr; fod y bywyd anifeilig yn ei holl ddosbarthiadau yn y cyfnod Addâ-aidd o ran maintioli, yn fychan, wrth ei gymharu â'r hyn ydoedd yn yr oesau daearegol boreuaf; ac nid yw yr anifeiliaid daearegol mewn gwirionedd, wedi ymddadblygu i ddim arall o gwbl, eithr wedi diflanu yn olynol, ac yn cael eu canlyn gan anifeiliaid ereill, y rhai a grëwyd trwy allu uniongyrchol y Creawdwr; a'r gweithrediad yn terfynu yn y ffurfiau a'r rhywogaethau newyddion a grëwyd yn amser cyflwyniad dyn ar chwareufwrdd ein daear. I derfynu gan hyny, yn ystod y chwe mil o flynyddoedd o hanes y ddaear, â'r hwn yr ydym yn hysbys, nid oes un rhywogaeth wedi ymddadblygu i un arall, nid ydym yn cael un yn awr chwaith mewn sefyllfa draws-symudol, tra mae pysgod, ymlusgiaid gorfawr, &c., yr oesau daearegol, yn lle lleihau ar y ddaear Addâ-aidd i faintioli mwy, wedi eu canlyn gan y creadigaethau bychain a welwn o'n hamgylch. Nis gallwch wneyd dyn mewn un modd trwy ddamcaniaeth y dadblygiad, rhaid i chwi gredu ynddo fel creadigaeth newydd.

Teimlwn beth awydd i wneyd ymddiheurad i'n darllenwyr, am dreulio cymmaint o amser gydâ y ddamcaniaeth inffidelaidd hon; ond Ow! Ow! y mae wedi rhwydo llawer meddwl anochelgar trwy ei *haerllugrwydd;* a phan y byddo un fel Darwin yn ysgrifenu yn amddiffynol iddi, mae yn bryd llefaru allan. I ni mae mor eglur â haul canol dydd, y rhaid fod dyn yn greadigaeth newydd, ac y rhaid ei fod wedi dechreu bodoli yn yr amser a nodir yn yr Ysgrythyr. Rhaid i ddyn gael ei greu yn ei sefyllfa gynwyddorol (*normal*), *mewn llawn ddefnyddiad o'i gynneddfau personol, a'i alluoedd cynnyrchiol.* Rhaid oedd fod pâr dynol cyntaf; os mai mewn sefyllfa fabanaidd y cynnyrch-

wyd hwy, pa fodd y daethant i fodolaeth, gan nad oedd ganddynt rhieni mewn cyflawn faintioli i'w cynnyrchu? A phwy a'u meithrinodd ac a'u hymgeleddodd? Mae dyn yn ei fabandod yn hynod ddinerth, a bydd farw yn fuan heb ofal rhieniol. Os daeth y pâr cyntaf o fodau dynol i fodolaeth fel babanod, rhaid eu bod wedi eu cynnyrchu heb rhieni, a chan hyny wedi meirw yn fuan! Rhaid fod y cyfryw ffurfiad yn *greadigaeth*, ac yn gyfryw a ddeuai yn *fethiannus* yn fuan! Ond os daeth y pâr dynol cyntaf i fodolaeth mewn llawn feddiant o'u holl gynneddfau, ac yn *alluog i ofalu am danynt eu hunain*, nis gallent fod wedi eu cynnyrchu trwy genedliad, canys y dybiaeth yw mai hwy oeddynt y cyntaf o'u rhyw. Nis gallent fod wedi eu cenedlu heb rhieni. Hefyd, nid yw bodau dynol a genedlir, byth yn cael eu geni yn alluog i ofalu am danynt eu hunain, eithr yn fabanod bychain, a dinerth. Eglur yw gan hyny, y rhaid fod y pâr dynol cyntaf wedi cael eu cynnyrchu trwy weithrediad cwbl wahanol i'r hwn y dygir dynion i fodolaeth yn awr; rhaid mai creadigaeth oedd y gweithrediad hwnw.

Mae yr un llinell ymresymiadol yn gymhwysiadol i'r holl dethogion (*mammalia*), a llawer o ddosbarthiadau ereill o anifeiliaid a ddygir i fod yn hollol ddinerth, a rhai ohonynt yn ddall Yn yr oll o'r achosion hyn, fel yn achos dyn, mae yn rhaid i'r pâr cyntaf gael eu creu yn nghryfder cyflawn eu galluoedd hunan-gadwriaethol, pe amgen darfuasai y rhywogaeth gydâ ei bod yn dechreu bodoli. Yr oedd dyn wedi ei greu felly, yn meddu corff, ysbryd neu fywyd anifeilaidd, ac enaid, neu egwyddor fywydol rhesymol, a chyfrifol: Thess. v. 23. Meddiannwyd ef â'r gallu o reswm, llafar, a rhydd-ewyllys, ac yr oedd gan hyny, yn gyfiawn gyfrifol i'w Wneuthurwr. Yn mhellach, crēwyd ef yn santaidd, heb yr ystaen lleiaf o lygredigaeth, a'i holl dueddiadau cynhenid o du daioni. "Gwnaeth Duw ddyn yn uniawn:" Preg. vii. 59. "Duw hefyd a ddywedodd, Gwnawn ddyn ar ein delw ni:" Gen. i. 26. Felly, yr oedd gan ddyn gyflawn allu i gadw ei berffeithrwydd, ac i barhau yn ffafr a bendith Duw; er, fel creaduriaid ereill, o angenrheidrwydd, yn gyfnewidiol ac yn agored i syrthio.

Wedi ei freintio a'r cynneddfau a'r galluoedd hyn, gos-

odwyd ef yn union ar gyfundrefn o lywodraeth foesol, a dechreuodd ar sefyllfa o brawf. Gwnaed cyfraith Duw yn hysbys iddo, trwy ddadguddiad uniongyrchol i'w gydwybod, a rhoddwyd prawf (*test*) priodol ac arwyddocâol o'i ddidwylledd a'i ufudd-dod, cymhwys i'w adgofio fod yn rhaid i'w chwenychiadau cnawdol gael eu cadw mewn attaledigaeth (*restraint*); nad oedd hon wedi ei bwriadu i fod ei sefyllfa derfynol; ac mai ewyllys Duw oedd i fod yn rheol arbenig ei ymarweddiad yn mhob peth: Gen. i. 16, 17. Nid oedd *symylrwydd* y prawf ond yn gwneuthur ei ufudd-dod yn hawddach, ac euogrwydd ei anufudd-dod yn helaethach. Rhaid i ni, fodd bynag, beidio tybied mai ymgadw oddiwrth ffrwyth pren neillduol yn unig oedd y cwbl, nac ychwaith y benaf o'r dyledswyddau ofynai Duw gan ein rhieni cyntaf. Math o arwydd "allanol a gweledig" yn unig ydoedd hon o ufudd-dod neu wrthwyneb eu calonau. Mae yn ddiammheu fod dyledswyddau uwchaf crefydd a moesau wedi eu gwneuthur yn hyspys i Adda, a'u bod yn cael eu hawlio oddiwrtho. Y pechod a gyflawnwyd wrth fwyta y ffrwyth gwaharddedig oedd yr un a orwedd wrth wraidd pob pechod, *gwrthrhyfel.* Yr oedd y weithred yn fechan ynddi ei hun, ond yr oedd yn arwyddocâol o sefyllfa *calon ofnadwy ddrwg*, canys yr oedd mewn effaith, yn fwriad ymaith iau yr Hollalluog. Yr oedd yn dirmygu Ei awdurdod, a chan hyny, yn teilyngu Ei felldith. Gwenwyn ffyrnig pob pechod, yw ei wrthwynebiad uniongyrchol i'r ewyllys a'r awdurdod Ddwyfol, ac yr oedd y gwenwyn hwn yn ymchwerwi yn nhrosedd cyntaf dyn.

## PENNOD II.

### PERTHYNAS GYFAMMODOL ADDA A'I OLAFIAID.

FOD Adda yn dal perthynas gyfammodol â'i holl olafiaid *(posterity)* sydd eglur yn athrawiaeth yr Ysgrythyr Santaidd. Dadleua Paul y pwynt hwn yn fanwl yn Rhuf. v. 12—21. "Dywed yno fod yr Adda cyntaf yn gysgod o'r Adda dyfodol" (túpos toũ méllontos) gan olygu yn ddiau, ei fod felly yn ei *benogaeth gyfammodol*, adn. 14. "Aeth marwolaeth ar bob dyn," yn herwydd ei hundeb ag Adda, *yn yr hwn y pechodd pawb* (eph ō pantes ēmarton) adn.

12. Yn herwydd ein cyssylltiad cyfammodol a'n tad cyntaf, y mae barn yn dyfod arnom i gondemniad a marwolaeth, "canys y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad" adn. 16; "trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad" adn. 18, a thrwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid" adn. 19. Mae yr un athrawiaeth yn cael ei chadarnhau yn 1 Cor. xv. 22. "Yn Adda y mae pawb yn meirw." "Fel y mae yr Adda daearol, felly y mae y rhai daearol hefyd:" adn. 48. "Dygasom ddelw y daearol:" adn. 49. Mae yr Adda cyntaf a'r Ail yn cael eu cymharu yn eu penogaethau gwahanol, ac yn y canlyniadau a ddeilliant o undeb a'r naill a'r llall ohonynt.

Yr oedd holl olafiaid Adda yn gyfammodol unedig ag ef; yr oeddynt felly, nid trwy drefniad penarglwyddiaethol Jehofah yn unig, ond trwy eu perthynas hanfodol ag Adda fel eu pen. Crēwyd yr Angelion oll trwy ddefnyddiad gallu dwyfol uniongyrchol. Nid wedi eu cenedlu y maent, oblegid nid ydynt yn "gwreicca nac yn gwra:" Matt. xxii. 30. Nid oedd y bodau angelaidd hyn gan hyny, yn dal perthynas gyfammodol ag un o'u hiliogaeth, eithr aethant trwy gyfnod eu prawf yn nghyd, etto ar wahan, rhai yn cadw eu dechreuad, ac ereill yn syrthio i bechod a cholledigaeth. Ond y mae dynion yn genedledig. Disgyna yr holl hil ddynol o un tad, yr hwn a genedlodd fab ar e "ddelw ei hun," fel y gwnaeth ei holl olafiaid ar ei ol ef. O natur yr achos, y mae yn rhaid fod a fyno pawb dynion ag ufudd-dod neu anufudd-dod Adda. Nid oedd Jehofah dan un rhwymedigaeth i greu y cyfryw hiliogaeth; ond wedi ei chreu, rhaid wrth reswm i egwyddorion ei chyfansoddiad gael eu heffaith. Yr oedd holl olafiaid Adda, gan hyny, trwy gynnrychiolaeth "ynddo ef" yn ystod ei brawf yn mharadwys.

Yr oedd y gyfraith a roddwyd i Adda yn ei achos ef, mewn rhinwedd yn *gyfammod*. Dywedai wrtho,—Gwna hyn, a byw fyddi; gwrthod hyn, a marw fyddi. Am hyny dywed y prophwyd Hosea, i Adda dori y cyfammod. "A'r rhai hyn (yr Israeliaid) fel ADDA (ke-addam) a dorasant y cyfammod:" vi. 7. Addawai y cyfammod hwn fywyd am ufudd-dod, a marwolaeth am anufudd-dod:

"Oblegid yn y dydd y bwyttâi di o hono, gan farw y byddi farw:" Gen. ii. 17. Yr oedd yn gyfammod *gweithredoedd:* ufudd-dod calonog a pharhaus dyn oedd yr unig ammod: Rhuf. x. 5.

Ac a'r cyfammod hwn a wnaed ag Adda, mae a fyno eu holl olafiaid ond yr Arglwydd Iesu, natur ddynol yr hwn ni chynnyrchwyd, trwy genedliad cyffredin. Yr oeddynt "YNDDO EF" fel eu pen cyfammodol, fel y profodd yr adnodau a ddyfynwyd yn barod (tud, 98).

Fod y trefniad hwn yn un cyfiawn, a ymddengys oddiwrth yr ystyriaethau canlynol:—

1. Yr oedd yn gysson â chyfansoddiad yr hil ddynol, y rhai ni allent lai nâ chael effeithio yn rymus arnynt gan ymddygiad eu cyndad mawr.

2. Llywodraethir y gymdeithas ddynol gan yr un egwyddor. Mae penteulu enwog bob amser yn cynnrychioli y teulu hwnw; a phe euog-fernid ef o deyrnfradwriaeth, gwaradwyddai ei hun a'i holl linach, gan beryglu attafaeliad (*confiscation*) yr etifeddiaethau trefdadol a dilëad yr urdd-enw teuluol.

3. Yr oedd Adda yn gynnrychiolydd cymhwys. Yr oedd ganddo gyflawn allu i sefyll. Yr oedd ei holl dueddiadau cynhenid o du cyfiawnder. Crëwyd ef ar ddelw foesol Duw; yr oedd heb ystaen, a phob cymhelliad ganddo i gadw ei berffeithrwydd.

4. Canys yr oedd y ffaith o'i berthynas gyfammodol â'i olafiaid yn gwneuthur y cymhellion i ufudd-dod yn gryfach fyth. Gwnai gwybodaeth o'r trefniad trwy yr hwn y crogwyd y fath gyflesion (*interests*) gorfawr wrth ei barhad yn llwybrau cyfiawnder, ei syrthiad yn anhawddach, a thebygolion ei sefydlogrwydd gymmaint a hyny yn fwy. Dangosai y prawf, am hyny, nodweddion mwy ffafriol i'n cyflesion. Yn sicr, ni wnaethem ni yn well—pob un yn gweithredu yn ei gylch ei hun.

5. Pe safasai Adda yn gadarn yn ei ufudd-dod i Dduw, buasem ni wedi medi y lles.

6. Hefyd, *mae pob dyn wedi cadarnhau pechod Adda trwy ei ewyllysiau (volitions) ei hun.* Y mae, wedi cymmeradwyo ymddygiad Adda drachefn a thrachefn, trwy ei efelychu. Mae wedi dyfod yn blaid gydsyniol i'r camwedd,

ac felly, yn ol egwyddor gyfreithiol wir adnabyddus, wedi gwneuthur ei hun yn *particeps criminis*, (yn gyfranogwr o'r camwedd, Cyf). Pa ddyn bynag a gydsynio o'i galon â gweithred ddrwg, mae yn ngolwg y gyfraith, yn euog o'r weithred hono; ond yr ydym ni oll wedi cydsynio o'n calon a chamwedd Adda, a chan hyny, yn euog ohono ger bron Duw; ac nid oes neb yn golledig, ond y rhai hyny o'u rhydd-ewyllys a gydsyniant â chamwedd Adda, trwy ei gyflawnu mewn effaith, yn eu hymddygiad. Mae yr holl fabanod ydynt yn meirw yn fabanod, yn cael eu derbyn i'r nefoedd trwy rinwedd cyfrwngwriaeth yr Ail Adda. Felly nid oes un yn golledig mewn gwirionedd, (*de facto*), am bechod Adda, ond oblegid ei gadarnhad personol o'r pechod hwnw yn ei fywyd ei hun. Nid yw y rhai hyny o'r hil ddynol ydynt yn meirw cyn eu bod yn alluog i'r cyfryw gadarnhad, yn golledig, eithr yn gadwedig, trwy ein Gwaredwr gogoneddus. Y mae yn gabldraeth ar y llywodraeth ddwyfol, o ganlyniad, i ddywedyd y bydd i unrhyw ddyn gael ei gollfarnu ger bron brawdle y farn ddiweddaf am bechod nad oedd ganddo un rhan ynddo.

## PENNOD III.

### CWYMP DYN.

PECHODD Adda, a syrthiodd felly o'i ddiniweidrwydd, ei ogoniant, a'i wynfydedigrwydd cyntefig. *Gwirioneddolrwydd* y cwymp, ni ddichon un dyn sydd yn credu y Beibl, ei wadu. Dichon i'r ffaith gael ei hegluro yn wahanol gan dduwinyddion, ond rhaid i bawb credinwyr mewn dadguddiad addef ei bod yn ffaith.

I. CAWN SYLWI AR EI EFFEITHIAU AR ADDA.

1. Yr effaith gyntaf ydoedd *dinystrio diniweidrwydd cymmeriad Adda*. Caniatâodd i'w galon ddyfod yn llygredig; yr oedd wedi torri allan i wrthryfel agored yn erbyn ei Wneuthurwr; ac wedi beiddio Ei anfoddlonrwydd a'i felldith. Nid oedd bwyta y ffrwyth gwaharddedig yn unig, ond esgyneb (*climax*) y gweithrediad truenus hwn. Yr oedd dyn wedi dyfod yn bechadur; wedi difwyno delw Duw; wedi rhwygo ymaith arwyddnodau presenoldeb ei Wneuthurwr, ac wedi ei fwrw allan o'i enaid. Yr oedd

wedi suddo i "farwolaeth mewn camweddau a phechodau;" ac o'r farwolaeth hon rhoddodd yn fuan brawf echrydus; yn nghyntaf, trwy ffoi rhag presenoldeb ei Wneuthurwr; ac yn ail, trwy gynnygiad calon-galed i osod ei bechod wrth ddrws Duw: Gen. iii. 12. "Y wraig *a roddaist gydâ mi*, hi a roddodd i mi o'r pren, a mi a fwyttëais." Mae colyn yr atebiad hwn yn y geiriau, "a roddaist gyda mi." Ymgais ydoedd i osod y cyfrifoldeb ar ragluniaeth Duw. Nid oedd dim yn debyg i edifeirwch yn y geiriau hyn, ond y gwrthwyneb. Yr oedd dyn wedi dyfod yn wrthryfelwr hunan-gyfiawnhaol, a Duw-gyhuddol cyhoeddus! Ac felly y parhaodd hyd nes y clywodd am drugaredd ddwyfol trwy had addawedig y wraig.

2. *Gwnaeth y cwymp gyfiawnhad Adda trwy ddeddf o hyny allan yn anmhosibl.* Canys yr oedd wedi tori y ddeddf, ac ni ddichon deddf, wedi ei thori unwaith, byth gyfiawnhau. Y diniwed yn unig all deddf rhyddhau,—rhaid iddi gollfarnu yr euog. Ni wyr deddf ddim am drugaredd; eu hunig ammod o gymmeradwyaeth yw perffaith ufudd-dod; a hyn raid iddi gael, naill ai gan y person ei hun, neu ynte ddirprwywr derbyniedig yn ei le. Felly, "mae yr hwn a ballo mewn un pwnc yn euog o'r cwbl;" h.y., mae ei gyfiawnhad trwy y ddeddf mor anmhosibl â phe wedi tori yr oll ohoni. Nid y bydd i bawb troseddwyr gael eu cospi yn gyfartal, yn annibynol ar echryslonrwydd eu pechodau, canys dysga yr ysgrythyrau y bydd i ad-daledigaethau y byd arall gael eu trefnu yn ol maint yr euogrwydd personol fydd dyn wedi ddwyn arno yn hwn. Ond ni ddichon deddf wedi ei thori, fyth gyfiawnhau y dyn fyddo wedi ei dianrhydeddu, ar sail ei weithredoedd ei hun. O hyny allan rhaid iddo sefyll yn gollfarnedig, fel Adda; y mynyd y gwrthryfelodd yn erbyn Duw, yr oedd mewn sefyllfa farnedigol.

3. Achlysurodd pechod Adda ei *esgymundod o bob dyfodfa at bren y bywyd, a gadawodd ei gorff felly i ddadfeiliad graddol a marwolaeth.* Yr oedd pren y bywyd y peth a arddengys ei enw. Meddiannai rinweddau rhyfeddol, a wrthweithient yn effeithiol dueddiad corff Adda i ddadfeiliad. Ni fuasai farw, cyhyd ag y cawsai fwyta o'i ffrwyth. "Pren y bywyd yn nghanol yr ardd"

ydoedd: Gen. ii 9. Am hyny, wedi cwymp dyn, dywedodd Duw, "Ac weithian rhag iddo estyn ei law, a chymmeryd hefyd o bren y bywyd, a bwyta, a BYW YN DRAGWYDDOL: am hyny yr Arglwydd Dduw a'i hanfonodd ef allan"—"A gosododd gerubiaid, a chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd:" Gen. iii. 22—24. Wedi bwriad dyn allan oddiwrth bren y bywyd, dangosodd ei gorff, fel cyrff cyfluniol ereill, dueddiad i ddadgyfansoddiad, a chan na wrthweithid ef mwyach, terfynodd o'r diwedd mewn marwolaeth. *Dechreuodd marwolaeth, gan hyny, o ddyddiad ei alltudiaeth oddiwrth bren y bywyd;* ac megis y cyhoeddwyd y gollfarn ar ddydd y troseddiad, felly hefyd y cyflawnwyd mewn effaith y bygythiad—"Yn y dydd y bwyttai di o hono, gan farw y byddi farw." A'r eglurhad hwn y cytuna gweledigaeth pren y bywyd, "dail yr hwn oedd yn iachau y cenedloedd:" Dad. xxii. 2. Y mae Crist i ni, yn yr ystyr foesol uchelaf, yr hyn oedd pren y bywyd i gyfansoddiad dynol Adda; a bydd mwynhad bythol o gariad y Gwaredwr i ni yn sicrwydd parhaus na phalla ein gwynfydedigrwydd tragywyddol. Y mae dadguddiad yn dechreu gydag esgymundod dyn oddiwrth bren y bywyd yn Eden, ond mae yn diweddu gyda gweledigaeth ardderchog o ddyfodfa dragywyddol yr eglwys at "bren y bywyd" rhagorach—Ceidwad gorseddedig a gogoneddedig. Pa fodd y gweithredai pren y bywyd i wneuthur corff Adda yn annhreiddiadwy i ddadfeiliad, ni ddywedir wrthym; a lle mae yr ysgrythyr yn ddystaw, ofer yw golygiannu.

4. Gwnaeth pechod Adda ef yn *agored i felldith marwolaeth dragywyddol.* Mae cospedigaeth pechod yn estynedig i'r holl ddyn:—yn cynnwys dinystr corff ac enaid. Nis gall wneuthur yn amgen. Dystrywiodd gwrthgiliad Adda ei gydymdeimlad moesol â Duw, a gwnaeth ef yn ystyfnig a gwrthryfelgar mewn ysbryd: Gen. iii. 12. Yr oedd o'i wirfodd gan hyny, wedi annghymhwyso ei hun i fywyd tragywyddol o bresenoldeb Jehofah yn y nefoedd, ac wedi dyfod yn agored i boenau y farwolaeth ddiddiwedd, yr ail farwolaeth, o'r hon nid yw y "prif yn marw na'r tân yn diffodd." Yr oedd wedi dyfod yn "blentyn digofaint!" Dechreuodd pechod deyrnasu ynddo, a phe heb

ei attal gan drugaredd ddwyfol, rhaid y buasai wedi teyrnasu i farwolaeth dragywyddol. Arwyddluniwyd hyn oll gan y cleddyf tanllyd, a dorodd ymaith y "ffordd at bren y bywyd."

Y cyfryw oeddynt effeithiau pechod Adda arno ei hun.

II. Deuwn yn awr at agwedd fwy dyrys i'r pwnc,— EFFEITHIAU PECHOD ADDA AR EI OLAFIAID. Wrth draethu ar y pwnc dwfn hwn, cyfyngwn ein hunain yn gaeth i'r dystiolaeth ysgrythyrol, gan osgoi pob golygiannaeth lle nad yw Duw wedi llefaru. Ymddengys tyb Mr. Hinton, fod cyfammod Eden *wedi ei diddymu* can gynted ag y pechodd dyn, trwy ddygiad i mewn elfen newydd, i ni yn groes i reswm ac Ysgrythyr. Ymddengys yn *ddireswm* i dybied y dylasai y cyfammod hwn ddarfod, a phenderfynu can gynted ag y cyfododd yr angenrheidrwydd am gario allan ei ragammodau, pa un ai yn y ffordd o roddiad ei fendithion addawedig, neu ynte yn nghyflawniad ei fygythion ofnadwy. Paham y gwnaed cyfammod *o gwbl*, os ydoedd i'w ddiddymu pan y cymmerai ryw effaith ymarferol, yn y ffordd o fendith neu gospedigaeth? Mae yn eglur hefyd fod y meddylddrych o ddiddymiad cyfammod Eden yn union gyda chwymp Adda, yn *groes i iaith yr Ysgrythyr*, yr hon a esyd allan yr hil ddynol fel yn ochain yn awr dan ganlyniadau cospedigaethol pechod eu pen. (Gwel y bennod flaenorol ar Berthynas Gyfammodol Adda a'i Olafiaid). Y cyfammod, o dan yr hwn y cyflawnwyd y camwedd hwnw a raid fod yn sefyll etto, pe amgen, ni fyddai *canlyniadau* echrydus y camwedd hwnw yn aros.

Yr ydym yn hollol barod i ganiatau, i *elfen newydd o drugaredd gael ei dwyn i mewn* can gynted ag y gwnaed yr addewid gyntaf o had y wraig; ac i olafiaid Adda o'r eiliad hwnw gael drws agored o ddiangfa o'u blaen rhag canlyniadau cospedigaethol cwymp eu tad cyntaf, fel os *colledig fyddant, bydd hyny yn herwydd eu hesgeulusdod gwirfoddol eu hunain o drefniant apwyntiedig iachawdwriaeth*. Ond y mae parhad penogaeth gyfammodol Adda yn hollol gydweddol â bodolaeth yr oruchwyliaeth newydd hon. Mae y ddwy yn gydamserol, a'r ddwy mewn grym. Trwy ein hundeb ag Adda, yr ydym wedi ein geni mewn

pechod, a'n llunio mewn anwiredd, ac yn marw oll; tra yr ydym trwy ffydd yn Iesu yn ymsymud o "farwolaeth i fywyd." "Canys os trwy gamwedd un y bu feirw *y llawer* (oí polloi, holl olafiaid Adda), mwy o lawer yr amlhâodd gras Duw. a'r dawn trwy ras yr un dyn Iesu Grist i laweroedd:" (eìs toùs polloùs, Rhuf. v. 15). "Lle yr amlhâodd pechod, y rhagor–amlhâodd gras: Fel megis y teyrnasodd pechod i farwolaeth, felly hefyd y teyrnasai gras trwy gyfiawnder i fywyd tragywyddol trwy Iesu Grist ein Harglwydd:" Rhuf. v. 20, 21.

1. *Trwy bechod Adda gwnaed ei holl olafiaid yn bechaduriaid, felly trwy ufudd-dod Crist, gwneir pawb a berthynant iddo Ef trwy ffydd, yn gyfiawn:* Rhuf. v. 19. Pechodd pawb yn Adda, "Canys y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad." "Trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad:" adn. 12, 16, 18. Ni ddichon dim fod yn "eglurach a mwy uniongyrchol," nâ thystiolaeth yr adnodau hyn. Gwingwn ni a fynwn dan yr anhawsdra, dyna fe; mae holl olafiaid Adda wedi eu gwneuthur yn bechaduriaid trwy anufudd-dod eu cyndad mawr, fel ag y gwneir pawb credinwyr trwy ufudd-dod Crist, yn gyfiawn. Mae disgynyddion Adda yn dyoddef oddiwrth bechod Adda mor wirioneddol â phe buasent wedi ei gyflawnu ef eu hunain. Condemniwyd ni ynddo Ef. Pan bechodd ef (yn herwydd yr undeb cyfammodol a fodolai rhyngddo ef a ni), daeth barn arnom *ni* i gondemniad. Felly y dywed y Gair digelwyddog, ac i'w ddadguddiedigaethau, bydded i ni ymostwng.

2, *Trwy bechod Adda, genir ei holl olafiaid i'r byd yn amddifad o gyfiawnder cynhenid.* Cenedlodd Adda feibion a merched ar ei "lun a'i ddelw ei hun." Wedi colli delw foesol Duw, nis gallasai ei throsglwyddo i'w blant. Gan hyny mae dynion yn cael eu geni i'r byd yn amddifad o'r purdeb feddiannai Adda pan grëwyd ef. Y dyn cyntaf a anwyd trwy genedliad naturiol oedd *lofrudd*, yr hyn a brawf fod cyfiawnder cynhenid wedi ei golli yn uniongyrchol a llwyr. Yr oedd rhyw beth yn ddaroganol yn y ffaith fod y farwolaeth ddynol gyntaf yn llofruddiaeth. Ymddangosai fod yn rhagddywedyd, mai dyn yn wastad fyddai lleiddiad mawr dyn.

Cyfarfyddir â ni yma gan gwestiwn difrifol iawn, a rhaid i ni wneyd sylw ohono, sef *dechreuad eneidiau.* Gofynir yn aml, A yw eneidiau dynol yn cael eu *creu* trwy allu dwyfol uniongyrchol, a'u gosod yn y corff? Neu ynte, a ydynt yn cael eu *cynnyrchu* yr un modd â'r corff? Pe gallem fabwysiadu yr olaf, torai ddyrys-glwm ein anhawsder. Mewn amddiffyniad i'r ddamcaniaeth hon, dywedir fod yr holl greaduriaid cyfluniol (*organized beings*) yn mhob achos arall, yn cynnyrchu eu rhyw mewn cyfanrwydd (*entirety*) :—yr hedyn yn cynnyrchu planhigyn perffaith; yr ŵy, aderyn perffaith; y gronell, bysgodyn perffaith; y llew, lew perffaith; a phaham na ddylai dyn hefyd, gynnyrchu ei ryw mewn cyfanrwydd? Ond yr enaid mewn gwirionedd yw *y dyn*, a phaham na chynnyrchid *ef* yn yr un modd, a'r un amser, â'r corff?

Mae grym yn y ddadl hon oddiwrth y cyfatebiad sydd rhwng creaduriaid cyfluniol ereill; ond yr oll y mae yn gyrhaedd yw *tebygolrwydd cryf.* Os oes tystiolaeth *bendant* o'r tu arall yn yr Ysgrythyrau Santaidd, ni ellid syflyd y cyfryw dystiolaeth, gan unrhyw gyfatebiad a gymmerir oddiwrth gynnyrchiad creaduriaid israddol i ddyn. Mae yr adnodau canlynol yn cael eu dyfynu yn gyffredin i brofi dechreuad dwyfol eneidiau dynol: "Jehofah sydd * * * yn llunio ysbryd dyn ynddo." "O Dduw, Duw ysbrydion pob cnawd." "Dychwel yr ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef." "Yr ysbryd a ballai o'm blaen i, a'r eneidiau a wnaethum i." Efe yw "Tad yr ysbrydoedd." "Rhoddodd anadl i'r bobl arni, ac ysbryd i'r rhai a rodiant ynddi:" Zech. xii. 1; Num. xvi. 22, a xxvii. 16; Preg. xii. 7; Esa. lvii. 16; Heb. xii. 9; Esa. xlii. 5.

Yn awr, a dywedyd y lleiaf, mae yr adnodau hyn yn priodoli i Jehofah ran *neillduol* yn nghynnyrchiad eneidiau dynol, cyfryngiad mwy uniongyrchol nâ'r un a berthyna i ffurfiad y corff; ac ymddengys hyn i ni yn gyfartal i briodoliad creadigaeth pawb eneidiau i Dduw.

Ond cyfrif am lygredigaeth eneidiau dynol, yn gysson â santeiddrwydd a daioni dwyfol yw yr ymofyniad sydd i'w ateb. Gwneir hyn mewn tair ffordd.

*Yn nghyntaf:* Trwy y dybiaeth nad yw eneidiau yn

cael eu creu gan Dduw yn wirioneddol lygredig, ond yn *unig heb un tueddiad moesol pa bynag er da nac er drwg.*

*Yn ail:* Trwy y ffaith fod yr enaid yn cael ei lygredigaeth oddiwrth y corff llygredig yn yr hwn y mae wedi ei osod.

*Yn drydydd:* Trwy gyfeiriad at y rhesymau blaenorol ar y cyssylltiad hanfodol rhwng Adda a'i olafiaid.

Diau fod gan y corff ddylanwad rhyfeddol ar y meddwl. Yr ydym yn bersonol ymwybodol o hyn; ac mae ein profiad dyddiol yn ei brofi. Ac amlwg iawn hefyd yw, fod yr Ysgrythyrau yn llefaru yn fynych am "*gorff* y farwolaeth hon," corff pechodau y cnawd," "gweithredoedd y corff," "corff pechod:" Rhuf. vii. 24; Col. ii. 11; Rhuf. viii. 13, a vi. 6. Yn yr un modd gelwir pechod yn fynych "*y cnawd,*" a dywedir weithiau fod pechod yn trigo yn neillduol yn y cnawd, h. y., mae yr enaid yn cael ei lygru wrth ei fod yn trigo mewn pabell mor lygredig. "Yr wyf fi fy hun a'r meddwl yn gwasanaethu cyfraith Duw, ond a'r cnawd cyfraith pechod." Yr oedd y "ddeddf yn wan trwy y cnawd;" "cnawd pechadurus;" "chwantau y cnawd." "Mae y cnawd yn chwenychu yn erbyn yr ysbryd." "Nid oes yn fy nghnawd i ddim da yn trigo:" Rhuf. vii. 25; viii. 3; xiii. 14; Gal. v. 17; Rhuf. vii. 18. Ac felly mewn lluaws o adnodau ereill. Dadleuir gan hyny, fod y corff neu y cnawd, ydym yn gael oddiwrth Adda, yn llygru yr enaid osodir ynddo gan Dad yr Ysbrydoedd; â'r Ysgrythyrau ger ein bron, y mae yn rhaid i ni gredu hyn.

Dichon yr eglurhad hwn, fodd bynag, awgrymu cwestiwn dyfnach etto. Paham y dewisodd Duw greu hiliogaeth o'r natur hyn; a phaham y goddefa i'r eneidiau a lunia heb unrhyw ystaen gwirioneddol, i gael eu llygru trwy eu gosod mewn cyrff llygredig—hiliogaeth penaeth syrthiedig?

Mae cwestiynau o'r fath i'n tyb ni, yn annuwiol a chableddus. Digon i ni yw gwybod nad yw Duw yn achosydd drygedd moesol yn neb o'i greaduriaid. Yn mhresenoldeb y dirgelwch echrys hwnw—caniatâd pechod, cofiwn fodd bynag fod cwestiwn arall, pellach, yn cael ei gynnwys, h.y., Pa un a oedd UNRHYW lywodraeth foesol, neu lywodraeth drwy gymhellion a deddfau i fod yn y

cyfanfyd; ac o bellaf (*ultimately*), PA UN A OEDD UNRHYW FOD RHESYMOL ARALL I FOD HEBLAW DUW? Canys os oedd bodau rhesymol i gael eu *llunio*, rheidiol oedd iddynt gael eu llywodraethu yn gydweddol â rhyddid eu natur; ac os oeddynt i gael eu *profi*, rhaid oedd eu gadael at eu dewisiad i ufuddhau neu anufuddhau, amgen ni fuasai eu prawf ond ffug. Felly mewn effaith, y cwestiwn i'w benderfynu oedd, pa un a grëai Duw fodau cyfrifol o gwbl.

Mewn perthynas i'r anhawsderau cyssylltiedig a'r canlyniadau a briodola yr ysgrythyrau i bechod Adda, rhaid i'r *Deist* addef fod lluaws o anhawsderau cyffelyb yn "nghyfundrefn natur;" oblegid y ffaith yw, fod rhieni yn dylanwadu ar eu plant er da neu er drwg, yn annibynol ar unrhyw ewyllysiad o'r eiddynt hwy. Genir plant y meddwyn sefydlog, yn gyffredin, â chyrff afiachus, meddyliau egwan, ac â *thueddiadau cryfion at ddrygau eu rhieni*. Mae yr un peth yn wir am blant y trythyllwr a'r anllad-ddyn. Cynnifer o ddynion sydd yn chwilfriwio eu cyfansoddiadau yn eu hieuenctyd, a phan yn mhellach yn mlaen mewn bywyd, y sobreiddiant ac y priodant, deuant yn dadau plant tlodion, eiddil, a nychlyd, yn natur pa rai y gellir gweled o'u genedigaeth nodau gludiog drygioni eithafol eu rhieni! *Ymwelir* â'r plant ag anwiredd eu rhieni, er cymmaint y dirmyg ddichon athronwyr dywallt ar athrawiaeth pechod gwreiddiol! Ac mae y ffeithiau hyn yn gymmaint o anhawsderau i'r celfyddwr ag ydynt i'r duwinydd.

3. *Mae y corff a'r enaid dynol yn gwbl lygredig.* Llefara yr ysgrythyrau am bob cynneddf fel wedi ei llygru.

"Y GALON sydd fwy ei thwyll nâ dim, a drwg diobaith ydyw:" Jer. xvii. 9; h.y., mae calon gyffredinol dyn yn naturiol felly. Hawlia y gyfraith iddo "garu yr Arglwydd ei Dduw â'i holl galon, enaid, a meddwl:" Marc xii. 30; ond "syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw:" Rhuf. viii. 7. Y mae yn "caru y tywyllwch yn fwy nâ'r goleuni:" Ioan iii. 19. Felly, mae y galon ddynol yn hollol ddrwg. "Dyoddefodd ein natur foesol niwed trwy gamwedd Adda. Daeth yr hiliogaeth yn ngolwg Duw yn chwannog i bechu; yr oedd ynddi o hyny allan dueddiad

i ddrygioni, ffaith a osodais allan trwy yr ymadrodd cyfystyr, '*llygredd moesol.*'" (*Hinton's Moderate Calvinism, tud.* 18).

Mae y DEALL wedi ei dywyllu, fel nad yw y "dyn anianol yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw: canys ffolineb ydynt ganddo ef, ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Mae "duw y byd hwn wedi dallu meddyliau y rhai digred:" 1 Cor. ii. 14; 2 Cor. iv 4.

Mae y MEDDYLFRYD hefyd wedi ei lygru. Mae "holl fwriad meddylfryd calon dyn yn unig yn ddrygionus bob amser:" Gen. vi. 5. Ac mae y farn echrys hon am gyflwr moesol dyn mewn sylwedd, wedi cael ei hail-adrodd *wedi* y diluw, fel hyn, "Oherwydd fod bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctyd:" Gen. viii. 21; yr hyn a brawf yn eglur na ddarfu i ddyfroedd y diluw olchi ymaith lygredigaeth y natur ddynol.

Mae y GYDWYBOD wedi ei halogi. "I'r rhai halogedig a'r diffydd, nid pur dim, eithr halogedig yw hyd y nod eu meddwl a'u cydwybod hwy:" Tit. i. 15. "Y mae angen arnom gan hyny i gael ein calonau wedi eu glanhau oddi wrth gydwybod ddrwg:" Heb. x. 22

Mae y COF yn rhyfeddol o afaelgar o'r hyn sydd anmhur; eithr o annghofus o'r hyn sydd dda. "Annghofia dyn yr Arglwydd ei wnethurwr;" Esa. li. 13. "Deallwch hyn yn awr, y rhai ydych yn annghofio Duw," canys "Y rhai drygionus a ymchwelant i uffern; a'r holl genhedloedd a anghofiant Dduw:" Salm l. 22, a ix. 17.

Mae yr EWYLLYS wedi ei llygru, fel y mae yn dewis yr hyn sydd ddrwg, ac yn gwrthod yr hyn sydd yn ysbrydol dda. Felly, iaith calon dyn wrth Grist yw, "Ni fynnwn ni hwn i deyrnasu arnom." Am hyny y ceryddodd ein Harglwydd annghredinwyr Ei ddydd, "Ond ni fynnwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd:" Ioan v. 40. Ond, "Gwae y rhai a ddywedant am y drwg, Da yw; ac am y da, Drwg yw; gan osod tywyllwch am oleuni, a goleuni am dywyllwch; y rhai a osodant chwerw am felus, a melus am chwerw:" Esa. v. 20.

Felly mae dyn yn naturiol wrthwynebol i ddaioni, a thueddol i ddrygioni. Mae ei natur, heb ras penarglwyddiaethol, yn wreiddiol ac anadferadwy lygredig. Dyma y

rheswm am eiriau sobr ein Haglwydd, "Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddi eithr i'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd, ei dynnu ef:" Ioan vi. 44.

4. *Mewn canlyniad i lygredigaeth y natur ddynol, a ddygwyd i mewn trwy gwymp Adda, y mae pawb dynion yn awr yn farwol.* Mor bell ag y perthyn i ddyn, marwolaeth yw y canlyniad o bechod. Darfu i'r rhywogaethau o anifeiliaid daearegol (*Geological Animals*) fyw, a marw, a diflanu ymaith oesoedd cyn bodolaeth dyn. Cyfynga yr Ysgrythyrau effeithiau marwol pechod Adda i olafiaid Adda. "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob DYN:" Rhuf. v. 12. Cyfeirir at yr un pwnc yn y bymthegfed bennod o 1 Cor.; traetha am farwoldeb *dynion* yn Adda, a'u hadgyfodiad trwy yr Ail Adda, yr Arglwydd o'r nef. Ni chynnwys yr Ysgrythyrau ddim yn wrthwynebol i ffeithiau diammheuol daeareg, er fod inffideliaid, y rhai nid ydynt wedi deall nac ysgrythyr na daeareg, wedi ymdrechu eu gosod i ymfyddino y naill yn erbyn y llall. Mewn *ffugyr barddonol hyf* yn unig, y mae yr Apostol yn gosod allan y greadigaeth fel "wedi ei darostwng i oferedd" trwy bechod Adda: Rhuf. viii. 20. Dywedir yno yn gyffelybiaethol, fod y greadigaeth allanol yn cydymdeimlo â dyn yn y caethiwed i'r hwn y darostyngodd y cwymp ef, (adn. 22), ac yn awyddu i gyfranogi yn ngorwycheddau ei brynedigaeth derfynol, (adn. 21), fel yn arlun ysblenydd y Salmau, lle y dywedir, "Cured y llifeiriaint eu dwylaw, a chydganed y mynyddoedd o flaen yr Arglwydd: canys y mae yn dyfod i farnu y ddaear:" xcviii. 8, 9.

## PENNOD IV.

### CYFRIFOLDEB DYN.

NID yw y cwymp wedi dinystrio cyfrifoldeb dyn. Y mae yn wirionedd cyffredinol etto y bydd i "bob un o honom drosto ei hun, roddi cyfrif i Dduw," ac y bydd yn rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist, fel y derbynio pob un ohonom y pethau a wnaethpwyd yn y corph yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg:"

Rhuf xiv. 12; 2 Cor. v. 10. Mae athrawiaeth cyfrifoldeb dynol yn sylfaenol yn y dadguddiad Cristionogol; heb hyny, ni allai fod dim pechod, a phe dim pechod, yna dim condemniad, ac o ganlyniad, dim angen am Waredwr. Ni allai dynion fod yn euog pe na fuasent yn gyfrifol, a phe na fuasent yn euog, ni fuasai arnynt angen "y gwaed sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod." Mae yr holl gyfundrefn o lywodraeth trwy ddeddfau, addewidion, a bygythion, a'r holl drefniant o iachawdwriaeth, trwy ufudddod a marwolaeth ddirprwyol dirprwywyr, yn awgrymu cyfrifoldeb dyn. Cyfrifoldeb dynol yw y casgliad rhesymegol oddiwrth ddeddf ac efengyl.

Dyledswydd dyn etto, yw gwneuthur pa beth bynag a ofyna Duw ganddo; pa mor anhueddol bynag y dichon efe fod i wneuthur hyny. Nid yw y ffaith ei fod wedi llygru ei natur, a halogi ei ffyrdd, yn ei ryddhau oddiwrth ei rwymedigaethau moesol. Parhâ ei gyfrifoldeb etto am y rhesymau canlynol:—

1. *Mae dyn etto yn meddiannu ei holl gynneddfau meddyliol.* Nid yw y cwymp, er wedi rhoddi *cam dueddiad moesol* i'w alluoedd deallol, wedi eu dystrywio. Mae dyn etto yn meddu holl briodoleddau gweithredydd deallol; apēlia yr ysgrythyrau am hyny at ei reswm a'i galon. "Deuwch yr awr hon ac ymresymwn." "Paham tŷ Israel y byddwch feirw?" "A ni gan hyny, yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion." Ymresymodd Paul gerbron Felix a Drusila (dau gymmeriad llygredig) am gyfiawnder a dirwest a'r farn a fydd:" Esa. i. 18; Esec. xviii. 31, a xxxiii. 11; 2 Cor. v. 11; Act. xxiv. 25.

2. *Mae dyn etto yn rydd-ewyllysiwr.* Nid yw dan un orfodaeth i bechu. Pan y mae yn pechu y mae yn gwneuthur fel y mae yn dewis, ac yn dilyn gogwyddiad ei dueddiadau eu hun yn unig. Mae yn amlwg, lle dechreua gorfodaeth bur, fod cyfrifoldeb yn terfynu. Nid yw yr hwn a orfodir i wneuthur peth drwg, gan allu na fyddo yn bosibl iddo o natur yr achos ei drechu, i'w feio yn hwy. Er engrhaifft, pe gafaelau dyn cryfach na fy hunan ynof y pryd hwn, a gorfodi fy llaw anewyllysgar i ysgrifenu cableddau yn erbyn fy Arglwydd, a'm calon yn ffieiddio y syn—

iadau a ysgrifenid, amlwg yw mai ei eiddo ef fyddai yr ysgrifeniad, nid yr eiddo fi. Ond ni osodir y fath orfodaeth ar ddyn, hyd y nod yn ei sefyllfa syrthiedig. Canys dewisa o hono ei hun, angau yn nghyfeiliornad ei ffyrdd.

Mae y ddadl o barthed i *rhyddid yr ewyllys* fel cynneddf neillduol wedi ein taraw yn wastad fel un sydd yn fwy o ddadl arddansoddol nag o un dduwinyddol. Mae i ymwneyd â pherthynas un gynneddf a'r llall, yn hytrach nag â pherthynas y cwbl â llywodraeth foesol Duw. Mae yr Ysgrythyrau bob amser yn annerch DYN fel rhydd-ewyllysiwr; ond mae y rhyddid ewyllys y dadleua duwinyddion Arminaidd drosto yn ffolineb. Darfu i Jonathan Edwards, "y mwyaf o feibion dynion," fel yr arferai Robert Hall ei alw ef, rwygo y dyb hono yn ddarnau ys lawer dydd. Mae dyn yn rhydd i ddilyn gogwyddiad ei dueddiadau ei hun, ond, a'i natur wedi ei chyfansoddi fel y mae, sicr ydyw y bydd i'w ewyllys yn wastadol ddewis yr hyn fyddo iddi hi y daioni mwyaf tebygol; a llygredig a syrthiedig fel y mae ei natur, mae yr un mor sicr yr ymddengys hunanfoddiant (*self-indulgence*) iddi yn wastadol yn fwy o ddaioni na hunanymwadiad: ac am hyny, cyhyd ag y gadewir dyn iddo ei hun, efe a ddewisa yn rhwydd, angau yn hytrach na bywyd, a'r byd o flaen Crist. "A newidia yr Ethiopiad ei groen, neu y llewpart ei frychni? felly chwithau, a ellwch wneuthur da, y rhai a gynnefinwyd â gwneuthur drwg:" Jer. xiii. 23. Mae yn bryd fod duwinyddion wedi gadael pob dadleuon o barthed i rhyddid yr ewyllys fel *cynneddf neillduol*, i'r arddansoddwyr (*metaphysicians*). Digon i ni yw gwybod, fod dyn yn nghyfanrwydd ei natur, yn *rydd-ewyllysiwr;* fod yr ysgrythyrau bob amser yn ei annerch fel y cyfryw; ac fod pob un o honom yn ymwybodol fod rhyddweithrediad yn briodoledd hanfodol bôd rhesymol a chyfrifol. Ni all Satan ond ein temtio; a'r byd ddim ond ein hudo; ac "yna y temtir pob un, pan y tynner ef, ac y llithier, gan ei chwant ei hun. Yna chwant, wedi ymddwyn, a esgor ar bechod: pechod hefyd, pan orphener, a esgor ar farwolaetn:" Iago i. 14, 15. Y troseddwyr gwaethaf a bechant fel y gwnant yn unig am fod eu "calon yn llawn ynddynt i wneuthur drwg:" Preg. viii. 11. Y pechaduriaid mwyaf

diystyr ydynt ddim ond rhyddweithredwyr llygredig.

3. *Mae anallu dyn i wneuthur ewyllys Duw yn anallu moesol.* Nid naturiol ydyw, eithr moesol. Ymgyfyd o dueddfryd llygredig y meddwl yn unig. Gan fod y weithred sydd i'w chyflawnu yn weithred foesol, rhaid fod yr anallu a fynegir mewn perthynas iddi yn foesol hefyd. Mae anallu naturiol i gyflawnu gweithred foesol ar unwaith yn rhyddhau dyn o bob rhwymedigaeth i'w chyflawnu. Er engraifft, gorchymmynir ni i beidio "esgeuluso ein cydgynnulliad ein hunain:" Heb. x. 25. Ond os bydd dyn yn naturiol analluog i fyned i dŷ Dduw, ni fydd ei absenoldeb yn bechod. Rhaid fod yr anallu i wneuthur ewyllys Duw, fel y dadguddir hi yn y gyfraith a'r efengyl, yn gydrhywiol â'r weithred i'r hon y perthyna; i fod yn wirioneddol a beiadwy, rhaid iddo fod yn anallu moesol.

Darlunir yn yr Ysgrythyr Santaidd, anallu y pechadur i wneuthur ewyllys Duw fel y canlyn: "Pa fodd y gellwch chwi gredu, y rhai ydych yn derbyn gogoniant gan eich gilydd, ac heb geisio y gogoniant sydd oddiwrth Dduw yn unig?" Ioan v. 44. Yna, mae anallu yr Iuddewon yn cael ei briodoli yn neillduol i'w balchder a'u bydolrwydd; neu fel y mae yn cael ei egluro mewn lle arall, "yr oeddynt yn caru gogoniant dynion yn fwy nâ gogoniant Duw:" Ioan xii. 43. "Yr annuwiol, gan uchder ei ffroen, ni chais Dduw:" Salm x. 4; ac felly yn yr atebiad i'r gofyniad, "A newidia yr Ethiopiad," &c., y rheswm a ddywedir am yr anallu yw, "*a gynnefinwyd â gwneuthur drwg*;" neu mewn geiriau ereill, tueddfryd ac arferion llygredig. Ac yn mhob man gosodir dynion allan fel yn wirfoddol, ac am hyny yn feiadwy, rhwym gan eu chwantau eu hunain, ac felly yn cael eu hattal rhag gwneuthur ewyllys Duw. Galarodd yr Athraw Mawr uwch ben y ddinas euog yn y geiriau cyffrous canlynol, "Pa sawl gwaith y mynnaswn gasglu dy blant yn nghyd, megis y casgl iâr ei chywion dan ei hadenydd, *ac nis mynnech?* Matt. xxiii. 37. A'i gyhuddiad pwysig yn erbyn y lluaws annghrediniol oedd, "Ond ni fynnwch chwi ddyfod attaf fi, fel y caffoch fywyd:" Ioan v. 40. Beiddia Mr. Hinton osod allan yn rymus y pwynt hwn fel hyn: "Nid yw gogwyddiad i ddrwg yn fy nhyb i am dano, yn bechod neu yn bechadurus, gan nad

yw yn cynnwys na gweithred nac ewyllysiad; mae yn gyflwr ein bodolaeth foesol, yn tueddu i gyflawniad pechod, ac yn gofyn attaledigaeth briodol—dim chwaneg. Ac fel y cyfryw, nid yw, yr wyf fi yn meddwl, yn annghydweddol â sefyllfa o brawf moesol." (*Moderate Calvinism*, tud. 18). Er hyny, mae yn hollol iawn i alw hyn yn anallu â'r *term* anallu; canys defnyddia yr ysgrythyrau y fath eiriau â "dichon," a "ni ddichon," "gellwch," ac "ni ellwch," mewn perthynas iddo. Cymmerwch y geiriau nodedig hyn fel eglureb, "Ni ddichon neb ddyfod attaf fi, oddi eithr i'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd, ei dynnu ef:" Ioan vi, 44. Gwir, fod y dylanwad trwy ba un yr effeithir y canlyniad dedwydd hwn yn cael ei alw yn "*dynnu*," nid gorfodi; h.y., dylanwad moesol yn hytrach nâ naturiol; ond heb y dylanwad hwn mae dyn yn *foesol* analluog i ddyfod at Grist. Eglura yr ysgrythyrau yr anallu hwn fel un moesol, ond y maent yn edrych arno er hyny fel *anallu*. Dywedir yn fynych y "*dichon unrhyw ddyn ddyfod at Grist pan ddewiso.*" Gwir ydyw hyn yn ddiau—ond *nid yr holl wir*. Oblegid ni ddewisodd un dyn erioed, ac ni ddewisa byth chwaith, ddyfod at Grist hyd oni wneir ef yn "ewyllysgar yn nydd nerth Jehofah:" Salm cx. 3. Yr athrawiaeth boblogaidd, gan hyny, y dichon unrhyw ddyn ddyfod at Grist pan ddewiso, sydd ddim ond gwirionedd rhanol, ac yn ngeneuau llawer o ddynion, yn dyfod yn gyfeiliornad ymarferol, oblegid defnyddir ef i wadu gweithrediadau penarglwyddiaethol a graslawn yr Ysbryd Glân yn nghyfnewidiad tueddfryd calon pechadur. Canys athrawiaeth eglur y Beibl ydyw, na ddewisodd un dyn erioed Grist fel ei Arglwydd, ond "trwy yr Ysbryd Glân:" 1 Cor. xii, 3. Nid yw dyledswydd, fodd bynag, yn cael ei rheoli gan *dueddiadau dynol.* Er hyny, dywed y gair wrth bawb sydd yn ei wrando, "Tra byddo gennych oleuni, credwch yn y goleuni, fel y byddoch blant y goleuni:" Ioan xii. 36. "Hyn yw gwaith Duw, (h.y., y gwaith a ofyna Duw), credu o honoch yn yr Hwn a anfonodd Efe:" Ioan vi. 28, 29. "A hwn yw Ei orchymmyn ef, gredu o honom yn enw ei Fab Ef Iesu Grist: 1 Ioan iii. 23. Mae Duw yn "gorchymmyn i bob dyn yn mhob man edifarhau:" Act. xvii. 30.

"A hon yw y ddamnedigaeth; ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy nâ'r goleuni:" Ioan iii. 19. Yr "Arglwydd Iesu a ymddengys o'r nef, gyda'i angelion nerthol a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Duw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist:" 2 Thess. i. 7, 8. Fel hyn y dywedodd Iesu, "Yr hwn sydd yn fy nirmygu i, ac heb dderbyn fy ngeiriau, y mae iddo un yn ei farnu: y gair a leferais i, hwnnw a'i barn ef yn y dydd diweddaf:" Ioan xii. 48.

4. *Mewn barnu pechodau dynion yn ein herbyn ni, teimlwn yn gynreddfol (intuitively) mai pa fwyaf maleisddrwg a llygredig fyddo tueddfryd y meddwl, â pha un y cyflawnir hwynt, mai mwyaf i gyd fydd eu euogrwydd.*

Nid ydym yn blino ein hunain yn y cyfryw amgylchiadau âg arholion meddyliol perthynol i bechod gwreiddiol, &c., &c.; ond teimlwn mai pa fwyaf fyddo y malais â'r hwn y ceisia dyn ein niweidio, mai gwaethaf i gyd fydd ei ymddygiad yn nghyflawniad y drwg. Pe cyhuddid troseddwr ger bron llys gwladol o drosedd, ac wedi ei gael yn euog o'i gyflawniad, ni feddyliai byth am osod i fyny fel apēl am *leihad* cospedigaeth ei fod "yn caru trosedd a'i holl galon; a'i fod mewn gwirionedd, yn ddyhiryn llygredig diobaith!! Pe rhesymai felly, dywedai yr Ynad a hyny yn briodol hefyd: "Gan hyny y dyhiryn, mi a osodaf arnat y gospedigaeth drymaf a ganiatâ y gyfraith!" ac arweiniai synwyr cyffredin bawb yn y llys i ddywedyd, "Amen," gyda y cyfryw ddedfryd Nis gallwn ymryddhau oddiwrth yr argyhoeddiad, fod calon lygredig yn ddim cyfiawnhad dros weithred ddrwg, eithr ei bai mwyaf. Mae yn ymwybodaeth a awgryma ei hun pan farnom droseddau dynion yn erbyn ein hunain a'n cyd-ddynion yn gyffredin; paham, gan hyny, y petruswn mewn cymhwyso yr un egwyddor yn ein barn am bechod dyn yn erbyn Duw? "Aberth y rhai annuwiol sydd ffiaidd: pa faint mwy, pan offrymant mewn meddwl drwg:" Diar. xxi. 27.

5. *Mae cyfrifoldeb yn mhob amgylchiad yn cael ei reoleiddio yn gaeth gan rhagorfreintiau a chyfleusderau.* Mae Duw yn hawlio oddiwrthym nid yn ol yr hyn nad yw

genym, eithr yn ol yr hyn sydd genym: 2 Cor. viii. 12. Y *paganiaid* fuont byw cyn dyfodiad ein Harglwydd, neu y rhai yn ein hamser ni na chawsant erioed glywed ewyllys ddadguddiedig Duw, a gânt eu barnu wrth ddeddf natur a chydwybod; "Canys pan yw y cenhedloedd y rhai nid yw y ddeddf (ddadguddiedig) ganddynt, wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf, y rhai hyn heb fod y ddeddf (ddadguddiedig) ganddynt ydynt ddeddf iddynt eu hunain: y rhai sydd yn dangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi:" Rhuf. ii. 14, 15. Ac yn gymmaint a bod yr holl genedloedd paganaidd wedi pechu yn erbyn goleuni cydwybod, wrth y ddeddf hono y cânt eu condemnio; "Oblegid cynnifer ag a bechasant yn ddiddeddf, (h. y. heb ddeddf ddadguddiedig) a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf:" Rhuf. ii. 12. Mae Paul yn ei gosod i lawr fel gwireb *(axiom)*, "Trwy weithredoedd deddf (h. y. unrhyw ddeddf naturiol, neu ddadguddiedig, canys nid oes un *fannod* yn y Roeg), ni chyfiawnhëir un cnawd yn ei olwg Ef; canys trwy ddeddf y mae adnabod pechod:" Rhuf iii. 20. Yn chwanegol at oleuni mewnol rheswm a chydwybod, mae gan y cenedloedd paganaidd dystiolaeth allanol gweithredoedd Duw mewn natur a rhagluniaeth. "Canys Ei anweledig bethau Ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef Ei dragywyddol allu Ef a'i Dduwdod; hyd onid ydynt yn ddiesgus:" Rhuf. i. 20. Ac wrth lefaru am dystiolaeth gweithredoedd Duw. Adgofia y Salmydd ni yn ardderchog, nad oes angen cyfieithu y dystiolaeth hon, gan y clywir hi yn mhob iaith, "Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a nos i nos a ddengys wybodaeth. Nid oes iaith nac ymadrodd, lle ni chlybuwyd hwynt. Eu llinyn (rheol neu gyfarwyddyd) a aeth trwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd byd:" Salm xix. 2—4. Gan fod pawb dynion yn meddu y goleuni hwn, byddant yn gyfrifol am eu defnydd neu eu camddefnydd ohono.

Ond yr *Iuddewon* fuont byw cyn goruchwyliaeth yr efengyl, a'r rhai ni chawsant un dadguddiad ond y gyfraith, a fernir wrthi. "A chynnifer ag a bechasant yn y (medd-

iant o'r) ddeddf (ddadguddiedig, a fernir wrth y ddeddf (ddadguddiedig):" Rhuf. ii. 12. "Pa bethau bynnag y mae y ddeddf yn ei ddywedyd, wrth y rhai sydd dan y ddeddf y mae hi yn ei ddywedyd:" Rhuf iii. 19.

Ond y rhai a feddant eiriau Crist, ac ydynt yn byw mewn meddiant o holl ffeithiau a chyfarwyddiadau Ei grefydd santaidd, a fernir yn ol eu rhagorfreintiau tra rhagorol; canys fel hyn y dywedodd ein Harglwydd yn nyddiau Ei gnawd, "Yr hwn sydd yn fy nirmygu I, ac heb dderbyn fy ngeiriau, y mae iddo un yn ei farnu: y gair a leferais I, hwnw a'i barn ef yn y dydd diweddaf:" Ioan xii. 48. "A hon yw damnedigaeth (y damnedigaethau, aúte dė èstin é krísis); ddyfod goleuni (Iesu Grist) i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy nâ'r goleuni: canys yr oedd eu gweithredoedd hwy yn ddrwg:" Ioan iii. 19.

Tystia yr ysgrythyrau yn eglur y bydd cospedigaeth yn gyfartal i euogrwydd. "A phwy bynnag ni'ch derbynio chwi (Fy Apostolion), ac ni wrandawo eich geiriau, pan ymadawoch o'r tŷ hwnnw, neu o'r ddinas honno, ysgydwch y llwch oddiwrth eich traed. Yn wir meddaf i chwi, esmwythach fydd i dir y Sodomiaid a'r Gomorriaid yn nydd y farn, nag i'r ddinas honno:" Matt. x. 14, 15. "Beth bynnag a hauo dyn, hynny hefyd a fêd efe:" Gal. vi. 7. "Ac i bwy bynnag y rhoddwyd llawer, llawer a ofynir ganddo:" Luc xii. 48. Bydd Jehofah yn gwybod pa fodd i rhanu i bob dyn y maint dyladwy o gospedigaeth deilwng i'w droseddau. Mewn gwirionedd, bydd trueni uffern y canlyniad anocheladwy yn mhob achos, o bechodau dyn ei hunan. Ni feda ond ffrwyth naturiol yr hyn a hauodd. Fel hyn, bydd amrywiaeth diderfyn yn arteithiau y damnedigion. Ni bydd un dau amgylchiad yn hollol gyffelyb. Edrychir ar yr holl rithiau manylaf o wahaniaeth yn y gradd o euogrwydd, a ymgyfoda o amgylchiadau ffafriol neu anffafriol, yn nedfrydau y dydd diweddaf. Y prŷf nid yw byth yn marw fydd cynnyrchiad *naturiol* y llygredd moesol ar ba un yr ysglyfia yn dragywyddol; y tân nid yw byth yn diffodd a borthir â chynnud pechodau yr hwn a losga, a bydd y ddau yn ofnadwy yn ol maint yr euogrwydd o'r hwn y byddant y canlyniadau anocheladwy.

Felly, mewn gwirionedd *(de facto)*, ni fydd neb yn golledig am gamwedd Adda. Nid gwirionedd fydd, fod, "hiliogaeth anferth wedi eu gwneuthur yn dragywyddol druenus am bechod eu tad cyntaf:" *Hinton*'s *Moderate Calvinism re-examined*, tud. 21. Y colledigion a ddyfethir trwy eu hanufudd-dod gwirfoddol eu hunain i ewyllys Duw, a thrwy eu gwrthodiad gwir-fwriadol o drugaredd ddwyfol. Nid gwirionedd yw, fod " Duw Santaidd, hyd y nod fel cospedigaeth, wedi gwneuthur un bôd yn bechadurus, na hiliogaeth gyfan yn bechadurus:" (Ibid. tud. 19). Gwneuthur ein cyfiawnhad trwy ddeddf yn *foesol* anmhosbl yn unig wnaeth pechod Adda, trwy *wendid y cnawd*, (Rhuf. viii. 3); ond mae cyfryngdod yr Ail Adda yn gwneuthur yn sicr gyfiawnhad graslawn y rhai oll a gredant yn yr efengyl.

## PENNOD V.

### ANFARWOLDEB DYN.

A YW dyn *fel y cyfryw* yn anfarwol, neu a yw ei anfarwoldeb yn ammodol ar ei ffydd yn Nghrist? A yw ein *bodolaeth* dragywyddol, yn gystal â'n dedwyddwch tragywyddol yn deilliaw i ni o undeb â'r Gwaredwr! Neu, a lwyr *ddihanfodir* y rhai drygionus, ar ol dyoddef ohonynt dymhor hirfaith o ddyoddefaint cyfartal i'w heuogrwydd? Neu a fydd iddynt hwy oll, y naill fel y llall fyw byth, dim gwahaniaeth rhyngddynt ond yn *maint* eu harteithiau? Mae y rhai hyn yn gwestiynau a gawsant eu dadlu yn alluog ac egnïol yn ddiweddar, nid yn y wlad hon yn unig, ond yn America hefyd, ac yn rhai yn sefyllfa bresenol cred, ni ellir peidio sylwi arnynt mewn gwaith fel y presenol.

Yr ydym wedi pwyso yn ofalus y rhesymau a gynnygiwyd gan y brodyr ydynt wedi ymdrechu profi *gwirionedd dihanfodiant y rhai drygionus yn y diwedd*, a rhaid i ni addef, tra yr ydym wedi dysgu llawer oddiwrthynt, ein bod yn glynu yn ein ffydd, yn yr hen olygiad uniawngred yn fwy cadarn nag erioed, y bydd i bawb dynion fyw *byth* naill ai yn y nefoedd, neu yn uffern.

Tri addefiad, fodd bynag, a wnawn ar y cychwyniad.

1. *Addefwn, nad yw Anfarwoldeb yr enaid yn brofadwy trwy reswm yn unig.* Ni lwyddodd Socrates, Plato, a Cicero, ond mewn sefydlu *tebygolrwydd cryf* i'w wirionedd. Mae eu hiaith yn fynych yn sawru o ammheuaeth boenus. Nid oeddynt yn sicr o anfarwoldeb. Ond gwthiasant y ddadl oddiwrth reswm a natur i'w phellder mwyaf oedd bosibl; ac os methasant hwy, pwy all obeithio llwyddo? Nid yw athronwyr Cristionogol wedi profi eu hunain yn alluog i brofi y gwirionedd hwn oddiwrth oleuni celfyddyd a phrofiad. Yr oll a lwyddasant i'w wneuthur yw, *rhoddi rhai rhesymau cryfion yn ffafr ei debygolrwydd.* Y *prawf diymwad* ohono a geir yn yr ysgrythyrau yn unig. "Ein Hiachawdwr Iesu Grist a ddiddymodd angau, ac a ddug fywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy yr efengyl:" 2 Tim. i. 10. Er hyny, mae tebygolrwydd cryf y gwirionedd hwn, fel yr arddangosir ef trwy dystiolaeth rheswm yn teilyngu sylw; oblegid yn fynych yn y materion mwyaf pwysig nid oes genym ddim ond tebygoliaethau cryfion i'n tywys.

2. *Addefwn nad yw y rhesymau a brofant wirioneddolrwydd sefyllfa ddyfodol, o angenrheidrwydd, ac ohonynt eu hunain yn profi y rhaid fod y sefyllfa hono yn mhob amgylchiad yn anfarwol.* Y mae wedi cael ei honi yn anrhesymegol yn fynych, fod profi sefyllfa ddyfodol yr un peth a phrofi ei hanfarwoldeb. Mae yn eglur fodd bynag, nad yw hyny yn canlyn *(non-sequitur)* o angenrheidrwydd. Gall sefyllfa ddyfodol fod heb ei bod yn dragywyddol. Rhaid i'w thragywyddolrwydd gael ei brofi ar wahan. Credwn yn ei pharhad, ond gwnawn hyny ar sail yr hyn a ymddengys i ni fod yn dystiolaeth arbennodol yr ysgrythyr. Na fydded i ni gymmysgu y prawf y bydd dynion *fyw* ar ol marw, â phrawf diymwad y byddant fyw o angenrheidrwydd yn oes oesoedd. Mae y ddau gwestiwn yn gwbl wahanol, a dichon i'r hyn fyddo yn brawf digonol o'r gosodiad blaenaf, roddi dim goleuni o gwbl ar yr olaf.

3. *Nis gallwn wadu ei fod yn anysgrythyrol ac anathronyddol i alw unrhyw greadur yn unig, o angenrheidrwydd yn anfarwol.* Mae duwinyddion uniawngred wedi gwneuthur y camsyniad hwn yn rhy fynych. Maent

wedi llefaru am enaid dyn fel yn anfarwol o angenrheidrwydd, neu yn anfarwol o angenrheidrwydd natur, ac felly yn y blaen. Mae y fath osodiadau â hyn yn groes i ysgrythyr. Jehofah ydyw yr unig fôd yn y cyfanfyd a fodola o angenrheidrwydd natur; mae pawb creaduriaid yn ddibynol arno Ef am eu bywyd, *trwy eu holl raddau.* Yn yr ystyr hon Efe yw "YR HWN YN UNIG SYDD GANDDO ANFARWOLDEB:" 1 Tim. ii. 16. "Ynddo Ef (y Gair tragywyddol) yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion:" Ioan i. 4. "Yn Ei foddlonrwydd y mae bywyd:" Salm xxx. 5. "Ynddo Ef yr ydym ni yn byw, yn symmud, ac yn bod:" Act. xvii. 28. Mae hwn yn wirionedd cyffredinol, cymhwysiadol at yr holl greaduriaid, *yn mhob tymhor o'u hanesiaeth.* Am hyny, sicr yw, na ddichon unrhyw greadur yn unig, ddyfod yn hanfodol ac yn annibynol anfarwol, canys mae bod felly yn un o briodoleddau annghyfranogol yr Hwn sydd yn byw yn oes oesoedd.

Gan hyny, os bydd i bawb dynion fyw byth, fel y credwn y byddant, bydd eu hanfarwoldeb yn ddibynol ar ewyllys Duw. Mae dynion yn anfarwol, am fod Jehofah wedi eu gwneuthur felly, ac am mai Ei ewyllys yw iddynt beidio cael marw byth.

Awn rhagom gan hyny, i ystyried yr hyn a ymddengys i ni yn brofion o'r ffaith, mai ewyllys Duw yw i bawb dynion gael byw yn dragywydd. Mewn perthynas i anfarwoldeb y cyfiawnion, nid oes dadl. Mae pawb a dderbyniant y Beibl Santaidd, yn cyduno yn y grediniaeth y byddant *hwy* byw yn dragywydd. Yr unig gwestiwn yw, A fydd truenu y colledigion yn dragywyddol? I ateb y cwestiwn hwn, awn rhagom yn y drefn ganlynol:—

1. *Rhaid i ni gofio, mai un dyben mawr, o ysbrydoliaeth y Beibl oedd penderfynu i ni ein tynged ddyfodol.* Symud y tywyllwch a ymgrogai uwch y bedd; tynu yn ol y llen a guddiai y byd tragywyddol oddiwrth hwn; a gwneuthur yn hysbys i ni yr hyn a'n harosai yn y dyfodiant arswydlawn, oedd dyben Duw yn llefaru gynt wrth y tadau trwy y prophwydi, a'r dyddiau diweddaf hyn wrthym ni yn ei Fab. Bwriadwyd yr efengyl i ddwyn bywyd ac anllygredigaeth *i oleuni,* 2 Tim i. 10; h. y., eu gosod

allan gyda'r fath eglurder na adawsai ddim ansicrwydd yn nglŷn a'r cwestiynau mawreddog hyn.

2. *Ni ysgrifenwyd y Beibl i ddynion dysgedig yn unig.* Bwriadwyd ef i fod yn llyfr y bobl, yn freintlen *(charter)* eu hiachawdwriaeth, a'u harweinydd i'r nefoedd. Yr oedd y bobl gyffredin yn gwrando Crist yn ewyllysgar, am Ei fod yn llefaru mewn iaith a allent ei deall a'i gwerthfawrogi: Marc xii. 37. Sangodd yr Apostolion yn ol traed eu Meistr yn y peth hwn. Y gwirionedd yw, fe "ddewisodd Duw dlodion y byd hwn, yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas:" Iago ii. 5. Ar bob cwestiwn pwysig gan hyny, yn dwyn perthynas â'n tynged dragywyddol, gallwn ddysgwyl fod y Beibl yn llefaru mewn iaith dra ragorol o *eglur a dealladwy.* Byddai yn ddim ond gwawd i roddi yn nwylaw dyn tlawd, ac mewn cymhariaeth yn annysgedig, lyfr yn proffesu dehongli cwestiwn mawr ei dynged ddyfodol; tystiolaeth yr hwn ar y cwestiwn arbenig hwnw, fyddai yn gofyn cwrs hirfaith o feirniadaeth fanwl i'w phenderfynu! Da y gallai ddywedyd, "Yma mae dychymmygion i ddehongli dychymmygion; tywyllwch dadleuaeth i symud tywyllwch y dyfodiant; termau yn cael eu defnyddio mewn perthynas i'r pwnc gorbwysig hwn, y rhai nid wyf i'w deall ond mewn ystyr gyfyngedig, gydag ansicrwydd poenus, nad wyf wedi y cwbl, fe ddichon, wedi rhoddi y cyfyngiad *iawn* iddynt." Nis gallwn ddwyn ein hunain i gredu mai y dehongliad hwnw o dystiolaeth yr ysgrythyr ar y pwnc hwn yw yr un iawn, sydd yn gofyn tystiolaeth o'r holl ymresymiadau cywrain, a'r esboniadau dysgedig geir yn y cyfrolau a ysgrifenwyd yn erbyn yr athrawiaeth o gospedigaeth ddyfodol. Mae y ddadl *à priori* yn erbyn y cyfryw ddull o esbonio y pwnc hwn; tra mae yr holl debygolion yn myned i sicrhau, mai y dehongliad naturiol ac amlwg o'r adnodau mewn cwestiwn yw yr un iawn. Ar bwnc mor annghyffredin o bwysig, pan ddywed Duw, "yn oes oesoedd," a "thragywydd," a "thragywyddol," meddylia i'r geiriau hyn gael eu deall yn eu hystyr amlwg, nid yn yr ystyr gyfyngedig a esyd beirniadaeth gelfydd a hirfaith arnynt.

3. *Mae tystiolaeth yr Ysgrythyr Santaidd ar y pwnc*

*hwn, a dywedyd y lleiaf am dani, yn neillduol gyfaddas i gynnyrchu yr argraff y bydd cospedigaeth yr annuwiol yn dragywyddol.* Mae yn anhawdd i unrhyw ddarllenydd cyffredin o'r gyfrol gyssegredig ysgöi dyfod i'r penderfyniad hwn. Rhaid i bob un addef mai hyn yw yr argraff gyntaf, a mwyaf naturiol a gynnyrcha geiriau yr Ysgrythyr Lân. Ac, a wnelai yr Ysbryd Dwyfol *gymhwyso* yn bwrpasol Ei air i greu cam argraff mewn mater o bwys mor fawr â hwn? Fel y sylwa Esgob Horsley yn dda: "Gwir ystyr unrhyw ymadrodd yn y Testament Newydd yw yr hyn ellir alw ei ystyr safonawl: yr hwn a ddygwydda *gyntaf* i'r bobl gyffredin yn mhob gwlad ac yn mhob oes." Wrth reswm rhaid i'r dywediad hwn gael ei dderbyn yn gyfyngol. Fel rheol gyffredin deil yn dda.

4. *Y gwirionedd yw, mai y cyfryw ydyw yr argraff y mae y dystiolaeth ysgrythyrol wedi ei gynnyrchu bron yn mhob achos ac yn mhob oes.* "Mae athrawiaeth cospedigaeth dragywyddol wedi dal am hir amser, bron mewn bri cyffredinol a diammheuol." *(Dobney's Work, second edit., tud.* 278). Mae tystiolaeth eglur ac an-arliw Gair Duw *wedi* cynnyrchu yr argyhoeddiad hwn yn nghredinwyr pob oes, credöau, a sectau. Yn mhlith eu gwahaniaethau lluosog ereill, mae yma gytundeb cyffredin wedi bod. Mae yr eithriadau wedi bod yn anaml iawn, ac yn gyfyngedig i ddynion o gyfrwysdra deall mawr. Yn awr, yr ydym yn honi, tra nad yw hyn yn un rheswm y dylem ni gofleidio yr athrawiaeth hon *heb ymchwiliad*, ei fod yn gwasanaethu fel prawf tebygol cryf yn ei ffafr. Mae yn ei wneuthur yn debygol, mae hyn yw dehongliad naturiol, eglur, a chan hyny, gwirioneddol, y geiriau a ddefnyddir. Canys mae y ddadl yn nghylch mater ar ba un y mae yr ysgrythyrau wedi llefaru mewn ieithwedd eglur, gyffredin, o'r ystyr mwyaf cywir a phennodol. Mewn achos o'r fath, byddai unrhyw ddehongliad hirfaith, gorlafurus, a fyddai yn rheidiol i osod o'r neilldu yr ystyr y mae cydsyniad braidd unol holl wledydd cred, yn mhob oes, wedi ei roddi ar y dystiolaeth ar y cychwyniad, yn agored i ammheuon pwysig o an-eirwiredd (*untruthfulness*). Fel rheol, y dehongliad mwyaf naturiol yn y fath achosion yw y goreu; ond y mae hanes credo yr eglwys yn mhob oes, yn profi

fod y dehongliad a roddwn ni i'r dystiolaeth yr un mwyaf naturiol. Mewn gwirionedd, addefwn mai o'r braidd y mae yn gwestiwn o ddehongliad o gwbl: mae yn un o dystiolaeth ddwyfol yn unig. Gadawer i eiriau Duw lefaru *drostynt eu hunain,* ac mae'r mater wedi ei benderfynu.

5. *Nid yw tystiolaeth ymwybodolrwydd hefyd, i'w diystyru yn y ddadl hon.* Dywedasom yn barod nad yw yn gweini prawf diammheuol, eithr tebygol yn unig. Gellir gosod y ddadl hon fel hyn :—

Y mae genyf ymwybyddiaeth fod y dystiolaeth ysgrythyrol am wirioneddolrwydd sefyllfa ddyfodol yn wir ; ond arweiniai yr unrhyw ymwybyddiaeth fi i ddysgwyl na fyddai i'r fodolaeth ddyfodol hono gael ei chanlyn gan *ddihanfodaeth hollol.* Canys creadur a arbedid trwy filoedd a miliwnau o oesau a gaffai yr ymwybyddiaeth o *ddyfodiant* yn cael ei chryfhau gyda phob ysbaid olynol o'i bodolaeth. Byddai ei goroesiad o ymgyrch angau a'r bedd yn brawf tebygol cryf iddi, y gwnai oroesi pob cyfnewidiadau dyfodol, ac y gwnai barhau i fyw yn dragywydd. Yr ymwybyddiaeth sydd genyf yn *awr,* fod athrawiaeth yr ysgrythyr, o fodolaeth ddyfodol i ddyn, yn wir, a'm canlyn i *dragywyddoldeb,* ac *yno* bydd i mi gael yr unrhyw ymwybyddiaeth, wedi ei chadarnhau, gan fy ngoroesiad o gyfnewidiadau rhagflaenorol, fod dyfodiant *fyth* yn gorwedd o'm blaen, ac felly yn y blaen yn dragywydd. Bydd fy ymwybodolrwydd, o ran dim a ymddengys i mi yn wrthwyneb, yr un yn mhen miliwnau o oesau etto. Mor bell gan hyny, ag y mae tystiolaeth ymwybodolrwydd yn myned, y mae yn gweini dadl debygol gref yn ffafr bywyd dyfodol na therfyna byth. Y mae yn rhaid i'r ymwybodolrwydd hwn wrth ddadguddiad i'w *adfywhau* a'i *ddadblygu,* a phan y byddo Gair Duw wedi ei gyffroi, y mae nerth yn ei lais.

6. *Y mae anfarwoldeb ordeiniedig yr enaid, fel yr adgyfodiad sicr a chyffredinol, i bawb dynion yn fendith alluadwy, ac nid yw yn dyfod yn felldith ond yn unig trwy anedifeirwch ac annghrediniaeth.*

Mae y ffaith hon yn tynu ymaith fin rhan fawr o'r ymresymiadau a wneir yn gyffredin yn erbyn cosp dragy-

wyddol. Mae ffydd yn y Gwaredwr yn troi yr athrawiaethau o anfarwoldeb ac adgyfodiad i fwn-glawdd anhysbyddedig o wynfydedigrwydd. Y mae gwrthodiad drygionus ac arbwyllog o Fab Duw yn troi yr unrhyw athrawiaethau yn ffynonellau gwae diddiwedd. Ond mae y bai gyda y rhai hyny sydd yn "gwrthod gair Duw, ac sydd yn barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol:" Act. xiii. 46. Na chyhudded neb, gan hyny, anfarwoldeb ordeiniedig yr enaid, o fod yn achos o boenau uffern: oblegid yn achos y colledigion, y mae pechod ac annghrediniaeth wedi cyfnewid y posibilrwydd (a llefaru yn ol dull dynol) o wynfydedigrwydd tragywyddol, i sicrwydd colledigaeth dragywyddol. Nid yw Duw i'w feio, eithr y troseddwr.

7. *Mae yr Ysgrythyrau yn dysgu yn eglur y bydd y cyfiawn yn dragywyddol ddedwydd, a'r drygionus yn dragywyddol druenus.*

O barthed i'r pwynt blaenaf, nid yw y rhai uniawngred yn rhanedig mewn barn. Ni raid cyfeirio ato gan hyny, ond yn achlysurol. Ond yr un *termau* yn gymhwys a ddefnyddir i ddysgrifio parhad y naill fel y llall. "A'r rhai hyn a ânt i gospedigaeth *(kolasin)* dragywyddol *(aiônion)*; ond y rhai cyfiawn i fywyd tragwyddol *(aiônion)*: Matt. xxv. 46. Yr un gair a ddefnyddir yma yn y ddwy adran, er fod ein cyfieithwyr (Saesnig) yn annoeth wedi amrywio y cyfieithad. Cospedigaeth dragywyddol yw tynged y rhai drygionus i fod, a bywyd tragywyddol yw gwobr y rhai cyfiawn i fod. Ac megis nad oes terfyn i fod ar y naill, felly ni fydd terfyn ar y llall hefyd. Y Barnwr ei Hun ydyw ein hyfforddwr.

Mae truenu y rhai drygionus yn cael ei gymharu yn fynych i *dân anniffoddadwy.* Cymmerwch er enghraifft, Marc ix. 43—48, lle y cyfarfyddwn ag ymadroddion fel hyn:—"I'r tan anniffoddadwy,"—ac mae hyn yn cael ei ail adrodd, adn. 43—45; ac a elwir "tan uffern," adn. 47; "Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tan yn diffodd;"—*adroddir hyn deirgwaith yn y modd mwyaf difrifol a phwysig*, adn. 44, 46, a'r 48. Y mae yn amlwg fod yr ymadroddion hyn yn ffugyrol, ond elfen gyffelybiaethol y testun yw y gymhariaeth rhwng arteithiau

uffern ag ysiadau y pryfyn difaol—a goddaith tan dychrynllyd. Nid oes un droell-ymadrodd yn y dystiolaeth, mor bell ag y mae yn perthyn i *barhad* y gwaeäu hyn. Rheol o ddeongliadaeth hollol ddiffygiol yw yr un hono sydd yn esbonio yr haeriad *ail*-adroddedig hwn, nad yw tân uffern *byth* yn diffodd, a'r mynegiad yma a adroddir *deirgwaith*, nad yw pryf a than ei phoenedigaeth byth yn marw; yn ol cymmysg-draethiadau (*rhapsodies*) ysbrydoledig y prophwydi yn nghylch trychinebau tymhorol trwm-fygythiol, ysbaid pa rai o angenrheidrwydd a gyfyngid gan y ffaith *eu bod i gymmeryd lle mewn amser!* Gwel. Ezec. xx. 45—48; Jer. xvii. 27; Esa. xxxiv. 8—15; xxx. 27—33; a lxvi. 23, 24. Llefara ein Harglwydd am sefyllfa ddiweddaf a thragywyddol pethau; sefyllfa, mor bell ag y perthyn i ni, na chanlynir mo honi gan un arall, a rhaid yw deall Ei ieithwedd argraffiadol Ef yn gysson â'r ffaith yma. Os nad yw y geiriau hyn yn cyfleu yr athrawiaeth dros yr hon y dadleuwn, yna nis gallwn ddychymmygu am dani fel yn ddysgadwy gan unrhyw ffurf o eiriau a ellid eu defnyddio.

*A wnai Duw ddefnydd o ieithwedd mor gyfaddasol i greu yr argraff hwn, pe byddai tragwyddolrwydd uffern yn gabledd ar Ei ddaioni?* Ai ni wnaethai efe fod yn fwy gofalus o'i anrhydedd dwyfol? Ac a wnaethai Efe ddefnydd o ieithwedd mor agored i'n camarwain ar olygiad mor ofnadwy bwysig yn ein tynged â hwn? Gadawn ein darllenwyr i ateb y gofyniadau hyn drostynt eu hunain.

Mae tynged derfynol addolwyr y bwystfil a'i ddelw yn cael eu rhagfynegu fel y canlyn gan yr angel yn y Datguddiad:—"Hwnw hefyd A ŷf o win digofaint Duw, yr hwn yn ddigymmysg a dywalltwyd yn phiol ei lid ef; ac efe A boenir mewn tan a brwmstan y'ngolwg yr angelion sanctaidd, ac y'ngolwg yr Oen: a mwg eu poenedigaeth hwy sydd yn myned i fyny, (h. y., a fydd yn myned i fyny) yn oes oesoedd; ac nid ydynt hwy (h. y., ni fyddant yn cael) yn cael gorphwysdra ddydd na nos, y rhai sydd yn addoli y bwystfil a'i ddelw ef, ac os yw neb yn derbyn nôd ei enw ef:" Dad. xiv. 10, 11. Y mae beirniadaeth gywir yn gofyn i'r amser yn adn. 11 gydamseru (*synchronise*) â'r un a ddefnyddir yn y 10, gan fod yn amlwg fod

yr oll yn fygythiad cospedigaeth ddyfodol. Mae y cyfryw amrywiaethau amser, pan fyddo cyfres o ddygwyddiadau cyssylltiedig â'u gilydd yn cael eu bwriadu, a phan fyddo rhanau dechreuol y rhagfynegiad wedi gosod ei chyfeiriad dyfodol yn ddiammheuol, yn gyffredin. Aml y dywedwn ni am annuwiolion fel hyn: Y rhai drygionus, pan yn marw, a ânt i uffern, lle mae mŵg eu poenedigaeth yn myned i fyny gerbron Duw yn dragywydd. Mae hon, gan hyny, yn brophwydoliaeth sobr am drueni tragywyddol pleidwyr Annghrist. Mae "mwg eu poenedigaeth hwy yn myned i fyny yn oes oesoedd, "ac nid ydynt yn cael gorphwysdra ddydd na nos!"

Mae cospedigaeth ddyfodol y diafol a'i angelion, y bwystfil a'r gau-brophwyd, hyny yw, *pleidwyr* y bwystfil a'r gau-brophwyd, (canys ni ellir poeni cyfundraethau, *systems*) yn cael ei dysgrifio fel y canlyn: "A diafol yr hwn oedd yn eu twyllo hwynt, a fwriwyd i'r llyn o dân a brwmstan, lle y mae y bwystfil a'r gau-brophwyd, A HWY A BOENIR DDYDD A NOS YN OES OESOEDD:" (Dad. xx. 10). Dywed yr adnod nesaf wrthym y pryd y cymmer y farn derfynol hon le am y diafol, &c.,—sef *yn y dydd diweddaf;* "Ac mi a welais orsedd-faingc wen fawr, a'r hwn oedd yn eistedd arni, &c." Mae Mr. Dobney wedi beiddio dywedyd, nad yw adnod y 10fed yma, yn "dyweyd dim o gwbl am bechaduriaid o'r hil ddynol. Nid y gosodiad ysbrydoledig yma yw, y bydd i *ddynion* gael eu poeni ddydd a nos yn oes oesoedd. Ni ddywed Ioan y bydd iddynt hwy gael eu poeni, eithr yn unig, y *diafol.* Ac nid cythreuliaid yw dynion." (tud. 221, 222). Yn awr, y mae yn rhaid fod ein cyfaill Mr. Dobney, wedi ysgrifenu y brawddegau hyn, heb edrych i'r Testament Newydd Groeg. Pe gwnaethai hyny, cawsai weled fod y ferf *basanisthēsontai* yn y trydydd person *lluosog*, a chan hyny, yn gofyn enwedigaethydd, *(nominative)* lluosog. Ond y mae *ó diàbolos*, y diafol, yn unigol. Nis dichon dim fod yn eglurach, nad enwau *cyssylltiol* i'r ferf luosog, "Hwy a boenir," ydynt y diafol, y bwystfil, a'r gau-brophwyd. Ymddengys hyn yn sicrach oddiwrth yr adnodau dilynol, yn y rhai y mae dedfryd derfynol, cythreuliaid, a dynion drwg, yn nghyfanrwydd eu natur, corff ac enaid, yn cael

eu dysgrifio, ac yn y rhai y darllenwn, fod "marwolaeth ac uffern wedi eu bwrw i'r llyn o dân," (adn. 14,) "a phwy bynnag ni chafwyd wedi ei ysgrifenu yn llyfr y bywyd:" adn. 15. Mae yr ysgrythyrau gan hyny, yn sicrhau y bydd mŵg poenedigaeth cythreuliaid a dynion drygionus yn "myned i fyny' ger bron Duw, *Ddydd a nos yn oes oesoedd.*" Ac os nad yw hyn yn ddysgrifiol o wae tragywyddol, pa iaith mwy dychrynllyd a'i dysgrifia? Er hyny, nac annghofier byth, y bydd i neb yn y trueni gorfawr ac annhraethadwy hwnw gael *dyoddef mwy nâ'i haeddiant cyfiawn.* Ni fydd byth y fath beth a "suddiad holl golledigion, pob oes a chenedl, a gradd o gyfrifoldeb i'r un a'r unrhyw sefyllfa o boenedigaeth ddiderfyn." Ni fydd chwaith "yn un cruglwyth tanllyd, ac anwahanedigol, o boenedigaeth fyw—y lleiaf euog o'r colledigion law yn llaw, a hyny yn dragywydd, a'r ysbryd annhraethol syrthiedig hwnw, a feiddiodd am oesoedd hirfeithion, i wrthwynebu yn ddeallgar a dyfalbarhâol lywodraeth fendigedig Duw, a'r hwn a fu yn dwyllwr annhosturiol y cenedloedd, ac yn llofrudd didrugaredd yr hîl ddynol:" Dobney, tud. 225. Wna carchariad yn unig, yr holl ddrygedd moesol anniwygiadwy yn y cyfanfyd, mewn un carchar mawr, a gyfenwir yn ysgrythyrol uffern, ddim ymyraeth a'r dyoddefaint gan y naill a'r llall o'r carcharorion, y cyfanswm o wae y mae ei bechodau wedi eu cyfiawn haeddu. Nid oes gan le ond ychydig i wneuthur a'n gwynfydedigrwydd, neu â'n trueni. Gall dyn fod yn ddedwydd mewn daeardŷ os bydd heddwch yn ei feddwl; tra mae un arall, â chydwybod euog, yn druenus mewn palas. Yr un modd y bydd yn y byd arall, ag y mae yma, bydd gan bob dyn, yn ei enaid ei hun, elfenau nefoedd neu uffern.

Y mae yr adnodau canlynol yn gysson â'r rhai a ddyfynwyd yn barod: "Eithr yr ûs a lysg efe â thân anniffoddadwy." "Ac a'u bwriant (y rhai a wnant anwiredd) i'r ffwrn dân: yno y bydd wylofain a rhincian dannedd." "Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd i ddiafol ac i'w angelion." "Y rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffrôant, rhai i fywyd tragywyddol, a rhai i warth a dirmyg tragywyddol."—"Dy daflu i'r tân tragywyddol." "Barn dragywyddol." "Di-

aledd tân tragywyddol." "Niwl tywyllwch y'nghadw yn dragywydd." "I'r rhai y cadwyd niwl y tywyllwch yn dragywydd :" Matt. iii. 12; xiii. 42, 50; xxv. 41. Dan. xii. 2; Matt. xviii. 8; Marc iii. 29; Judas 7; 2 Pedr ii. 17; Judas 13.

Hon yw yr *ail-farwolaeth;* marwolaeth a fydd yn dragywyddol barhaus, "pryf yr hon ni fydd marw byth, a thân yr hon byth ni ddiffydd." Dyna yw y dinystr a elwir yn "*ddistrywio enaid a chorph yn uffern:*" Matt. x. 28; ac yn "*gospedigaeth a dinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant Ei gadernid Ef:* 2 Thess. i. 9: nid dinystr talfyredig yn cael ei effeithio mewn eiliad, trwy ddihanfodiant; eithr dinystr a fydd yn dragywyddol yn ei barhad, ac â alltudia yn dragywydd ei wrthddrychau truenus, oddi gerbron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid Ef. Dyna yw colli enaid, trueni na fyddai "ynnill yr holl fyd yn gyfnewid:" Matt. xvi. 25, 26. Dyma yw "digofaint Duw yr hwn sydd yn aros ar yr annghredadyn:" Ioan iii. 36. Dyma yw colledigaeth annhraethadwy.

A'r ffeithiau hyn mewn golwg ganddo y llefarodd ein Harglwydd fel yma am Ei fradychwr: "Mab y dyn yn ddïau sydd yn myned, fel y mae yn ysgrifenedig am dano: eithr gwae y dyn hwnnw trwy yr hwn y bradychir Mab y dyn: da fuasai i'r dyn hwnnw pe nas ganesid ef:" Matt. xxvi. 24; ond gan iddo gael ei eni yn ddyn, a chael ei fwriadu i fyw yn dragywydd, ni fydd un dihangfa iddo ef oddiwrth ganlyniadau ofnadwy ei euogrwydd annghymarol! Wedi cael ei eni yn ddyn, ni fydd efe byth farw allan o fodolaeth, eithr bydd rhaid iddo ddyoddef yn dragywyddo am fradychu ei Arglwydd!

Nid yw y mynegiad fod "bywyd ac anllygredigaeth wedi cael eu dwyn i oleuni trwy yr efengyl," 2 Tim. i. 10, yn golygu fod yr efengyl wedi gosod ger ein bron anfarwoldeb bodolaeth ammodol, eithr ei bod wedi dadguddio yn eglur ac awdurdodol fywyd ac anllygredigaeth (*anfarwoldeb* Saes.—geirweddiad am fywyd anfarwol), fel cyfran gyffredinol holl ddynolryw; ac o ganlyniad, yn fendith alluadwy i bawb, gan y gwelir fod anfarwoldeb bywyd i bawb sydd yn credu yn Iesu yn dyfod yn anfarwoldeb o ddedwydd-

wch anchwiliadwy. Yr oedd anfarwoldeb bywyd yn dynged dyn yn barod, ond mae Iesu trwy Ei adgyfodiad gogoneddus wedi gosod y gwirionedd hwn yn y goleuni egluraf a mwyaf argyhoeddiadol. Ni wnaeth Efe ond yn unig gwneuthur hyny yn amlwg. Nid oes, gan hyny, ddim annilysdod *(contingency)* o barthed i anfarwoldeb bywyd; yr unig gwestiwn yw, ai anfarwoldeb o lawenydd y caiff fod, ynte tristwch?

Felly gydag adgyfodiad y meirw. Deisyfwn ar ein darllenwyr i droi at yr adnodau nodedig hyny yn Luc xx. 27—38, a'u darllen yn ofalus. Gwelant mai y ddadl oedd, nid am adgyfodiad credinwyr fel y cyfryw, nac ychwaith am annghredinwyr fel y cyfryw; eithr am adgyfodiad Y MEIRW. Gwel. adn. 27, 33, 37, 38. Ac am y rhai adgyfodedig OLL, yn annibynol ar eu cymmeriad moesol y dywedir, "Canys nis gallant farw mwy: oblegid cyd-stad ydynt (yn yr ystyr hon) a'r angelion, a phlant Duw ydynt (h.y., o *allu* Duw, nid o angenrheidrwydd O'i *ras*) *gan eu bod yn blant yr adgyfodiad* (adn. 36); hyny yw, pawb a adgyfodir yn y dydd diweddaf, a adgyfodir i fywyd diddiwedd, o ddedwyddwch neu drueni, yr hwn a benderfynir gan eu derbyniad neu eu gwrthodiad rhagflaenorol o Iesu.

Mae tragywyddolrwydd uffern, yn wir, yn athrawiaeth ofnadwy; ond ofnadwy fel ag ydyw, mae yn gydweddol â chyfiawnder o daioni Duw. Ac yma maddeuir i'r awdwr am ddyfynu o'i waith ei hun, "Fe fydd, yn wir, un ysmotyn du ar dudalen bodolaeth, a'r ysmotyn hwnw fydd uffern, o fewn terfynau yr hwn yr amgaerir holl bechod anfaddeuedig ac anfarwëiddiol yr holl greadigaeth. Bydd yn dderbynle diweddaf holl ddrygedd moesol anniwygiadwy y cyfanfyd; bydd yn garchar y rhai hyny a fuont feirw mewn gwrthryfel, ac a wrthodasant gyda dirmyg hyd y diwedd yn hollol awdurdod cyfraith, a thiriondeb trugaredd. Bydd yn gofeb sobr o ddifrodiadau pechod, ac o'i 'fawr bechadurusrwydd yn ngolwg Duw, bydd dyfnder ei dywyllwch, a dychrynfeydd ei arteithiau, gan y byddant yn ganlyniadau uniongyrchol ac anorfod troseddau gwirfoddol, yn tystiolaethu i bob tragywyddoldeb, fod Duw yn burach Ei olygon nag y gall edrych ar anwiredd,' a

bydd yn rhybud ddifrifol i breswylwyr bydoedd ereill i ochelyd gwrthryfel yn erbyn eu Gwneuthurwr! Yn mhellach, cyfyngir y drygedd moesol anniwygiadwy hwn gan Hollalluogrwydd o fewn terfynau yr heintdy hwnw. Ni chaniateir i'r gwenwyn marwol ymledaenu tuhwnt i derfynau y pydew diwaelod.' 'Ceuir ef i mewn yn dragywydd yn y byd echryslawn hwnw. Ni oddefir iddo dori allan etto i anrheithio unrhyw ran arall o'r greadigaeth. Ymerys gan fadreddu *(festering)* yno, fel rhybudd uchel i breswylwyr bydoedd ereill; ac ar y cyfan, diau y bydd er lles cyffredinol, i'r engrhaifft effeithiol hon o ganlyniadau dychrynllyd pechod beidio cael ei dileu oddiar dudalen bodolaeth. Bydd yn un o foddion cadwraeth dragywyddol bydoedd, ac efallai, miliwnau o fydoedd ereill; felly, ac ystyried pob peth, bydd hyd y nod i uffern ei hun ddwyn tystiolaeth i'r gofal y mae Duw yn ei gymmeryd am Ei greaduriaid, a chwanega yn fawr at y cyfanswm o wynfydedigrwydd cyffredinol. Fel hyn, dywedir yn iaith arwyddluniol y Dadguddiad, am y colledigion, y bydd "mwg eu poenedigaeth hwy yn myned i fyny yn oes oesoedd: Dad. xiv. 11. Bydd preswylwyr bydoedd ereill yn wybyddus o'u trueni, ac o'i achos, ac yn cael fel hyn eu cadarnhau yn eu dyfalbarhad yn llwybrau uniondeb." (*Stock's Evangelical System considered, p.p.* 209, 210: *Second Edition, Elliot Stock,* 62, *Paternoster Row*).

Gallwn symio i fyny ddadl y bennod hon yn ngeiriau y Meistr Ei Hun, "Yr Hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol: a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wel fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros (*ménei*) arno ef:" Ioan iii. 36.

Yma, mae digofaint *bythol arosedig* yn ddiammheu, yn cael ei gyferbynu â bywyd tragywyddol o wynfydedigrwydd; ac mae y cyfochriad (*parallel*) yn dysgu y bydd i'r digofaint aros ar y naill ddosbarth cyhyd â'r bywyd gyda'r llall.

# RHAN IV.

## DUWINYDDIAETH FEL EI DADBLYGIR YN HANES PRYNEDIGAETH.

YR ydym yn awr i ystyried dyn fel yn achubedig a phrynedig. Hyd yma, yr ydym wedi bod yn edrych arno yn unig fel creadur, yn awr, mae genym i'w ystyried ef yn yr uchelder hwnw o ogoniant a dedwyddwch i ba rai y mae trugaredd rhâd Duw, trwy Grist Iesu yn ei ddyrchafu. Yn yr ystyriaeth o'r bennod ryfeddol hon, yn hanesiaeth y cyfanfyd, cawn gyfarfod â'r amlygiad cyflawnaf o enw Jehovah. "Ar y pethau hyn y mae yr angelion yn chwenychu edrych:" Pedr i. 12. Y mae "yr awrhon yn hysbys i'r tywysogaethau ac i'r awdurdodau yn y nefolion leoedd, trwy yr eglwys, fawr amryw ddoethineb Duw:" Ephes. iii. 10. "Canys Duw, yr hwn a orchymmynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn ein calonau, i roddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw, yn ngwyneb Iesu Grist:" 2 Cor. iv. 6. Hanes prynedigaeth trwy ein Harglwydd ydyw yr hanes ragoraf yn hanesion pob amseroedd, a thragywyddoldeb a barhâ yn unig i ddadblygu ei godidogrwydd anniflanedig. Ei chofnodion tragywyddol a gedwir yn y nefoedd. Ac ysbrydoedd prynedig, yn myned rhagddynt yn feunyddiol tuag at gymdeithas agosach â'r Daioni Goruchel, fyddant yn oes oesoedd, yn argofion o'i gogoniant. Bydded i ni gan hyny, am ychydig amser, droi ymaith oddiwrth bob pynciau is-raddol, ac edrych ar y wyrth hon o drugaredd!

## PENNOD I.

### CYFAMMOD Y PRYNEDIGAETH.

RHAGWELWYD a rhagddarparwyd ar gyfer y cwymp gan Dduw er tragywyddoldeb. Y mae "Efe yn mynegu y diwedd o'r dechreuad:" Esa. xlvi. 10. Ni ddichon dim ddygwydd iddo Ef yn ddiarwybod, neu ei gyffroi Ef o'i dawelwch dwyfol ac anfeidrol. "Hysbys i Dduw yw ei weithredoedd oll erioed:" Act. xv. 18. Nid *ail-feddwl* oedd prynedigaeth, na dyfais yn cael ei bwriadu i gyfarfod rhyw druenu anrhagweledig; canys yr oedd yn *brif* fwriad Jehovah, ac mae pob trefniadau ereill wedi eu gwneuthur

yn ddarostyngedig i hwn. Mae y meddwl o gariad prynedigol yn llywodraethu y cyfanfyd, ac "mae pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw; sef i'r rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth Ef:" Rhuf. viii. 28. Mae Crist yn meddu "pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear," fel y "rhoddai Efe fywyd tragywyddol i gynnifer ag â roddwyd iddo gan y Tad:" Matt. xxviii. 28, a Ioan xvii. 2. Mae y flaenoriaeth oruchel a roddir i iachawdwriaeth yr eglwys yn yr Ysgrythyr Santaidd yn profi gan hyny, mai dyma fwriad penaf Duw yn llywodraethiad pob peth.

Ac megis ag y mae y personau dwyfol, yn y Trindod santaidd yn gydymrwymedig yn nghyflawniad gweithredol prynedigaeth, felly hefyd yr oedd y bwriad i gadw yn perthyn i'r naill yn gystal a'r llall. Am hyny mae penderfyniad y Trindod i gadw yr etholedigion yn cael llefaru am dano yn gyffredin fel *cyfammod*, ac mae y bwriad hwn mewn rhai golygiadau yn dwyn y ffurf a'r cadernid o gyfammod. Y mae yn gweddu i ni, yn wir, i lefaru gydâ *pharch a gochelgarwch* pan fyddom yn cyffelybu meddyliau, bwriadau, a gweithrediadau y Duw tragywyddol i unrhyw beth dynol. Er hyny, mae lluaws o gyfeiriadau at y trefniant goruchel hwn, y rhai sydd yn awgrymu y meddylddrych o gytundeb tragywyddol ac anniddimadwy rhwng y Santaidd Dri yn un, fel yn gorwedd wrth sylfaen ein gobeithion am y nefoedd.

Trwy hanesiaeth prynedigaeth, mae y Tad Tragywyddol yn cael ei osod allan fel yn amddiffyn iawnderau y Duwdod; y Mab fel yn cyflwyno y iawn gofynedig; a'r Ysbryd Glân, fel yn cyfranu y dylanwad angenrheidiol i gynnyrchu y bywyd dwyfol. Pa un a yw y swydd bennodedig fel hyn, i'r naill a'r llall o'r Personau dwyfol yn ymddibynu ar ryw wahaniaeth gwreiddiol ac angenrheidiol hanfodedig rhyngddynt, neu ynte, nad ydyw ond effaith trefniad penarglwyddiaethol yn unig sydd un o "ddyfnion bethau Duw," nad yw wedi ei ddadguddio i ni, ac am ba un, o ganlyniad, y byddai yn bechadurus ynom ni fyned i olygiannu (*speculate*). Paham yr ymgnawdolodd y Gair Tragywyddol, ac nid yr Ysbryd Glân; paham mai yr Ysbryd Dwyfol oedd i fod yn rhoddwr a chynnaliwr byw-

yd yn neillduol; a phaham mai y Tad yn benaf oedd i fod yn honwr iawnderau cyfraith, ac yn amddiffynydd hawliau tragywyddol cyfiawnder, nid ydym yn gwybod. Mae ffydd yn ymostwng yn syml i'r dystiolaeth ddwyfol ar bwyntiau mor orddwfn. Digon iddi yw gwybod mai *felly y mae.* Na fydded i ni gynnyg rhoddi rhesymau am y dull a fabwysiadodd y Jehofah i ddadguddio Ei hunan i ni gan nad yw Efe ei Hun wedi rhoddi i ni ddim; canys mae hwn yn ddiau yn bwnc am ba un nis gallwn ni, oddiwrth natur yr achos, wybod dim, oddieithr mor bell ag y mae Duw ei Hun yn goleuo ein tywyllwch. Fod y Tri Pherson yn yr unig Dduw wedi myned i gyfammod er cyflawniad iachawdwriaeth yr eglwys, sydd bwnc o ddadguddiad.

I. YN Y CYFAMMOD HWN, MAE Y GWEITHREDOEDD CANLYNOL YN CAEL EU PRIODOLI I'R TAD:—

1. *Etholodd Crist yn ben cyfammodol yr holl eglwys.* "Wele fy ngwas, yr hwn yr wyf yn ei gynnal; fy etholedig, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn:" Esa. xlii. 1. "Crist hefyd nis gogoneddodd ei Hun i fod yn Archoffeiriad; ond yr Hwn a ddywedodd wrtho, Tydi fy Mab; Myfi heddyw a'th genhedlais di:" Heb. v 5. "Ac Efe (y Tad) a ddywedodd, Gwael yw dy fod yn was i Mi, i gyfodi llwythau Jacob, ac i adferu rhai cadwedig Israel: Mi a'th roddaf hefyd yn oleuni i'r cenhedloedd, fel y byddych yn iachawdwriaeth i Mi hyd eithaf y ddaear:" Esa. xlix. 6 "Myfi Jehovah (y Tad) a'th elwais mewn cyfiawnder, ac ymaflaf yn Dy law, cadwaf Di hefyd, a rhoddaf Di yn gyfammod pobl, ac yn oleuni cenhedloedd:" Esa. xlii. 6.

2. *Etholodd y Tad yr etholedigion, a rhoddodd hwynt i'r Mab i'w prynu ganddo oddiwrth farwolaeth.* "Eiddot Ti oeddynt, a Thi a'u rhoddaist hwynt i Mi." "A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd I; o'r cwbl a roddes efe i Mi, na chollwn ddim o hono, eithr bod i Mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf" "Fy Nhad I, yr hwn a'u rhoddes i Mi, sydd fwy na phawb:" Ioan xvii. 6; vi. 39; a x. 29. "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist: megis yr etholodd

Efe ni ynddo Ef cyn seiliad y byd; fel y byddem yn santaidd ac yn ddifeius ger ei fron Ef mewn cariad, wedi iddo ein rhagluniaethu ni i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo ei hun:" Eph. i. 3—5.

3. *Addawodd y Tad i'r Mab bob cynnorthwy angenrheidiol yn nygiad yn mlaen Ei waith fel Cyfryngwr, a gwobr ogoneddus fel taledigaeth am Ei ddyoddefiadau.* Am hyny cawn adnodau fel y canlynol:—"Wele Fy Ngwâs yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal: rhoddais Fy Ysbryd arno:" "Ni phalla Efe, ac ni ddigalona, hyd oni osodo farn ar y ddaear." "Myfi Jehofah (y Tad) a'th elwais mewn cyfiawnder, ac ymaflaf yn Dy law, cadwaf Di hefyd." "A Mi a'th gadwaf, ac a'th roddaf yn gyfammod y bobl." "Pan osodo Efe ei enaid yn aberth dros bechod, Efe a wêl ei hâd, Efe a estyn ei ddyddiau; ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn Ei law Ef. O lafur Ei enaid y gwēl, ac y diwellir: Fy Ngwâs cyfiawn a gyfiawnhâ lawer trwy Ei wybodaeth: canys Efe a ddwg eu hanwireddau hwynt. Am hyny y rhanaf iddo ran gyda llawer, ac Efe a rana yr ysbail gydâ'r cedyrn: Esa. xlii. 1, 4, 6; xlix. 8; liii. 10—12.

Y mae i'w sylwi, fod yr holl addewidion hyn a wnaed i'r Gair Tragywyddol, yn meddu cyfeiriad *rhag-olygol* at Ei ymgnawdoliad, a'i gymmeriad gan hyny o natur ymddibynol. O ganlyniad, nid oes dim yn afresymol yn y cyfryw addewidion ag y mae y naill Berson dwyfol yn ei wneuthur i'r llall, oblegid y maent oll yn honi pennodiad y Mab i waith Cyfryngwr, a'i ymrwymiad i ddyfod yn ddyn cynnefin â dolur, yn nghyflawnder yr amseroedd. Yn y rhagolwg ar gyflawniad yr ymrwymiadau cyfammodol hyn, ar rhan y Mab, yr ydym yn cael y Tad yn addaw ei "gynnal a'i gadw," a'i wobrwyo Ef. Fel y Duwddyn arfaethedig y derbyniodd y Gair Tragywyddol yr addewidion graslawn hyn.

II. Yn y Cyfammod hwn, gwnaeth Mab Duw rai ymrwymiadau neillduol:—

Cytunodd i ymgnawdoli, "Yna y dywedais, Wele yr ydwyf yn dyfod, yn rhol y llyfr yr ysgrifenwyd am danaf. Da genyf wneuthur dy ewyllys Di O Fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." "Wele ei wobr gyd ag

Ef, a'i waith o'i flaen." "Efe a ddwg allan farn at wirionedd." "Efe a fawrha dy gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus:" Salm xl. 7, 8; Esa. xl. 10, xlii. 3, 21. Cydsyniodd i fod yn "ddirmygedig a diystyraf o'r gwyr," yn "wr gofidus a chynnefin â dolur," i "gymmeryd ein gwendid, ac i ddwyn ein doluriau," i gael ei "archolli am ein camweddau, a'i ddryllio am ein hanwireddau, fel yr iachëid ni trwy ei gleisiau Ef." Efe a ymostyngodd i gael "ein hanwiredd ni i gyd wedi eu rhoddi arno Ef; i gymmeryd "pla camwedd pobl Dduw arno," i "dywallt Ei enaid i farwolaeth," i gael Ei "dori o dir y rhai byw," i "wneuthur Ei fedd gyd â'r rhai anwir," i fod "gyd â'r cyfoethog yn Ei farwolaeth," i "osod Ei enaid yn aberth dros bechod," ac fel yma i "ddwyn ein hanwireddau," ac i "eiriol dros y troseddwyr." Ac am y gwasgfeuon annhraethadwy hyn, yr oedd y Mab i dderbyn gwobr gyfraddol ag ardderchogrwydd Ei berson fel Duw-ddyn, a dyfnder Ei ymddarostyngiad fel aberth dros euogrwydd dynol. Yr oedd i "osod barn ar y ddaear, a'r ynysoedd hefyd oeddynt i ddysgwyl am ei gyfraith Ef." Yr oedd i gael Ei "roddi yn gyfammod pobl, yn oleuni cenhedloedd, i agoryd llygaid y deillion, i ddwyn allan y carcharor o'r carchar, a'r rhai a eisteddent mewn tywyllwch o'r carchardy:" Esa. xlii. 4. 6. 7. Yr oedd i gael ei "lunio yn nghroth y forwyn," i "ddychwelyd Jacob atto Ef, ac Israel a gesglir atto Ef (diau mai y darlleniad a roddir yn y Keri * o'r adnod hon, yw yr un cywir, yr hwn sydd yn gosod lô am laô). A gogoneddus fyddaf fi yn ngolwg Jehofah, a'm Duw fydd fy nerth.† Ac efe a ddywedodd, "Gwael yw dy fod yn was i mi, i gyfodi llwythau Jacob, ac i adferu rhai cadwedig Israel. Mi a'th roddaf hefyd yn oleuni i'r cenhedloedd, fel y byddych yn iachawdwriaeth i Mi hyd eithaf y ddaear:" Esa. xlix. 5. 6. Yr oedd i gael "gweled Ei had," i "estyn Ei ddyddiau," ac yr oedd "ewyllys yr Arglwydd i lwyddo yn Ei law Ef." Yr oedd i gael "gweled o lafur ei enaid a'i ddiwallu," i "gyfiawnhau llawer trwy wybodaeth o'i enw a'i waith santaidd," i "eistedd ar yr Orsedd,"

* Darlleniad ymyl ddalenol yn y Beibl Hebraeg. Cyf.

† "Am hyny, gogoneddus ydwyf fi yn ngolwg Jehofah." Gwel. Boothroyd, ac ymyl y ddalen.

i fod yn "offeiriad ar Ei Orsedd," ac i gael Llywodraeth pob peth ar Ei ysgwyddau.

III. AC YR OEDD A FYNAI YR YSBRYD GLAN A'R CYFAMMOD GOGONEDDUS HWN :—

Am hyny mae'r Cyfryngwr yn cael ei arddangos fel yn dywedyd, "Yr Arglwydd Dduw a'i Ysbryd a'm hanfonodd:" Esa. xlviii. 16. Y corff a ddarparwyd i'n Harglwydd a gynnyrchwyd yn nghroth y forwyn gan yr Ysbryd Glân (Luc i. 35). Yr oedd y natur a ddarparwd i'r Messiah i gael ei haddurno â phob rhinweddau a grasusau dynol gan yr un Ysbryd. Yr oedd y Cyfryngwr i gael Ei eneinio â'r enaint santaidd hwn yn "fwy nâ'i gyfeillion:" Salm xlv. 7. Yr oedd yr "Ysbryd i gael ei roddi iddo Ef nid wrth fesur:" Ioan iii. 34; i "orphwys arno Ef," i "wneuthur Ei ddeall Ef yn fywiog yn ofn yr Arglwydd:" Esa. xi. 1—5. A'i gadw rhag "pallu neu ddigaloni:" Esa. xlii. 4. Yr oedd y Gweithredydd Dwyfol hwn i "ddwyn meibion Crist o bell, a'i ferched o eithaf y ddaear:" xliii. 6. I "wneuthur Ei bobl yn ewyllysgar yn nydd Ei nerth," Salm cx. 3; i argyhoeddi y byd o bechod, o gyfiawnder, ac o farn i ddyfod; i "sancteiddio credinwyr," i "ogoneddu Crist," i dystiolaethu am Grist, ac i "gymmeryd o bethau Crist a'u mynegu i ni;" "i'n tywys i bob gwirionedd," ac i "aros gyda yr Eglwys fel ei Dyddanydd yn dragywydd." Efe a ymgymmerodd â "chyfodi ein Harglwydd o feirw," ac i "fywioccâu hefyd gyrff marwol y saint" yn y dydd diweddaf: Rhuf. viii. 11. Fel yma, yr oedd Efe drwy y cwbl oll i fod yn *roddwr arbenig bywyd.*

Ac yn gymmaint a bod ganddo Ef ran yn holl drefniadau cyfammod cariad prynedigol, y mae Efe yn ABL i "chwilio pob peth, ïe, dyfnion bethau Duw hefyd," 1 Cor. ii. 10; i ddysgu y saint i "weddio yn ol ewyllys Duw," Rhuf. viii. 26, 27; ac i "fynegu i ni bethau Crist," Ioan xvi. 14. Mae Ef yn "edwyn pethau Duw," ac yr oedd yn gyfrinachol yn Ei holl fwriadau. "Pethau Duw nid edwyn neb ond Ysbryd Duw:" 1 Cor. ii. 11. Fel yma, yr ydym yn gweled "cariad yr Ysbryd" yn cael ei ddadguddio yn dragywyddol gyd-gordiol â chariad y Tad a'r Mab. Canfyddwn y Drindod bendigedig yn ymrwymedig mewn gwaith cyffredin,—*iachawdwriaeth yr eglwys;*

ac yn ein prynedigaeth bresenol a thragywyddol gwelwn ffrwyth ardderchog "cyfammod wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr."

*Mae y cyfammod hwn yn henach nâ'r greadigaeth, oblegid y mae yn dragywyddol.* Dywedir fod Duw y Tad wedi "ethol Ei bobl yn Nghrist cyn seiliad y byd:" Eph. i. 4. "Eneiniwyd Iesu yn Gyfryngwr mewn arfaeth a chyfammod, er tragywyddoldeb, er y dechreuad, cyn bod y ddaear:" Diar. viii. 23. "Yr oedd Ei fynediad allan (mewn cariad at yr eglwys) o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb:" Mic. v. 2. "Rhoddwyd i ni arfaeth a gras y Tad yn Nghrist Iesu cyn dechreu y byd:" 2 Tim. i. 9. Iesu, fel cynnrychiolydd holl gorff y ffyddloniaid a dderbyniodd yr arfaeth a'r gras hwn, yn eu henw, ac ar eu rhan. Fel hyn "yr addewid o fywyd tragywyddol iddynt hwy, a wnawd gan y digelwyddog Dduw i Iesu Grist cyn dechreu y byd:" Tit. i. 2. Nid oedd dim a allai gymhell y Tragywyddol Dri yn Un i wneuthur y fath gyfammod, ond cyd-ymdeimladau *(yearnings)* tosturi gwirfoddol ac anfeidrol. Mae etholedigaeth, yn "etholedigaeth gras:" Rhuf. xi. 5, 6. "Gras" oedd a "roddwyd i ni yn Nghrist Iesu cyn dechreu y byd:" 2 Tim. i. 9. "Rhagluniaethodd Jehofah ni i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo ei hun, yn ol boddlonrwydd ei ewyllys Ef, *er mawl gogoniant ei ras ef:*" Eph. i. 5, 6.

Yn mhellach, *nid yw cadernid a pharhad y cyfammod hwn yn ymddibynu ar ddim y sydd i'w wneuthur genym ni.* Ei unig ammod yw gwaith Crist. Mor bell ag y perthynai a'n Harglwydd, yr oedd y cyfammod yn un o weithredoedd. Yr oedd Ei "wobr gydag Ef, a'i waith O'i flaen:" Esa. xl. 10. Yr oedd ganddo i "gwblhau y gwaith a roddwyd iddo i'w wneuthur, i ogoneddu Ei Dad ar y ddaear:" Ioan xvii. 4; i "wneuthur cymmod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder tragywyddol:" Dan. ix. 24. Nid oes i'r cyfammod o brynedigaeth rhwng y Drindod Santaidd un ammod arall. Gan hyny, pan glybu y cyfanfyd y groch-floedd aruthrol hono, "GORPHENWYD," clybu gadarnhad tragywyddol y cytundeb hwn o Ddwyfol gariad. Cyflawnwyd ei ammod mawr hyd yr hatling (neu y mymryn lleiaf), ac o hyn allan, mae holl addewidion

Duw yn "Ie ac yn Amen yn Iesu Grist:" 2 Cor. i. 20.

Mor bell ag y perthyn i ni, mae iachawdwriaeth i gyd o ras; mor bell ag y perthyn i Iesu Grist, Ei wobr yn ein iachawdwriaeth ni yw ffrwyth Ei waith haeddiannol. Mae Jehofah, o ran dim teilyngdod o'r eiddom ni, yn ein hachub, "*heb arian ac heb werth,*" ond mae yn ein rhoddi i'w Fab fel gwobr am arteithiau ofnadwy Gethsemane a Chalfaria. Yr ydym ni yn derbyn iachawdwriaeth yn rhad, ond mae Iesu wedi ein prynu â phris ingoedd a gwaed ei galon ei Hun. Yr oedd gan Iesu yn nghyntaf i offrymu ei "enaid yn aberth dros bechod," ac yna i gael "gweled ei had."

Mae y cyfammod o gariad prynedigol felly yn berffaith a chyflawn—dim yn eisiau. Mae wedi ei "luniaethu yn hollol ac yn sicr." Mae yn diogelu i'r holl eglwys bob gras angenrheidiol i'r bywyd hwn, a gogoniant yn y bywyd dyfodol. Y mae yn ein "bendithio ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist:" Eph. i. 3. Nid ymedy gan hyny y cyfammod hwn byth. Ni ellir ei gyfnewid na'i ddiddymu, eithr erys pan fyddo y bryniau tragywyddol, a'r holl elfenau yn toddi yn nghyd gan dân y golosgiad mawr diweddaf; a phan y bydd y "nefoedd a'r ddaear newydd" wedi ymgyfodi o'r dinystr cyffredinol, yn arwênol a phrydferth fel dychweliad y gwanwyn ar ol gauaf o genllysg, ac eirwlaw, ac ystormydd. Bydded i efrydydd duwiol yr Ysgrythyr Santaidd ymdrechu cyfodi fyny i werthfarwrogiad o'i sefyllfa fel yn gyfranog yn y cyfammod hwn o gyfammodau.

Yr ymwybodolrwydd o'i fod wedi cael ei gofleidio yn y cyfammod hwn oedd yn cysuro ein henwog Frenin Puritanaidd, Oliver Cromwell, yn ei fynydau olaf, "Pan safodd ei wraig a'i blant o'i amgylch yn wylo, dywedodd, 'Na cherwch y byd hwn. Yr wyf yn dywedyd i chwi, mai nid da fyddai i chwi garu y byd hwn. Na, blant, byddwch fyw fel Cristionogion. Yr wyf yn gadael i chwi y cyfammod i ymborthi arno.'" Ac unwaith, pan yn myfyrio ar y cyfammod gogoneddus hwn, fe'i clywwyd yn dywedyd, "Holl addewidion Duw ynddo Ef, ydynt Ie, ac ynddo Ef, Amen; er gogoniant Duw trwom ni—trwom ni yn Iesu Grist." "Mae yr Arglwydd wedi fy llanw i a

chymmaint sicrwydd O'i faddeuant a'i gariad ag a all fy enaid ddal." "Credwyf fy mod yr adyn truanaf o neb sydd yn byw, ond yr wyf yn caru Duw, neu yn hytrach, fe'm cerir i gan Dduw." "Yr wyf yn goncwerwr, a mwy nâ choncwerwr, trwy Iesu Grist yr hwn sydd yn fy nghynnal." (*Carlyle's "Letters and Speeches of Oliver Cromwell," vol. iii. pp.* 454, 455). Fel yma y cysurwyd mynydau olaf llywodraethwr penaf a rhagoraf Lloegr, gan gyfammod cariad prynedigol. Ymdreched y darllenydd fyw yn ngoleuni ei addewidion, a bydded i'w ogoniannau eleuo iddo hefyd "lyn cysgod angau!"

Y mae yn aros i ni adgofio ein darllenwyr o'r *pwysigrwydd o beidio camsynied y cyfammod hwn am rai ereill a nodir yn yr Ysgrythyr Santaidd.* Y mae llawer o au-athrawiaeth wedi cyfodi oddiar ddiffyg sylw i'r awgrym hwn. Mae y cyfammod gweithredoedd a wnaethwyd ag Adda yn Mharadwys, a'r cyfammod cenedlaethol a wnaethwyd a'r Iuddewon ar Sinai yn gwbl wahanol i hwn. Ac mae hyd y nod y cyfammod o ras a wnaed ag Abraham, ac ynddo ef, a'i holl had ysbrydol—hyny yw, a'r rhai oll ydynt gyfranog ag ef mewn "cyffelyb werthfawr ffydd:" (Gwel. Rhuf. iv. a Gal. iii.) yn hytrach yn flaguryn oddi ar gyfammod prynedigaeth, na'r un peth. Y cyfammod a wnaed â Iesu Mab Duw yw *sylfaen* y cyfammod hwnw trwy yr hwn y mae Jehofah yn cydsynio i ddyfod yn Dad pawb a gredant yn had addawedig Abraham—y Messiah. Mor bell ag y perthynai y cyfammod a wnaed ag Abraham â'r genedl Iuddewig, fel y cyfryw, nid ydoedd ond argraffiad boreuach o'r cyfammod a gadarnhawyd wedi hyny ar Sinai. Y cyfammod ag Abraham fel tad y genedl Iuddewig a ddygai berthynas â bendithion tymhorol a rhagorfreintiau allanol: y cyfammod ag Abraham fel tad y ffyddloniaid a ddygai berthynas â thrugareddau ysbrydol a breintiau cadwedigol. Yr oedd y blaenaf yn gyfammod gweithredoedd, a'r olaf yn gyfammod gras. Nid oedd un cyssylltiad hanfodol rhwng y blaenaf a chyfammod prynedigaeth; yr olaf ydoedd ddadblygiad ohono yn ngoruchwyliaethau Duw tuag at ddynion.

Y mae yn rhaid, gan hyny, i'r efrydydd mewn duwinyddiaeth fod yn ochelgar rhag priodoli iaith sydd yn gym-

hwysiadol i'r cyfammodau is-raddol hyn at y cyfammod mwyaf gogoneddus hwnw o'r cwbl ar ba un yr ydym ni yn traethu yn y bennod hon; os amgen, efe a syrth i syniadau annheilwng iawn o'i natur a'i ddarpariadau.

Llefarir yn fynych am y cyfammod a wnaed â Dafydd, fel yn gysgodol o'r un hwnw a wnaed â Christ. Mae y cyfammod hwn yn cael ei osod allan yn hyawdl yn Salm lxxxix, i'r hon yr edrycha y darllenydd drosto ei hun, gan sylwi yn neillduol ar yr adnodau canlynol, o'r 1af hyd y 4edd, ac o'r 19eg hyd y 37ain. Ond y mae yr iaith orfoleddus hon yn cael ei chanlyn gan alarnad gyffrous yr eglwys am doriad ymddangosiadol y cyfammod hwn gan Dduw, fel yn arddangosedig yn adfydau y cyfnod yr oedd hi yn byw ynddo. Gwel. o'r 38ain hyd 51ain adnodau. Er hyny mae yn dirwyn i fyny mewn iaith o orfoledd. "Bendigedig fyddo yr Arglwydd yn dragywydd. Amen ac Amen:" adn. 52. Tri chann mlynedd wedi marwolaeth Dafydd, dysgrifiodd Esay fel hyn, yn brophwydoliaethol gyhoeddiad yr efengyl yn mysg y cenedloedd, yn ganlynol i farwolaeth y Messiah: "Gogwyddwch eich clust, a deuwch attaf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid: a mi a wnaf gyfammod tragywyddol â chwi, sef *sicr drugareddau Dafydd*. Wele, rhoddais ef yn dyst i'r bobl, yn flaenor ac yn athraw i'r bobloedd. Wele, cenedl nid adweini a elwi, a chenedloedd ni'th adwaenai di a red attat, er mwyn yr Arglwydd dy Dduw, ac o herwydd Sanct Israel: canys Efe a'th ogoneddodd:" Esa. lv. 3—5. Pan fyddo Duw yn cymmeryd credadyn i gyfammod ag Ef ei Hun, nid yw yr amgylchiad hwn ond cyflawniad yn yr achos unigol hyny, o ddarpariaethau cyfammod y prynedigaeth; a'r bendithion a dderbyn y cyfryw gredadyn ydynt "sicr drugareddau" y Dafydd gwrth-gysgodol—Iesu Grist.

## PENNOD II.

### ETHOLIAD YR EGLWYS YN NGHRIST IESU I FYWYD TRAGYWYDDOL.

YR ydym yn awr yn dyfod i wneuthur ymchwiliad i gwestiwn bywydol mewn duwinyddiaeth Gristionogol, yr athrawiaeth o etholedigaeth, yr hon y mae cymmaint o

ddadlu wedi bod yn ei chylch, a gwirionedd a orwedd wrth sylfaen yr holl oruwch-adeiladaeth o brynedigaeth; a rhaid yw i'n golygiadau ni am dani, effeithio ar y dull yr ymdriniwn â chynllun yr iachawdwriaeth trwy ras.

Ni wna y tro, gan hyny, i draethu ar y cwestiwn hwn fel pe byddai ddim ond damcaniaeth, o barthed i'r hon ni fyddai o nemawr pwys pa un ai cywir ynte annghywir fyddent ein golygiadau yn ei chylch. Na, os mai etholedigaeth, neu ragarfaethiad i fywyd tragywyddol yw ffynonell iachawdwriaeth, yna, mae yn rhaid penderfynu YMA y ddadl fawr, pa un a yw iachawdwriaeth o ras, ynte o weithredoedd. Hon yw Thermopylæ y ddadl Arminaidd a Chalfinaidd. Os yw etholedigaeth o weithredoedd, yna, rhaid fod iachawdwriaeth o weithredoedd; mae y casgliad yn annocheladwy. Os dewisodd Duw rai dynion i fywyd tragywyddol, oblegid rhagweled ohono y byddent yn well nag ereill, yna yr oedd eu hetholedigaeth o weithredoedd, ac y mae ganddynt le i ymorfoleddu. Ni ddichon un rhesymeg ymosod ar y canlyniad amlwg hwn. Fel hyn y gesyd yr Apostol Paul yr achos: "Felly gan hyny y pryd hwn hefyd y mae gweddill yn ol etholedigaeth gras. Ac os o ras, nid o weithredoedd mwyach; os amgen, nid yw gras yn ras mwyach. Ac os o weithredoedd, nid yw o ras mwyach; os amgen, nid yw gweithred yn weithred mwyach:" Rhuf. xi. 5, 6. Am hyny, y mae yn eglur, y rhaid i'n golygiadau ar y pwnc hwn, nawsu *(tinge)* y cwbl o'n duwinyddiaeth. Os credwn yn etholedigaeth pechaduriaid i fywyd tragywyddol, yn annibynol ar eu teilyngdod personol hwy, ac o ewyllys benarglwyddiaethol a ffafr Duw yn unig, cawn ras yn teyrnasu trwy yr holl raddau, trwy y rhai y mae y bwriad dwyfol hwn i gael ei ddwyn i gyflawniad. Ond credu mewn etholedigaeth i fywyd, *yn seiliedig ar deilyngdod personol rhagweledig* yw gwenwyno athrawiaeth Gristionogol yn llygad y ffynon, a'i llygru trwy ei holl ffrydiau. Os mai santeiddrwydd dyn yw *achos*, ac nid *effaith* dewisiad Duw ohono, yna, rhaid i ni ymwrthod â'r athrawiaeth o iachawdwriaeth hollol rad ac anhaeddiannol! Felly mae y pwnc ger ein bron yn gwisgo agwedd o bwysigrwydd ymarferol. Rhaid i'r penderfyniad ohono gario dylanwad grymus ar ein bywyd ys-

brydol naill ai er gwell neu er gwaeth. Gwna golygiadau iawn ar yr athrawiaeth o etholedigaeth anrhydeddu Duw yn nghadwedigaeth yr eglwys; tra y sathr syniadau cyfeiliornus ar y pwnc mawr yma, yr anrhydedd hwnw yn y llwch. Bydded i ni gan hyny ymdrechu yn barchus a duwiolfrydig i gael allan beth sydd gan yr Ysgrythyrau i ddyweyd ar y pwnc pwysigfawr hwn. Y mae y cyfryw wirionedd ag etholedigaeth, bydded i ni benderfynu beth ydyw yn wirioneddol.

1. *Etholedigaeth yw dewisiad, nid cenedloedd, eithr unigolion.* Rhaid peidio cymmysgu yr etholedigaeth am yr hon y traethwn ni yma, a dewisiad y genedl Iuddewig i fwynhad o ragorfreintiau allanol pennodedig, y rhai sydd wedi eu dilëu oblegid eu gwrthodiad o'u Harglwydd. Yr oedd hwnw yn drefniant tra gwahanol i hwn. Ac er hyny mae duwinyddion Arminaidd yn dra thueddol i ddyfynu adnodau yn perthyn i'r naill etholedigaeth, fel pe byddent yn eglurebau pendant o'r llall. Y mae yn eglur fodd bynag, fod hyn yn anfeirniadol ac anrhesymegol. Nis gall natur a chanlyniadau dewisiad Duw o'r Iuddewon i fwynhad o freintiau neillduol, roddi i ni ddim goleuni ar etholiad i iachawdwriaeth, unig Eglwys wirioneddol Crist, wedi ei chasglu o bob oes, gwledydd, a phobloedd. Yn yr achos blaenaf, cenedl a ddewiswyd; yn yr olaf, dynion unigol. Ond mewn gwirionedd, dewisiad cenedloedd yw dewisiad unigolion; oblegid mae y rhanau yn wastad yn cael eu cynnwys yn y cyfanswm, fel nas gellwch ddewis y cyfanswm, heb ddewis y rhanau. Mae gwybodaeth Jehofah wedi bod erioed yn anfeidrol gywir. Yr oedd ganddo bob amser fanylion eithaf Ei weithredoedd o'i flaen. O ganlyniad, pryd y byddo Efe yn gwneuthur dewisiad o genedl y mae mewn effaith yn dewis yr holl unigolion a gyfansoddant y cyfryw genedl; fel y mae dewisiad Duw o genedloedd, mewn effaith yn ddewisiad unigolion. Yr unig gwestiwn yw, i ba beth y mae y personau a ddewisir felly yn cael eu hethol?

Ond yr ydym ni yn awr yn traethu rhywbeth mwy goruchel nâ dim ond etholiad cenedl i fwynhad o gyfleusderau a rhagorfreintiau anarferol. Yr ydym ni yn ysgrifenu am ragarfaethiad pechaduriaid unigol i fywyd tragywyddol

trwy Grist Iesu. Fel hyn y mae Paul yn y nawfed bennod o'r Epistol at y Rhufeiniaid yn arddangos Jacob fel wedi ei ddewis yn *unigol* yn hytrach nag Esau, ac mae yn dywedyd fod y dewisiad hwn wedi cael ei wneuthur, "fel y byddai i'r arfaeth yn ol etholedigaeth Duw sefyll:" (Rhuf. xii. 10—16). Ac yn yr holl adnodau sydd yn cyfeirioat yr athrawiaeth hon, y mae pobl Dduw yn cael eu harddangos fel wedi cael eu dewis i'r mwynhad o freintiau personol "sancteiddhâd" (Eph. i. 4), "ffydd i'r gwirionedd" (2 Thess ii. 13), "mabwysiad" "difeiusrwydd" (Eph. i. 5, 4), "iachawdwriaeth" (2 Thess. ii. 13), a "bywyd tragwyddol:" (Ioan xvii. 2, 3). Yn awr, mae y bendithion hyn yn amlwg yn wahaniaethol a phersonol. Y mae yn rhaid gan hyny fod i etholedigaeth, bersonau fel ei gwrthddrychau. Yr oedd pob sant yn wrthddrych cariad tragwyddol Jehovah" "Y mae cadarn sail Duw yn sefyll, a chanddo y sêl hon, Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo Ef:" (2 Tim. ii. 19). Cynghorodd Iesu Ei ddisgyblion i lawenychu oblegid fod eu henwau yn ysgrifenedig ar wahan, ac yn amlwg yn y nefoedd:" (Luc i. 20). Dywedodd ar achlysur arall, "Nid wyf Fi yn dywedyd am danoch oll: Mi a wn pwy a etholais" (Ioan xiii. 18). Wrth y Thessaloniaid crediniol y dywedodd Paul, "Yr ydym yn diolch i Dduw yn wastadol drosoch chwi oll, gan wybod, frodyr anwyl, eich etholedigaeth chwi gan Dduw:" (1 Thess. i. 2, 4). Y mae yn ddianghenrhaid, fodd bynag, i chwanegu dyfyniadau, oblegid y mae yr holl adnodau sydd yn cyfeirio at yr athrawiaeth hon, yn llefaru yn yr un modd. Etholedigaeth yw dewisiad pechaduriaid unigol.

2. *Y mae yr etholedigion wedi eu dewis i fwynhad o iachawdwriaeth sicr a pherffaith.* Etholedigaeth ydyw dewisiad dynion nid i feddiant o *foddion* i gyrhaedd iachawdwriaeth yn unig, eithr i fwynhad sicr o *gadwedigaeth* ei hun. Arddangosir y saint fel wedi eu rhagluniaethu, nid i'r posibilrwydd o fabwysiad, eithr i "fabwysiad;" i "santeiddrwydd a difeiusrwydd ger bron Duw mewn cariad;" i "fawl ei ogoniant Ef:" Eph. i. 4, 5, 11, 12; i "fod yn un ffurf â delw ei Fab Ef," ac mewn gair, i "iachawdwriaeth:" Rhuf. viii. 29; 2 Thess. ii. 13. Y

rhai a ragluniaethodd Jehofah, y rhai hyny y mae Efe bob amser yn eu galw; y rhai a eilw Efe, y rhai hyny a gyfiawnhâ Efe; a'r rhai a gyfiawnhâ Efe, y rhai hyny hefyd a ogonedda Efe: Rhuf. viii. 30. Rhagarfaethiad yw y ddolen gyntaf yn nghadwyn iachawdwriaeth, ac mae yn grogedig wrth yr orsedd dragywyddol ei hun.

Nid yw doethineb Duw wedi gadael dim i ddamwain yn nghadwedigaeth Ei bobl. Byddant yn sicr o fwynhau pob moddion a phob dylanwad angenrheidiol i gyrhaedd bywyd tragywyddol. "Oblegid y mae Duw o'r dechreuad wedi eu hethol hwynt i iachawdwriaeth, trwy santeiddiad yr Ysbryd, a ffydd i'r gwirionedd, i'r hwn y mae Efe yn eu galw hwynt trwy yr efengyl, i feddiannu gogoniant ein Harglwydd Iesu Grist:" 2 Thess. ii. 13, 14.

Mae etholiad pechaduriaid i fywyd tragywyddol yn fwriad grasol, yr hwn ni ellir byth ei ddiddymu. Am hyny, cawn y geiriau nodedig hyny, "Canys cyfyd gau-gristiau a gau-brophwydi, ac a roddant arwyddion mawrion a rhyfeddodau, hyd oni thwyllant, pe byddai bosibl, ie, yr etholedigion:" Matt. xxiv. 24; awgryma y geiriau uchod yn eglur, na ellir byth yn wirioneddol, beryglu diogelwch a chadwedigaeth yr etholedigion, hyd y nod mewn amseroedd o'r perygl mwyaf. Nid oes modd i'w twyllo hwy yn gymmaint, fel ag i'w colli. "Ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o law Iesu:" Ioan x. 28. "Cynghor Jehofah a saif, A'i holl ewyllys o barthed i'w cadwedigaeth bresenol a thragywyddol a wna:" Esa. xlvi. 10.

Yn y dydd mawr diweddaf, ein Ceidwad gogoneddus a roesawa Ei bobl i drigfanau a barotowyd iddynt er seiliad y byd, (Matt. xxv. 34); yr hyn a brawf fod y tad wedi penderfynu mor gadarn ar eu hiachawdwriaeth hwy, fel pan luniwyd y nefoedd, ac y seiliwyd y ddaear, yr oedd lle gogoneddus yn cael ei ddarparu, yn artref dragywyddol iddynt.

Nid yw y golygiad mai dewisiad cyfundebau i feddiant o freintiau, a'u gosodant mewn sefyllfa achubadwy, yw etholedigaeth, ac y gallant trwy ddefnyddiad iawn o'r cyfryw freintiau, sicrhau y ffafr ddwyfol, yn symud ymaith ddim o'r anhawsderau a dybir fod yn nglŷn â'r dehongliad Calfinaidd o'r athrawiaeth. Oherwydd paham, fel yr

addefir gan y rhai a ddaliant y golygiad hwn, os ydyw y moddion â pha rai y mae rhai cenedloedd wedi eu ffafrio yn angenrheidiol er iachawdwriaeth, yna, nis gellir cadw y cenedloedd nad ydynt wedi eu breintio â hwynt, ac mae Duw yn ddiau wedi gweithredu yn benarglwyddiaethol yn nosraniad y moddion angenrheidiol hyn.

Y mae Efe wedi ethol rhai cenedloedd i fwynhad o ragorfreintiau hanfodol i iachawdwriaeth, ac mae wedi gadael ereill hebddynt, yr hyn sydd yn ymarferiad o benarglwyddiaeth mor wirioneddol, â rhagluniaethad arbenig rhai pechaduriaid yn unigol i fywyd tragywyddol, a gadawiad ereill. Nid yw o bwys pa un ai dewisiad cenedloedd, ynte unigolion fydd; neu pa un a fydd y rhagorfraint i'r hon y dewiswyd hwynt yn gadwedigaeth sicr, neu ddim ond mwynhad o foddion cadwedigaeth; y mae yn y naill a'r llall ddewisiad penarglwyddiaethol o bleidiau neillduol.

Ond ein gwrthwynebiad penaf i'r esboniad Arminaidd ar etholedigaeth, yw ei fod yn groes i dystiolaeth y Gair Dwyfol; canys fel yr ydym wedi gweled, mae pobl Dduw wedi eu dewis nid i gadwedigaeth bosibl, eithr cadwedigaeth gyflawn ac anffaeledig.

3. *Mae etholiad pechaduriaid i fywyd tragywyddol yn weithred o ffafr rad a phenarglwyddiaethol.* Mae rhai dynion da yn credu mewn etholedigaeth ammodol. Haerant i Dduw ddewis ei bobl i gadwedigaeth am iddo ragweled y gwnaent edifarhau a chredu. Fel hyn, maent yn gwneuthur daioni rhagweledig yr etholedigion yn rheswm am eu rhagluniaethad.

I'r hyn yr atebwn fod ffydd ac edifeirwch yn rhoddion rhad Duw, ac ni allent gan hyny fod yn sylfaen ein hetholiad. Mae Iesu wedi ei "ddyrchafu i roddi edifeirwch i Israel," ac mae "ffydd yn rhodd Duw," ac yn "ffrwyth yr Ysbryd:" Act. v. 31; Eph. ii. 8; Gal. v. 22. Gan hyny, dyweyd i Dduw benderfynu cadw Ei bobl oblegid iddo ragweled y credent ac yr edifarhaent, yw dyweyd mewn effaith, iddo benderfynu rhoi gras iddynt, oblegid iddo ragweled y gwnai Efe roddi iddynt ras; iddo ordeinio eu dwyn i edifeirwch a ffydd, oblegid Ei fod yn gwybod y dygai Efe hwynt i edifeirwch a ffydd! Gwneuthur rhywbeth ydyw, ar yr un amser, yn achos ac yn effaith yr un

peth—effaith gras Duw, yn achos o ras Duw; Ond pa fodd y gall effaith fod yn achos ei achos?

Heblaw hyny, os dewisodd Jehofah Ei bobl ar y tir Ei fod yn rhagweled rhyw ddaioni neu deilyngdod ynddynt, *yr oedd eu hetholiad, nid yn weithred o ras, eithr o gyfiawnder pur.* Os oes gan ryw bleidiau yn naturiol fwy o hawl i ffafr Duw nag ereill, y mae cyfiawnder yn gofyn am iddynt gael eu dewis yn hytrach nâ'r rhai hyny sydd yn llai teilwng. Mae y golygiad ydym yn ei archwilio o ganlyniad, yn hollol groes i'r athrawiaeth arbenig, mai trwy ras neu ffafr rad yr ydym yn cael ein cadw.

Dywedir yn bendant yn yr Ysgrythyrau, nad ydym yn cael ein dewis ar sail unrhyw ddaioni ynom ni, eithr yn ol ewyllys benarglwyddiaethol Jehofah. "Duw a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd â galwedigaeth sanctaidd, *nid yn ol ein gweithredoedd,* ond yn ol Ei arfaeth Ei hun a'i ras, yr hwn a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu, cyn dechreu y byd"—"Wedi ein rhagluniaethu yn ol arfaeth yr Hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor Ei ewyllys Ei hun:" 2 Tim. i. 9; Eph. i. 11. Y mae yr adnodau canlynol, od oes modd yn fwy eglur a phendant fyth: "Canys cyn geni y plant etto, na gwneuthur o honynt dda na drwg, fel y byddai i'r arfaeth yn ol etholedigaeth Duw sefyll, nid o weithredoedd, eithr o'r Hwn sydd yn galw; y dywedwyd wrthi (Rebecca). Yr hynaf a wasanaetha yr ieuengaf. Megis yr ysgrifenwyd, Jacob a gerais, eithr Esau a gaseais. Beth gan hynny a ddywedwn ni? A oes anghyfiawnder gyd a Duw? Na atto Duw. Canys y mae yn dywedyd wrth Moses, Mi a drugarhâf wrth yr hwn y trugarhâwyf, ac a dosturiaf wrth yr hwn y tosturiwyf. Felly gan hyny nid o'r hwn sydd yn ewyllysio y mae, nac o'r hwn sydd yn rhedeg chwaith, ond o Dduw, yr Hwn sydd yn trugarhau:" Rhuf. ix. 11—16. Gyda y tystiolaethau eglur hyn o ddewisiad rhydd a phenarglwyddiaethol Duw O'I bobl, pwy a feiddia haeru, iddynt gael eu dewis ar sail eu daioni uwchraddol rhagweledig?

Y mae yr Ysgrythyrau Santaidd, bob amser yn gosod allan santeiddrwydd y cadwedigion fel canlyniad, ac nid achos eu hetholedigaeth. Fel yma, dewisodd Duw ni, nid

am iddo ragweled y deuem ni yn santaidd, y cyrhaeddem at fabwysiad, yr ymddyrchafem i feddiant o ddelw Crist, ac y credem y gwirionedd; eithr Efe a benderfynodd ein gwneuthur ni yn santaidd, ein mabwysiadu yn blant iddo, i argraffu arnom ddelw Crist, ein dwyn i gredu y gwirionedd, ac i dderbyn santeiddhad trwy yr Ysbryd Glân. Nid ein ffydd a'n hedifeirwch a sicrhaodd i ni ein etholiad, eithr ein etholiad a sicrhaodd i ni ein ffydd a'n hedifeirwch. Cariad diachosedig a phenarglwyddiaethol Duw, yw ffynonell fawr yr holl fendithion ysbrydol sydd wedi dylifo i lawr i ni. Mae pob da ynom ni yn effaith y cariad hwnw sydd mor ddiachosedig a bodolaeth Jehofah yr Hwn a'n carodd ni felly. Y mae afon bur, dwfr y bywyd yn dylifo o dan *orsedd-fainc* Duw a'r Oen, i arwyddo i ni mai ffafr rad Duw yw y ffynonell o ba un y tardd yr holl drugareddau a roddir i'r eglwys yn awr ac am dragywyddoldeb. Y mae golygiadau iawn ar y cwestiwn ger ein bron yn hanfodol er deall yr egwyddorion sydd yn gorwedd wrth wraidd holl drefn iachawdwriaeth. Os gwir y golygiad Arminaidd, rhaid newid yr iaith Apostolaidd, a dylem ddywedyd,—"Duw a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd, *nid* yn ol ei arfaeth Ei hun a'i ras, yr hwn a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu cyn dechreuad y byd, eithr yn ol ei ragwelediad o'n gweithredoedd da." Bydded i'n heglwysi lynu fyth wrth y gwirionedd mawr a amddiffynir yn yr adran hon: gwirionedd hefyd sydd, tra yn darostwng balchder dynol, yn mawrygu pob priodoledd yn y cymmeriad dwyfol ac yn sicrhau holl ogoniant ein cadwedigaeth iddo Ef, i'r Hwn y perthyna yn gyfiawn!

4. *Y mae etholiad pechaduriaid i gadwedigaeth yn anwahanadwy gyssylltiedig â rhagbennodiad Crist i'r swydd Gyfryngol.* Mae y cyssylltiad sydd rhwng ein hetholiad ni i iachawdwriaeth, â phennodiad Iesu i'w waith Cyfryngol, yn cael ei ddangos yn eglur mewn amryw ranau o'r Ysgrythyr Santaidd; er engraifft, y rhai canlynol:—"Duw a'n bendithiodd ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd, yn Nghrist: Megis yr etholodd Efe ni ynddo Ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeius ger Ei fron Ef mewn cariad." "Arfaeth Duw a'i râs a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu, cyn dechreu y byd."

Yr oedd etholiad yr eglwys gan y Tad, yn "Arfaeth dragwyddol, yr hon a wnaeth Efe yn Nghrist Iesu ein Harglwydd ni: Eph. i. 3, 4; 2 Tim. i. 9; Eph. iii. 11.

Yr athrawiaeth y mae yr adnodau hyn ac ereill cyffelyb yn yr Ysgrythyr Ddwyfol yn ei dysgu ydyw hon: Yn gymmaint ag nas gall Jehovah weithredu nac arfaethu gweithredu yn annheilwng ohono Ei Hun: Efe a benderfynodd i achub pechaduriaid trwy gyfryngdod Ei Fab yn unig, trwy yr hwn drefniant y byddai i'w gymmeriad a'i lywodraeth gael eu hanfeidrol anrhydeddu yn y weithred o roddi maddeuant i'r euog. Megis ag y mae cyssylltiad anwahanadwy rhwng *mwynhad gwirioneddol o iachawdwriaeth* a gwaith y Gwaredwr; felly yn mwriadau trugaredd Ddwyfol, yr oedd y bwriad i gadw yn cymmeryd, neu yn hytrach yn cynnwys, pennodiad y Gair Tragywyddol i'r gwaith mawr o eiriol dros droseddwyr. Ac am hyny mae Llyfr y Bywyd yn cael ei alw yn Llyfr yr Oen, nid yn unig am fod y gyfrol yn Ei ddwylaw Ef, eithr am fod Ei enw yn *flaenaf* yn yr hanes santaidd. Y mae bwriadau trugaredd ddwyfol fel gobeithion y Cristîon, yn cael eu canolbwynt yn y groes; ac mae afon bywyd yn dylifo o dan orsedd-fainc Duw *a'r Oen.*

Ni raid i ni ail adrodd yr hyn a ysgrifenwyd yn barod ar gyfammod prynedigaeth. Ond y mae rhag-drefniadau y cyfammod dwyfol a thragywyddol hwnw, yn taflu goleuni mawr ar yr athrawiaeth o etholedigaeth. Etholodd y Tad Ei Fab cyfuwch-raddol i gyfryngu rhyngddo Ef a dynion euog; ac ymgymmerodd y Mab yn ewyllysgar â'r swydd ogoneddus hon. Yn mhellach, etholodd y Tad oddiar Ei benarglwyddiaeth, dyrfa fawr o'n hiliogaeth, y rhai a neillduodd Efe i fwynhad sicr o fendithion y brynedigaeth trwy Grist. A rhoddwyd y "llestri trugaredd" etholedig hyn i'n Harglwydd fel ymddiriedaeth werthfawr. Er eu mwyn hwy Efe a ymrwymodd, yn nghyflawnder yr amser, i ymddangos mewn cnawd, i ufuddhau i'r gyfraith a'i mawrhau, ac i roddi Ei fywyd yn aberth dros bechod. Ac yr oedd cadwedigaeth yr Eglwys i fod yn wobr Iddo am hyny, a sicrhawyd Iddo gan y Tad, "y câi Efe weled Ei had, ac o lafur Ei enaid a chael Ei ddiwallu."

Mewn perthynas a'r *ffeithiau goruchel hyn* y dywedir i

ni gael ein hethol yn Nghrist. Yr oedd holl eglwys Dduw yn gyfranog yn y trefniant hwn. Pob sant a fu byw, ac a gâ etto fyw ar y ddaear hon, a etholwyd yn neillduol y pryd hwnw gan y Tad, ac a roddwyd i'r Mab, a gwnawd cadwedigaeth y sant hwnw mor sicr, ag y gallai gwirionedd a ffyddlondeb Duw ei gwneuthur. Llefarodd ein Harglwydd bendigedig yn fynych pan ar y ddaear, am Ei bobl fel wedi cael eu rhoddi Iddo Ef, yn y cyfammod tragywyddol. Gan apēlio at Ei Dad, dywedodd, "Mi a eglurais Dy enw i'r dynion a roddaist i Mi allan o'r byd: eiddot Ti oeddynt, a Thi a'u rhoddaist hwynt i Mi" "Rhoddaist i Mi awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist i Mi, y rhoddwn I iddynt fywyd tragwyddol" Ioan xvii. 6, 2. Y mae yn eglur fod yr adnodau hyn, ac ereill tebyg, yn ein dysgu fod yr etholedigion wedi eu dewis allan o'r byd, a'u bod wedi eu rhoddi yn raslawn i'r Mab, i gael bywyd tragywyddol trwy Ei brynedigaeth.

5. *Y mae etholiad yr eglwys gan Dduw yn fwriad tragywyddol.* Bod anfeidrol berffaith yw Jehovah. Ni ddichon un meddylddrych newydd ymgynnyg i'w feddwl Hollwybodol Ef. "Nid oes cyfnewidiad, na chysgod troëdigaeth gyd âg Ef:" Iag. i. 17. Pe arfaethasai Efe rywbeth un amser, yr hyn ni arfaethasai amser arall, mae yn amlwg, y byddai i'w feddwl fyned dan gyfnewidiad; yr hon dyb sydd ar unwaith yn annghydweddol a'i anghyfnewidioldeb a'i berffeithrwydd anfeidrol. *Annichonadwy* yw i'r *hyn* fyddo alluog i dderbyn chwanegiadau, fod yn anfeidrol berffaith. Y mae yn rhaid i chwanegiad wellâu neu waethygu peth; os cynnyrchai chwanegiad at arfaethau Duw yr effaith olaf, yna, y mae yn rhaid y *dinystriai* eu perffeithrwydd anfeidrol; ac os y blaenaf, yna nis gallai Ei arfaethau yn flaenorol fod yn meddu y briodoledd hon. Beth bynag a waethygir, y mae yn rhaid iddo golli ei berffeithrwydd, a pha beth bynag a wellheir, ni all ei fod yn flaenorol berffaith. Y mae yn amlwg oddiwrth yr ystyriaethau hyn, os penderfynodd Duw achub rhyw nifer o bechaduriaid, y rhaid Ei fod wedi arfaethu hyny er tragywyddoldeb.

Y mae genym fodd bynag, rhywbeth mwy nâ rhesymau *casgliadol* i gadarnhau tragwyddolrwydd ein hetholedigaeth

gan y Tad. Yr oedd etholiad y Gair i'r Swydd Gyfryngol, yn ddiammheu, yn dragywyddol. "Er tragywyddoldeb yr eneiniwyd Ef," ac "Efe a rag-ordeiniwyd cyn sylfaenu y byd:" Diar. viii. 23; 1 Pedr i. 20. Ac y mae yr un dyddiad yn cael ei roddi i etholiad y saint ag i etholiad Crist. "Etholodd y Tad ni yn Nghrist cyn seiliad y byd." "Arfaeth Duw a'i ras a roddwyd i ni yng Nghrist Iesu, cyn dechreu y byd:" Eph. i. 4; 2 Tim. i. 9. Nid oedd amser cyn seiliad y byd. Olyniaeth a chyfnewidiad, oeddynt y pryd hyny yn anadnabyddus. Yr oedd y Bôd dwyfol yn preswylio tragywyddoldeb, ac yn foddlawn ar Ei ogoniant a'i wynfydedigrwydd anachosedig. A dyna yw dyddiad etholedigaeth credinwyr. Etholodd Duw hwynt cyn i amser gael bod, rhaid gan hyny, iddo eu hethol yn nhragywyddoldeb. Yr oll y mae y Goruchel Dduw yn ei wneuthur yn nghadwedigaeth a chynnulliad pechaduriaid, y mae yn ei wneuthur "yn ol yr arfaeth dragywyddol, yr hon a wnaeth Efe yng Nghrist Iesu ein Harglwydd ni:" Eph. iii. 11. Ac y mae pob ymddangosiad o ras a chariad dwyfol y mae y byd hwn wedi ei weled, wedi bod yn weithiad allan y rhag-arfaethiad graslawn hwnw.

6. *Y mae yr etholedigaeth hon yn fwriad digyfnewid ac an-niddymadwy.* Y mae bwriadau Duw o barthed cadwedigaeth pechaduriaid fel Ei Hunan, yn ddigyfnewid. Byddai tybied y gwna Duw gyfnewid neu ddiddymu Ei fwriadau graslawn perthynol i'w bobl yn anfri ar Ei berffeithrwydd. Os gwna rhywun yn fwriadol newid ei amcan, rhaid y gwna hyny yn herwydd y naill neu y llall o'r rhesymau canlynol:—Diffyg doethineb yn ffurfiad ei gynllun, neu ddygwyddiad amgylchiadau na ddarfu iddo eu rhagweled na darparu ar eu cyfer, neu ynte gyfnewidiad teimlad y person ei hun. Ond nis gall y naill na'r llall o'r rhesymau hyn byth fodoli gyda y Goruchaf.

*a.* Ni ffurfiodd Ef un cynllun oedd yn ddiffygiol mewn doethineb, ac a safai mewn angen am ei ddiwygio. Y mae pob peth a fwriadodd Ef, ac a wna, yn anfeidrol berffaith, ac ni ellir, o ganlyniad ei newid er gwell, a sicr yw, na ddadleua neb, y gwna Duw ei newid er gwaeth.

*b.* Annichonadwy hefyd ydyw i unrhyw ddygwyddiadau gymmeryd lle, y rhai ni ddarfu iddo Ef eu rhagweled er

tragywyddoldeb, a darparu yn Ei gynlluniau ar eu cyfer; canys "Hysbys i Dduw yw Ei weithredoedd oll erioed:" Act. xv. 18. Yr oedd holl anmherffeitherau a ffolinebau Ei bobl yn bresenol i'w feddwl Ef pan etholodd hwynt i iachawdwriaeth. Pe byddai pechodau credinwyr, gan hyny, yn rheswm digonol y dylai Duw *ddiddymu* Ei fwriad o drugaredd mewn perthynas iddynt, y mae yn sicr y byddent yn rheswm digonol paham na ddylasai hyny erioed fod wedi cael ei *fwriadu*. Ond megis ag na chafodd y ffaeleddau hyn, a ragwelwyd yn eglur, rwystro Jehofah i rag-arfaethu cadwedigaeth yr etholedigion, nis gallant, pan wedi eu cyflawnu, fod yn rheswm digonol dros *ddiddymu* y bwriad dwyfol hyny.

*c*. Ni ddichon un cyfnewidiad chwaith gymmeryd lle yn nheimladau neu syniadau y Bôd Dwyfol. "Ond y mae Efe yn un a phwy a'i trŷ Ef?" Job. xxiii. 13. Nid yw Jehofah yn agored i gyfnewidiad, oblegid y mae Efe yn anfeidrol berffaith ac yn anhygyrch i ddylanwad allanol. Y mae pawb creaduriad yn agored i ddylanwad o'r tu allan iddynt, ac y maent o angenrheidrwydd, gan hyny, yn gyfnewidiol. Ond nid yw Jehofah yn ddarostyngedig i unrhyw ddylanwad felly. Cyfyd Ei holl gynlluniau a'i fwriadau yn naturiol o'i feddwl ei Hun, ac nid yn cael eu hachosi gan ddim o'r tu allan iddo. Oherwydd paham, y mae yn anfeidrol berffaith, a chan hyny yn ddigyfnewid.

Ymddengys o ganlyniad, y rhaid fod bwriadau Duw mewn perthynas i gadwedigaeth Ei bobl yn anghyfnewidiol, canys ni all fod un gwir achos o gyfnewidiad ynddynt.

Y mae annghyfnewidioldeb arfaethau penarglwyddiaethol Duw yn cael ei ddadguddio yn eglur yn yr Ysgrythyrau. Y mae Jehofah "yn mynegu y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt, yr hyn ni wnaed etto, gan ddywedyd, *Fy nghyngor a saif*, a'm holl ewyllys a wnaf:" Esa. xlvi. 10.

Wrth yr eglwys y dywed Jehofah, "A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturio wrth fab ei chroth? Ie, hwy a allant annghofio, etto Myfi nid annghofiaf di. Wele, ar gledr Fy nwylaw y'th argreffais; dy furiau sydd ger fy mron bob amser." "Eithr y mae cadarn sail Duw yn sefyll, a chanddo y sel hon. Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo Ef:" Esa. xlix. 15, 16; 2 Tim. ii. 19.

Yr Athraw ei Hun a ddywedodd, "A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd i; *o'r cwbl a roddes Efe i mi, na chollwn ddim ohono*, eithr bod i Mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf:" Ioan vi. 39. Ymddengys oddiwrth y geiriau hyn, mai penderfyniad anniddymadwy y Tad ydyw i ddim un o'r rhai a roddodd Efe i'w Fab gael ei golli. Y mae Duw wedi dywedyd, os bydd i'w bobl adael Ei gyfraith, a halogi Ei ddeddfau, y bydd iddo ymweled â'u hanwiredd â gwialen cerydd tadol; eithr chwanega yn union; "Ond ni thorraf fy nhrugaredd oddiwrtho (y Mab), ac ni phallaf o'm gwirionedd. Ni thorraf fy nghyfammod, ac ni newidiaf yr hyn a ddaeth o'm genau:" Salm lxxxix. 30—34. Y mae yn amlwg, o ganlyniad, fod yn rhaid i'r arfaeth yn ol etholedigaeth Duw sefyll:" Rhuf. ix. 11.

7. *Yr amcan mawr mewn golwg gan Jehovah yn etholiad pechaduriaid, ydyw gogoniant ei enw Ei Hun.* Dyma yw yr amcan mewn golwg gan Dduw yn Ei holl weithredoedd. Mewn creadigaeth a rhagluniaeth gwneir i bob peth wasanaethu i'r dyben hwn; a dyma ydyw Ei amcan yn y pen draw, yn etholiad a chadwedigaeth pechaduriaid. "Efe a'n hetholodd ni, yn ol boddlonrwydd Ei ewyllys Ei Hun, er mawl gogoniant Ei ras Ef:" (Eph. i. 4—6.) Yr ydym wedi ein "rhagluniaethu yn ol arfaeth yr Hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei Hun, fel y byddem ni er mawl i'w ogoniant Ef:" (11, 12.)

Y mae Jehovah yn oruchel. Nid yw Efe yn derbyn dim oddiwrth neb O'I greaduriaid, eithr Efe yw unig ffynonell Ei wynfydedigrwydd Ei Hun. Efe ydyw daioni goruchel ac oll-ddigonol Ei Hun. Am hyny, y mae yn gallu, ac yn gwneuthur Ei Hunan yn ddyben terfynol Ei holl oruchwyliaethau, heb daflu un anfri ar burdeb Ei gymmeriad. Y mae gogoniant Duw hefyd yn cael ei arddangos yn nedwyddwch Ei greaduriaid, ac i'r graddau y bydd y cyfanfyd yn ymgynnyddu mewn dedwyddwch, y bydd gogoniant mynegol Duw yn cael ei ddyrchafu.

Nis gall creaduriaid wneuthur eu hunain yn brif ddyben eu gweithredoedd, heb bechu, am eu bod yn ddibynol ar y Bôd Dwyfol, ac o dan rwymedigaeth i wneuthur Ei ogoniant Ef yn wrthrych goruchel eu gofal. Pe byddai dyn

yn byw iddo ei hun, byddai yn "yspeilio Duw." Hunanoldeb yw gwreiddyn pob drwg.

Ond y mae Duw yn mawrhau Ei enw, yn nedwyddoliad Ei greaduriaid. Y mae Efe uwchlaw pob peth, drwy bob peth, ac yn mhob peth. yn ffynonell dedwyddwch i'r cyfanfyd ac yn ddyben goruchel pob peth.

Tra-ragorol o ddysglaer ydyw yr arddangosiad a roddir o gymmeriad Duw, yn etholedigaeth a chadwedigaeth pechaduriaid. Y mae yn gorchuddio holl ddysgleirdeb y cyfanfyd yn nghyd. Y mae pob priodoledd yn y Goruchaf wedi ei hamlygu yn y modd egluraf yn nghadwedigaeth colledigion. Yma mae doethineb, cyfiawnder, gwirionedd santeiddrwydd, trugaredd, a gallu, yn canoli *(concentrate)* eu dysgleirdeb mwyaf canaid. Dewisodd Jehovah y tu cefn, tywyll, i euogrwydd a thrueni dynol, fel man i arddangos yn y lliwiau dysgleiriaf, ogoniant Ei berffeithderau. Y mae wedi cyfodi cofadail dragywyddol I'w anrhydedd, o adfeilion y cwymp, ac wedi gwneuthur i'r gyflafan fwyaf erchyll fod yn wasanaethgar er dyrchafiad Ei glodforedd mwyaf.

Nid yw yr arddangosiad hwn o ogoniant dwyfol byth i ddiflanu, nid yw byth i ddarfod ac i gael ei annghofio. Erys yr eglwys brynedig fel cofadail i dragwyddoli yr adgof ohono, wedi i'r ddaear ar yr hon y troedwn ni basio trwy dân puredigol y dydd diweddaf, a dyfod allan yn ddaear newydd, "yn yr hon y bydd cyfiawnder yn cartrefu:" (2 Pedr iii. 13.) Bydd tyrfa nad all neb eu rhifo o saint dedwydd, yn amgylchynu gorsedd Duw byth, ac yn mawrygu yn eu caniadau o fawl, ryfeddodau gras etholedigol a phrynedigaethol.

8. *Y mae ein hetholedigaeth gan y Tad, yn cael ei phrofi gan waith yr Ysbryd ar ein heneidiau.* Ni ddichon i'r gwirionedd cyffredinol fod Duw wedi ethol tyrfa aneirif o bechaduriaid i gadwedigaeth dragywyddol, weini dim cysur i ni, hyd nes y sicrhâom ein hetholiad *personol;* a thrwy adenedigaeth a santeiddiad ein natur gan yr Ysbryd yn unig, y gellir profi hyn i ni.

Y mae rhai Cristionogion a wawdiant y meddylddrych o'u perswadio fod iddynt unryw ran yn nghariad tragywyddol Duw. Profa yr Ysgrythyrau, fodd bynag, fod

yn bosibl i'r Cristion ymgyrhaedd at ryw gymmaint o sicrwydd cysurus, ei fod yn mwynhau y rhagorfraint uchel hon. Pe na fyddai felly, ni allem byth "lawenychu am fod ein henwau yn ysgrifenedig yn y nefoedd:" (Luc x. 20.) Ni wnaethai yr Apostol Paul ddefnydd o'r geiriau "Gan wybod, frodyr anwyl, eich etholedigaeth chwi gan Dduw:" (1 Thess. i. 4.) Ac ni fuasai dim priodoldeb yn nghyngor Pedr, "byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr," h. y. yn amlwg i'ch cydwybodau eich hunain: (2 Pedr i. 10.)

Yr unig gwestiwn gan hyny, ydyw—Beth ydynt y profion diammheuol o'n hetholedigaeth gan Dduw?

*a. Galwedigaeth effeithiol.* "Y rhai a ragluniodd y Tad, y rhai hyny hefyd a alwodd Efe:" (Rhuf. viii. 30.) Am hyny, os yw Duw wedi ein galw ni allan o'r tywyllwch i'w ryfeddol oleuni Ef, ac wedi ein symud o ymerodraeth Satan i deyrnas Ei anwyl Fab,—y mae yn sicr i ni gael ein rhagluniaethu i gadwedigaeth.

*b. Ffydd yn Nghrist.* "Duw a'n hetholodd ni i iachawdwriaeth trwy ffydd i'r gwirionedd:" (2 Thess. ii. 13.) Pawb gan hyny o'r rhai a ddygir i dderbyn y gwirionedd yn y cariad ohono, a'r rhai gan wrthod pob noddfa arall, a ymlochesant yn ngwaith gorphenedig Iesu, a etholwyd yn ddiau gan y Tad, i fywyd tragywyddol.

*c. Cariad at y Gwaredwr.* "A chariad tragywyddol y'th gerais: am hyny tynnais di â thrugaredd:" (Jer. xxxi. 3.) Y mae yn amlwg oddiwrth yr adnod hon, fod pawb a deimlant allu argymhellol Cariad Crist yn eu heneidiau wedi bod yn wrthddrychau cariad tragywyddol Duw. Y mae yr effaith yn profi yr achos. Od oes genym y blaenaf, gallwn yn ddigamsyniol gasglu yr olaf.

*ch. Ymwrthodiad diffuant o bechod.* "Canys y mae cadarn sail Duw yn sefyll, ac arni yr argraff ddyblyg hon, Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo Ef, a Phob un sydd yn enwi enw Crist, ymadawed oddi wrth anghyfiawnder." Y mae pawb o'r rhai y mae yr Arglwydd yn eu hadwaen fel Ei eiddio Ef, yn cael eu dwyn i ymwrthod yn ddidwyll a diffuant âg anwiredd.

*d. Mabwysiad i deulu Crist.* "Duw a'n rhagluniaethodd ni i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo Ei Hun:" (Eph.

i. 5.) Os ydym ni gan hyny wedi peidio a bod yn un mewn calon a chwaeth â'r byd annuwiol, eithr wedi dyfod yn un mewn serch, dymuniad, gobaith a dyben â phlant Duw, gallwn heb ofni siomiant lawenychu yn ein rhan yn nghariad tragywyddol a phenarglwyddiaethol Duw.

*dd. Ein cariad a'n dilyniad wrth wir santeiddrwydd.* "Duw a'n hetholodd ni ynddo Ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn santaidd a difeius ger ei fron Ef mewn cariad:" (Eph. i. 4.) A yw y darllenydd gan hyny, yn ymawyddu ac yn gweddïo am santeiddrwydd cynnyddol? A'i pechod yw ei faich trymaf? Ac a yw puredigaeth ei natur gan yr Ysbryd bendigedig, yn wrthrych mawr ei ddymuniadau, ei ymdrechion, a'i weddïau beunyddiol? Os felly, y mae ganddo yn y sefyllfa meddwl hon, dystiolaeth arall fod ei enw yn ysgrifenedig yn llyfr bywyd yr Oen.

*e. Delw Crist.* "Oblegid y rhai a rag-wybu, a ragluniodd Efe hefyd i fod yn un ffurf â delw Ei Fab Ef:" Rhuf. viii. 29. Yr oedd pawb o'r rhai a ddygent ddelw y Gwaredwr, ac a anadlent Ei Ysbryd, yn cael eu cynnwys yn ddiammheu gan y Tad yn Ei arfaethau o drugaredd.

Os ydym, gan hyny, wedi ein galw yn effeithiol o dywyllwch i oleuni; os ydym yn meddu ffydd ostyngedig yn y Gwaredwr; os ydym wedi teimlo gallu argymhellol cariad dwyfol; os ydym yn galonog a diffuant ymwrthod â phechod; os ydym yn ymwybodol o unolrwydd dedwydd â phobl Dduw; os ydym yn ymsychedu yn ddifrifol a beunyddiol am gymmeriad mwy santaidd; ac os ydym yn teimlo ein bod yn anadlu Ysbryd, ac yn amlygu tymher Iesu Grist, nis gall fod dim rhyfyg ynom, wrth gasglu i ni gael ein hethol gan y Tad i'r etifeddiaeth sicr o ogoniant.

Rhaid i eneidiau pryderus beidio dechreu y gwaith o hunan-ymholiad trwy ofyn pa un a gawsant hwy eu hethol a'i peidio. Eu ymholiad cyntaf ddylai fod, a ydwyf wedi fy ngeni drachefn? ac od oes ganddynt brofion da fod yr Ysbryd Glân wedi eu gwneuthur yn greaduriaid newydd yn Nghrist Iesu, gallant, oddiar y ffaith hon esgyn yn nringfa *(scale)* rhagorfraint a bendigedigrwydd i fyny at gariad etholedigol a thragywyddol y Tad. Os ydyw y darllenydd wedi cael ei lwyr ddychwelyd at Dduw drwy yr Ysbryd Glân, y mae wedi ei brynu gan y Mab, ac yr

oedd wedi ei ddewis i fywyd gan y Tad er tragywyddoldeb. Ond rhaid i eneidiau ymofyngar beidio dechreu ar y gris uchaf yn yr ysgol, eithr ar yr isaf; ac esgyn o hwn i'r rhai uwchlaw.

## PENNOD III

### ATEBION I'R GWRTH-DDADLEUON A DDEFNYDDIR YN GYFFREDIN YN ERBYN YR EGLURHAD CALFINAIDD O'R ATHRAWIAETH O ETHOLEDIGAETH.

Efallai nad oes un gwirionedd dadguddiedig wedi cael mwy o'i gablu nâ'r athrawiaeth o etholedigaeth benarglwyddiaethol ac anammodol.

Yn y bennod hon, cynnygiwn ei hamddiffyn rhag y cyhuddiadau a osodir mor rhyddfrydig wrth ei drws.

1. *Nid yw yr athrawiaeth o Etholedigaeth yn ryw ddamcaniaeth ddiffrwyth, eithr y mae wedi ei bwriadu i fod i'r Cristion, yn ffynnonell cysur a llawenydd ysbrydol.* Rhai dynion a ddywedant, "Os yw yr athrawiaeth o etholedigaeth yn wirionedd, o ba wasanaeth y gall hi fod i eglwys Dduw? I beth y gwnawn ni boeni ein hunain o gwbl yn nghylch y fath bwnc, gan nas gall feddu unrhyw ddylanwad ymarferol, er da nac er drwg?" Ond yn sicr, os yw Jehofah wedi gosod yn ei Air ei hun yr athrawiaeth dan ystyriaeth, y mae yn rhaid ei bod yno i ateb rhyw ddyben da, ac nis gall ei derbyn yn dduwiolfrydig, lai nâ gweini llawer o leshad ysbrydol. Yr ydym hefyd yn cael ein gorchymmyn yn bendant i ymroddi i bob diwydrwydd i wneuthur ein rhan yn y fendith hon yn amlwg, ac i lawenychu yn yr ymwybyddiaeth o'i gwirioneddolrwydd. Fel yr ydym wedi gweled, y mae yn ddichonadwy i ni "wybod ein hetholedigaeth gan Dduw:" 1 Thess. i. 4, 5. Nid ydyw yn fwy o wir fod rhagluniaethad yn sicrhau yn ddifeth alwedigaeth effeithiol, nag ydyw fod galwedigaeth effeithiol yn profi yn eglur ragluniaethad: Rhuf, viii. 29, 30.

Pan yn darllen mynegiadau gorfoleddus saint y cyfnod apostolaidd, y mae yr adfyfyrdodau canlynol wedi effeithio yn fawr ar yr ysgrifenydd lawer gwaith, gan leied o Gristionogion y sydd yn yr amser presenol a allant ddefnyddio y fath ymadroddion â'r rhai hyn gyda chalon hyf a thafod

difloesg! Mae yr iaith o orfoledd santaidd ac ymddiried sicr, mor gyffredin yn mhlith saint yr amseroedd boreuol, wedi marw allan o'r eglwys bron; y mae wedi dyfod yn dafodiaith ysbrydol anarferedig; yn iaith farw a gedwir yn hanesion yr amseroedd gynt, ond nid yn arferedig mwyach yn mhlith proffeswyr. A phaham y mae felly gyda ni? Am nad oes gan grefydd Iesu yr un gafael ar y serchiadau, na'r un gwreiddyn dwfn yn mhrofiad proffeswyr ein hamser ni, ag oedd ganddi yn Nghristionogion yr amseroedd apostolaidd. Canys yr oedd y dysgyblion cyntefig yn llawenhau nid mewn rhagorfreintiau neillduol iddynt hwy eu hunain, eithr mewn trugareddau y rhai yr ydym ni hefyd yn cyfranogi ohonynt. Y mae genym ni yr un ffeithiau, yr un addewidion, a'r un athrawiaethau i'n cynnysgaeddu â gobaith a llawenydd ag oedd ganddynt hwy; ond y mae ein duwioldeb ni yn fwy anwrywol *(emasculated)*, a'n ffydd yn fwy eiddil nâ'r eiddynt hwy. Os ydym yn Gristionogion, gallwn lefain allan gyda chymmaint o briodoldeb â Phaul ei hun, "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau. Pwy yw yr hwn sydd yn condemnio? Crist yw yr hwn a fu farw, ïe, yn hytrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd, yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni:" Rhuf viii. 33, 34. Y Tad Santaidd! dyro I'th eglwys yn gyffredinol ffydd i amgyffred tragywyddolrwydd a gorfawredd Dy gariad, a chyfod ei duwioldeb i *level* â'i braint a'i diogelwch!

2. *Y mae yr athrawiaeth o etholedigaeth yn mhob ystyr yn deilwng o gymmeriad Jehofah.* Y mae y gwirionedd gwerthfawr hwn wedi cael ei waradwyddo yn fynych fel pe yn groes i ddaioni a chyfiawnder y Bôd Dwyfol. Y mae wedi cael ei haeru, "fod Duw, os wedi ethol rhai i fywyd tragwyddol, wedi gweithredu yn annghyfiawn tuag at y rhai hyny, nad yw Efe wedi eu hethol."

Mae yr wrthddadl hon fodd bynag, yn cymmeryd yn ganiatäol fod Duw o dan rwymedigaeth i gadw *pawb* dynion. Hona fod iachawdwriaeth yn ddyled, ddyledus ar Dduw i'n hiliogaeth ni. Oblegid eglur yw, na wna un egwyddor yn fyr o hyn, ddal y cyhuddiad fod Duw yn

annghyfiawn wrth benderfynu cadw dim *ond rhai*. Yn annghyfiawn yn mheth, os *nad* yw iachawdwriaeth yn ddyled, eithr yn rhodd rhad anhaeddianol yn mhob achos y derbynir hi? Pa hawl sydd gan unrhyw ddyn ar Dduw am brynedigaeth. Pe gadawsid pawb iddynt eu hunain, pwy allasai gyhuddo y Goruchaf o droseddu yn erbyn cyfiawnder? Ac os nad oedd y Duw mawr a thragywyddol o dan un rhwymedigaeth i gadw un bôd dynol, yn mheth y gallai Efe fod yn annghyfiawn wrth raglunio rhai i fwynhad o fendith, i'r hon nid oedd gan neb yr hawl leiaf? Oddieithr y dadleuir, fod gan ddynion hawl naturiol i gadwedigaeth, nis gallwn weled fod y grym lleiaf yn yr haeriad fod etholedigaeth yn waradwydd ar gyfiawnder Duw. Nid yw yr athrawiaeth hon ond yn unig yn darparu ar gyfer rhoddiad, i dyrfa nas gall neb eu rhifo, fendith a allasai Jehofah attal yn gyfiawn oddiwrth bob un o feibion a merched Adda.

Os yw y Goruchaf o dan rwymedigaeth i gadw rhyw rai tu allan I'w arfaethau graslawn a phenarglwyddiaethol, rhaid bydd cadwedigaeth yn y cyfryw achosion yn ddyled, ac nid yn weithred o rhad ras. Ond, od oes unrhyw wirionedd yn cael ei ddadguddio yn fwy amlwg nâ'i gilydd yn yr Ysgrythyr Santaidd, hwn ydyw, sef ein bod yn cael ein cadw drwy ffafr rad, "trwy ffydd, a hyny nid o honom ein hunain, rhodd Duw ydyw." Y mae un rhywogaeth o fodau syrthiedig wedi eu gadael heb ffordd o ymwared, a gallasai y Llywydd Tragywyddol ein gadael ninau yn yr unrhyw sefyllfa, a hyny heb un gwarth ar Ei gyfiawnder neu Ei ddaioni. Y mae pawb dynion fel eu gilydd yn annheilwng o'r fendith fawr o fywyd tragywyddol, ac o ganlyniad, nid yw y dewisiad o rai dynion i fwynhad o'r fendith hon, ddim yn annghyfiawnder â neb.

Nis gall gael ei wadu gan un proffeswr efengylaidd, fod Duw yn cadw yn wirioneddol ond rhai. Fod llawer yn golledig sydd ffaith na feiddia un Cristion uniawngred ei hammheu. A thybiwn na feiddia un darllenydd duwiol, beth bynag all fod ei ddaliadau duwinyddol, gyhuddo Duw o annghyfiawnder yn ei waith yn caniatau i hyny fod. Ond os gall Duw gadw dim ond rhai, heb weithredu yn annghyfiawn, gall arfaethu cadw dim ond rhai gyda'r

un priodoldeb. Yr hyn a ellir ei wneuthur yn gyfiawn, a ellir ei arfaethu gyda'r un cyfiawnder, i gael ei wneuthur; os yw Duw gan hyny yn gwneuthur yn gyfiawn mewn cadw dim ond rhai, gall arfaethu yn gyfiawn i gadw dim ond rhai. Nis gall ei fod yn annghyfiawn i ragbenderfynu cynllun gweithrediad, yr hyn sydd ynddo ei hun yn addefadwy gyfiawn.

Nid ydym yn foddlon, fodd bynag, i sefyll ar yr amddifynol yn unig, yn y mater hwn. Yr ydym yn honi yn y modd mwyaf hŷf fod etholedigaeth pechaduriaid i fywyd tragywyddol drwy Iesu Grist, yn lle dianrhydeddu Duw, yn rhoddi i ni yr arddangosiad mwyaf mawreddog O'I briodoleddau dwyfol. Y mae holl enw Jehofah yma yn cael ei addurno yn ddysgleirwych i holl oesoedd amser a thragywyddoldeb. Bydd y weithred hon o drugaredd ddwyfol yn dragywydd "er mawl Ei ogoniant Ef:" Eph. i. 6. (Gwel tud. 18).

3. *Nid yw yr athrawiaeth o etholedigaeth yn rhoddi dim cefnogaeth i ryfyg cnawd-wyllt.* Y mae pethau caledion iawn wedi bod yn cael eu dywedyd weithiau o barthed i duedd foesol yr athrawiaeth o etholedigaeth. Y mae wedi bod yn cael ei haeru fod y cyfryw athrawiaeth yn tueddu i gefnogi proffeswyr mewn pechod a sicrwydd cnawdol. Nid yw yr ysgrifenydd yn gwadu fod dynion drygionus wedi gwneuthur cam felly â'r athrawiaeth. Y mae llai o Antinomiaid athrawiaethol yn y byd, fodd bynag, nag y mae gelynion etholedigaeth yn ei gredu.

Ond pa wirionedd dadguddiedig y sydd a'r nad yw wedi cael cam gan ddynion cnawdol? Y mae hyd y nod yr athrawiaeth fawr o gyfiawnhad rhad trwy gyfiawnder Crist trwy ffydd wedi cael ei gwyrdroi gan annghredinwyr a phroffeswyr gau. Ond gwnawn ni am hyny, wadu neu gelu y gwirionedd bywydol hwn? Os ydym i wrthod neu gelu yr holl athrawiaethau y mae dynion drygionus wedi gwneuthur cam â hwynt, rhaid i ni roddi fyny pregethu yr efengyl yn gwbl. Ai teg ydyw barnu gwirionedd tragywyddol y nefoedd yn ol y defnydd a wna meddwl diaílenedig a llygredig ohono?

Yr ydym yn honi fod yr athrawiaeth o etholedigaeth yn dra gwasanaethgar i hyrwyddiad santeiddrwydd. Yn lle

tueddu i gefnogi credinwyr mewn pechod a phenryddid, y mae o duedd i'w gwneuthur yn fwy awyddus am santeiddrwydd calon a bywyd. Canys, fel yr ydym wedi gweled, "yr ydym wedi ein hethol gan y Tad i fod yn sanctaidd a difeius ger ei fron Ef mewn cariad," wedi ein "rhaglunio i fod yn un ffurf â delw ei Fab Ef," ac wedi ein "hethol i iachawdwriaeth trwy sancteiddiad yr Ysbryd." Am hyny, trwy burdeb bywyd ac ymarweddiad yn unig y gall credadyn wneuthur ei etholedigaeth yn amlwg Bydd amlygrwydd neu anamlygrwydd y profion o'i ran yn y rhagorfraint hon yn cael eu rheoleiddio gan y gradd o'i gydymffurfiad â delw ei Feistr. Ystyriaethau fel hyn a'i gyrant at orsedd gras am chwaneg o santeiddrwydd; gwnant ef yn awyddus am fwy o ymdebygolrwydd i Ysbryd Iesu Grist, a chyffrôant ef i ddefnyddiad ffyddlon o holl foddion apwyntiedig santeiddhad. Y cyfryw, raid fod effeithiau myfyrdod ar yr athrawiaeth hon ar bob meddwl goleuedig a santeiddiol. Y mae y proffeswr sydd yn byw a marw mewn sicrwydd cnawdol, yn ei wneuthur yn ofnadwy eglur, nad oes iddo ef na rhan na chyfran yn y fendith hon. Ar y rhai hyny ydynt yn gwyrdroi yr athrawiaeth yma i wasanaethu eu bwriadau ysgeler eu hunain, y mae yr apostol ysbrydoledig wedi cyhoeddi y ddedfryd ofnadwy, "Y mae eu damnedigaeth yn gyfiawn:" Rhuf iii. 8.

Os edrychir ar y gwirionedd gwerthfawr yn awr dan ymchwiliad, yn ngoleuni *cymhelliad*, ceir ei fod yn meddu dylanwad mawr. Oblegid dengys gariad Duw yn ei dragywyddolrwydd, ei benarglwyddiaeth, a'i anherfynoldeb; ac nid oes un *cymhelliad* mor effeithiol yn ei ddylanwad ar y galon ddynol â chariad, nid oes dim fel cariad i gyffroi i weithrediad ac ymdrech. Am hyny, ni ddichon un dyn duwiol-frydig fwynhau amgyffrediad Ysgrythyrol a phrofiadol o'r athrawiaeth o etholedigaeth heb gael ei oll enaid wedi ei doddi i ddiolchgarwch ac addoliad. Efe a waedda gydâ y bardd saesneg:—

"Love so amazing, so divine,
Demands my soul, my life, my all."

Yn orchfygedig gan y fath amlygiad o drugaredd anfeidrol tuag at un mor annheilwng a'i hunan, efe a ddywed

gydâ gwynepryd wedi ei wlychu gan ddagrau, a llais crynedig gan deimlad dwys a santaidd, "Arglwydd, beth a fynu Di i mi wneuthur? ac i'r awgrym, A drigaf fi yn wastad mewn pechod, fel yr amlhâo gras, yr ettyb gydâ Phaul yn union ac yn ddigllawn, Na atto Duw, a minau wedi marw i bechod, pa wedd y byddaf byw etto yndddo ef:" Rhuf. vi. 1, 2.

4. *Nid yw yr athrawiaeth o etholedigaeth yn gosod un rhwystr gwirioneddol ar ffordd cadwedigaeth unrhyw ddyn.* Y mae a fyno hi â chadwedigaeth yn unig. Nid yw yn dwyn un berthynas a dinystr y colledigion—dim un cyssylltiad o gwbl. Y mae etholedigaeth, fel yr ydym wedi profi, yn weithred o benarglwyddiaeth bur, ac nid oes gan benarglwyddiaeth un lle yn nghospedigaeth drwg, eithr y mae a fyno hi yn unig â'r cyfraniad o ddaioni. Yn nghospedigaeth y colledigion, dim ond cyfiawnder fydd yn cael ei arddangos. Y mae i benarglwyddiaeth a chyfiawnder eu lleoedd pennodol; amlygir y blaenaf yn adferiad y cadwedigion, a'r olaf yn ninystr y rhai anedifeiriol ac annghrediniol. Am hyny, tra mae yr Ysgrythyrau yn priodoli yn unwedd gadwedigaeth yr eglwys i rhad ras Duw, y maent yn gosod allan yr un mor unweddol, mai anedifeirwch ac anghrediniaeth y colledigion, ydynt yr unig achosion o'u colledigaeth; ac y mae yn amlwg oddiwrth y gwahaniaeth hwn yn iaith yr Ysgrythyr ar y ddau bwnc yma, mai nid yr athrawiaeth Antinomaidd o wrthodedigaeth ydyw y casgliad Ysgrythyrol, na'r rhesymegol oddiwrth yr athrawiaeth o etholedigaeth.

Gadewir yr an-etholedigion yn union yn yr un man âg y byddent hwy pe buasai etholedigaeth ereill i fywyd tragywyddol heb fod. Ni fydd ganddynt un achos o gwyn cyfiawn yn erbyn eu Gwneuthurwr. Ni 'chollir hwynt, am y rheswm na fuasent wedi eu rhagluniaethu i gadwedigaeth, eithr am iddynt barhau yn fwriadol hyd y diwedd, mewn cariad at ac ymarferiad o bechod. Y mae yr holl rwystrau ar ffordd cadwedigaeth pechadur, yn bodoli ynddo ef *ei hun* ac nid yw etholedigaeth ond yn unig yn darparu tuag at symudiad y rhwystrau hyn ymaith yn achos nifer mawr o'r hil ddynol. Nid oedd Jehovah o dan un rwymedigaeth i'w symud hwynt oddiar ffordd un bôd dynol,

oblegid nid anffawd dyn yn unig ydynt, eithr ei gamwedd. Ein analluni i wneuthur ewyllys ein Gwneuthurwr sydd analluI moesol, ac o ganlyniad, yn anallu camweddus. Y rhai hyny nad ydynt wedi eu hethol, ydynt yn unig, wedi eu gadael i'w dewisiadau pechadurus; nid oes un rhwystr gwirioneddol a chwanegol arall yn cael ei daflu ar ffordd eu cadwedigaeth. O'u rhydd ewyllys eu hunain y gwnant eu hunain, drwy eu hanwiredd, yn "llestri digofaint wedi eu cymhwyso i golledigaeth;" y mae deddfau Duw yn cymmeryd eu heffaith arnynt, a'r canlyniad yw eu colledigaeth. Y maent yn golledig trwy eu hanufudd-dod gwirfoddol i ddeddfau moesol, pennodol, a sefydlog. Y maent yn gwneuthur eu hunain trwy eu hanwiredd, yn ddarostyngedig i'r gosodiadau sefydlog hyn o eiddo y nefoedd, a'r canlyniad o anghenrheidrwydd, ydyw eu colledigaeth. Nid yw etholiad ereill i fywyd tragywyddol yn creu un rhwystr chwanegol ar ffordd eu gwaredigaeth. Y mae Rhagluniaethad yn darparu gyferbyn a chadwedigaeth rhai, eithr nid yw yn creu un rhwystr ar ffordd cadwedigaeth neb. Bydd y colledigion yn hunan-leiddiaid moesol, ond y prynedigion fyddant yn gof-arwyddion o allu cadwedigol y Goruchaf. "O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun, ond ynof Fi y mae dy gymmorth:" (Hosea xiii. 9.)

Y mae yn ddeddf mewn natur, fod craidd dysgyrchiad *(centre of gravity)* mewn unrhyw gorff materol, pryd y byddo yn annghynnaliedig, yn syrthio tuag at ganolbwynt y ddaear. Y mae hon yn ddeddf sefydlog a digyfnewid oedd yn bodoli cyn i neb o'n darllenwyr gael bodolaeth. Yn awr, pe gobwysai dyn dros glogwyn, hyd nes y byddai i graidd dysgyrchiad yn ei gorff ef, fyned yn annghynnaliedig, cymmerai y ddeddf hon ei heffaith arno, teflid ef bendramwnwgl i'r dyfnder islaw, a chelai ei ddinystrio! Er hyny, ni feddyliai neb am fwrw y bai o'i farwolaeth ar Dduw; ni a ddywedem yn hytrach, iddo ddyfod i'w ddiwedd drwy ei ffolineb ei hun.

Ond y mae hefyd yn ddeddf, oddiwrth yr hon nid yw yr Hollalluog byth yn gwyro, yr hon sydd yn sylfaenedig ar Ei natur Ef ei hun, a'r hon sydd yn cyfodi yn naturiol oddiar ei berthynas Ef â'r cyfanfyd fel ei Lywydd Moesol, *fod yn rhaid i ddyfalbarhad gwrthnysig mewn gwrthryfel*

*hyd y diwedd gael ei gospi.* Dynion wedi eu gadael iddynt eu hunain, ydynt yn gwneuthur eu hunain yn ddarostyngedig i'r ddeddf hon Y maent yn byw ac yn marw mewn anedifeirwch, a'r canlyniad yw, eu bod yn cael eu damnio. Nis gellir dyweyd fod Jehofah yn eu dystrywio, canys y maent yn dystrywio eu hunain. Nid ydynt wedi eu gorfodi i bechu, y maent yn dilyn eu tueddiadau eu hunain; yn ufuddhau i gymhelliadau eu calonau eu hunain; ac mewn gair, yn gweithredu yn mhob ystyr yn rhydd a gwirfoddol. Wrth wneuthur felly, gwnant eu hunain yn agored i ddygasedd naturiol a hanfodol Duw tuag at bechod, ac i weithrediadau deddfau mor hen â'r greadigaeth; a'r canlyniad ofnadwy yw, eu bod yn golledig yn dragywydd!

5. *Nid yw yr athrawiaeth o etholedigaeth yn ymyraeth â seiliau cyfrifoldeb dyn.* Buasai yr hil ddynol yn gyfrifol pe na fuasai etholedigaeth gras yn bod, ac y maent yn parhau felly, er fod y Beibl yn dadguddio bodoldeb y cyfryw fwriad Dwyfol. Mewn gwirionedd, mae yr holl drefniant o gadwedigaeth yn gosod yr athrawiaeth o gyfrifoldeb dynol ger eu bron yn ei goleuni cryfaf, canys y mae cadwedigaeth yn cynnwys fod perygl; perygl yn cynnwys euogrwydd; euogrwydd yn cynnwys troseddiad; a throseddiad yn cynnwys cyfrifoldeb. Pe na fuasai pawb dynion yn gyfrifol, ni fuasai un angenrheidrwydd am etholedigaeth gras, oblegid ni allasai fod y fath beth â throseddiad, a chan hyny, ddim damnedigaeth.

Nid yw fod Duw wedi rhagfwriadu dwyn rhai dynion i gyflawnu eu dyledswydd, yn gwneuthur y ddyledswydd hono yn llai rhwymedig ar yr aelodau ereill o'r teulu dynol. Nis gall fod etholiad Duw o'r etholedigion yn effeithio dim ar gyfrifoldeb yr an-etholedigion; canys nid oes dim cyssylltiad yn natur pethau rhwng y naill a'r llall o'r ddwy ffaith hon. Y mae dynion yn ddyledus am ufudd-dod i'w Gwaredwr; nid yw y cydnabyddiad o'r rhwymedigaeth hon, fodd bynag, ond yn rhanol, a'r lle y mae yn bodoli, y mae yn cael ei gynnyrchu gan ddylanwad dwyfol a graslawn. Ond mae y ddyled o berffaith ufudd-dod, er yn cael ei chydnabod fel hyn ond yn rhanol, er hyny yn gyffredinol ddyledus.

Y mae dynion yn gyfrifol *fel dynion*, yn annibynol ar fwriadau dirgeledig Duw. Y mae dyledswydd dyn i ufuddhau i ewyllys Duw yn ymorphwys ar resymoldeb ei natur, y wybodaeth a feddianna o helaethrwydd ei rwymedigaethau moesol, ac ar y berthynas a ddeil â'r Bôd a'i gwnaeth, ac a'r creaduriaid ereill gyda pha rai y mae yn byw. Nid yw cyfrifoldeb dyn yn ymddibynol ar ei dueddiadau ei hun, nac ar arfaethau Duw; ymorphwysa ar ei sylfaen ei hun, ac y mae yn hollol aneffeithiedig gan fwriadau cadwedigol Jehofah. Mae yn wirionedd sobr y bydd i bob dyn "drosto ei hun, roddi cyfrif i Dduw:" Rhuf. xiv. 12; ac y bydd "rhaid i ni oll ymddangos gerbron brawdle Crist, fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg:" 2 Cor. v. 10. Gall Duw yn gyfiawn ddal dynion yn gyfrifol am ei pechodau, er na phenderfynodd Efe i'w cadw hwynt. Paham lai? Bydd i ddynion gael eu cospi, nid am na etholwyd hwynt i gadwedigaeth, eithr am eu hanwireddau. Eu heuogrwydd fydd y maen melin mawr a'u sudda hwynt i uffern! Nis gallasent fod wedi gweithredu yn fwy gwirfoddol, pe na fuasai un bwriad tragywyddol wedi bod o barthed i'r cadwedigion. Y mae eu rhyddid, a chan hyny eu cyfrifoldeb, yn anniweidiol gan etholedigaeth Duw O'i bobl.

Bydded i'r darllenydd anargyhoeddedig ystyried yn dda y gwirioneddau sobr hyn; ac na fydded iddo roddi ffordd i'r gobaith o allu dianc rhag ei gyfrifoldeb, oblegid bwriadau tragywyddol Jehofah o drugaredd i rai o'r hiliogaeth. Os marw a wna efe yn ei bechodau, bydd yn sicr o ddyoddef trueni annhraethadwy yr ail farwolaeth, pryd yr "ymddengys yr Arglwydd Iesu o'r nef gyd â'i angelion nerthol, a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist: y rhai a ddioddefant yn gospedigaeth, ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddi wrth ogoniant ei gadernid Ef:" 2 Thess. i. 7—9.

6. *Nid yw yr athrawiaeth o etholedigaeth yn niweidio dim ar rydddeb (freeness) a chyffredinolrwydd gwahoddiadau yr efengyl.* Gofynir weithiau, Gyda pha briodoldeb y gellwch alw ar *bawb* dynion i edifarhau a chredu i iach-

awdwriaeth, pan yr ydych wedi eich perswadio na fydd i neb edifarhau a chredu ond yr etholedigion? I'r cwestiwn hwn yr ydym yn ateb, mai dyledswydd pob dyn yn ddiammheuol yw credu yn galonog beth bynag y mae Duw yn ei weled yn dda i'w ddadguddio; ac â'r grediniaeth o'r gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, y mae yr addewid o fywyd tragywyddol wedi ei chyssylltu. Ni ddichon dim fod yn eglurach nâ'r ddau osodiad hyn, ac nid yw yr athrawiaeth o etholedigaeth, i'r graddau lleiaf, yn effeithio dim ar y naill nâ'r llall.

Ond y mae dynion yn naturiol lygredig, ac ni chofleidiant byth alwad yr efengyl, hyd nes y dygir hwynt gan ddylanwad dwyfol i wneuthur hyny; ac nid yw etholedigaeth yn ddim amgen nâ bwriad Jehofah i ddwyn rhyw nifer o'n hiliogaeth syrthiedig i dderbyn y dadguddiedigaethau gogoneddus o drugaredd ddwyfol. Y mae y gorchymmyn i edifarhau a chredu yn orchymmyn i bawb, a gellir gyda chyssondeb ei anog ar bawb. Nid yw helaethrwydd gwahoddiadau a gorchymmynion dwyfol yn cael eu rheoleiddio gan fwriadau anchwiliadwy Duw. "Y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd ein Duw; a'r pethau amlwg a roddwyd i ni ac i'n plant, hyd byth:" Deut. xxix. 29.

Y mae tystiolaeth Jehofah i berson a gwaith Ei Fab, yn cael ei roddi i bawb a feddant yr efengyl; a gofynir gan bob dyn y sydd ganddo y dystiolaeth hono, i'w chredu â'i holl galon; mae yr hawl hon yn gwneuthur y cyfryw grediniaeth yn ddyledswydd pob dyn; a phawb a gredant felly, a fyddant gadwedig.

Y mae yr athrawiaeth o etholedigaeth a'r gwirioneddau pwysig hyn mewn perffaith gyssondeb. Mae gwahoddiadau yr efengyl yn cael eu rhoddi i bawb dynion, ac mae etholedigaeth yn unig yn sicrhau derbyniad y gwahoddiadau hyn gan rai. Mae "Duw yr awr hon yn gorchymyn i bob dyn ym mhob man edifarhau:" Act. xvii. 30. "A hwn yw ei orchymyn Ef; gredu o honom yn enw ei Fab Ef Iesu Grist:" 1 Ioan iii. 23. Fel hyn yr annercha Efe yr annuwiolion, "Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac Efe a gymmer drugaredd arno; ac at ein Duw

ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth:" Esa. lv. 7. Wrth y dyrfa gymmysgedig oeddynt yn dilyn Crist, y dywedodd yr Athraw Dwyfol, "Tra fyddo genych oleuni, credwch yn y goleuni:" Ioan xii. 36. Ar achlysur arall pan oedd rhyw unigolion coeg-ymofyngar yn fawr eu hawydd i chwilio mewn i'r arfaethau dwyfol, gofynasant i'n Meistr y cwestiwn, "Ai ychydig yw y rhai cadwedig? Ni ymostyngodd i ateb y cwestiwn, eithr rhoddodd iddynt y cynghor nodedig hwn, "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng: canys llawer meddaf i chwi, a geisiant fyned i mewn, ond nis gallant:" Luc xiii. 23, 24.

Mae y personau hyny a ddadleuant fod yr athrawiaeth o etholedigaeth yn annghyssonadwy â gwahoddiadau rhydd yr efengyl, yn coleddu golygiadau camsyniol ar natur y ffydd i'r hon y gelwir pechaduriaid, a'r hon sydd yn hanfodol i iachawdwriaeth. Addefwn nas gallwn, gyda phriodoldeb, alw ar bawb dynion i gredu eu bod wedi eu hethol er tragywyddoldeb i gadwedigaeth, oblegid wrth wneuthur felly, byddem yn galw ar yr an-etholedigion i gredu anwiredd. Nid yw pechaduriaid yn un man yn yr efengyl yn cael eu cynghori i gredu eu hetholedigaeth gan Dduw, ac nid yw y cyfryw sicrwydd yn hanfodol i iachawdwriaeth. Pe byddai, anmhosibl fyddai gallu cadw y rhai hyny a wadant yr athrawiaeth o etholedigaeth, a lluoedd o'r rhai ydym yn eu croesawu yn llawen fel brodyr yn Nghrist, fyddent heb un gobaith o'u blaen ond dinystr tragywyddol!

Y mae yn sicr fod yr efengyl yn galw ar ddynion yn ddidwyll i edifarhau am eu pechodau, ac i gofleidio Crist yn galonog; a hyn yw y cwbl y mae hi yn ei ofyn fel yn hanfodol i iachawdwriaeth. Yn awr, gellir rhoddi yr alwad hon i'r an-etholedigion gyda chymmaint o briodoldeb ag i'r rhai hyny a etholodd y Tad, canys dyledswydd pawb dynion fel eu gilydd ydyw edifarhau am eu pechodau, a chredu yn galonog pa beth bynag y mae Duw wedi ei ddadguddio.

Y mae arfaeth benarglwyddiaethol Duw wedi penderfynu nifer y rhai sydd i gael eu dwyn trwy ras i ymostwng i'r alwad gyffredinol allanol; ac nid ydym yn petruso i ddywedyd na fydd i un yn chwaneg dderbyn newyddion

da trugaredd gyda gwresogrwydd a ffydd. Ond nid yw hyn yn ymyraeth â rhydd-deb y cyhoeddiad, nac â rhwymedigaethau dynion i wrando llef Duw. Y mae pechaduriaid, *fel y cyfryw*, dan rwymau i edifarhau am eu pechodau, ac i gredu â'u holl galon y dystiolaeth y mae yr efengyl yn ei dwyn i Fab Duw; a'r rhai hyn yn unig, ydynt y pethau hanfodol i iachawdwriaeth. Rhagorfraint credinwyr, fel yr ydym wedi gweled, ydyw bod yn alluog i gredu yn wirioneddol eu hetholedigaeth bersonol; ond y mae yn drugaredd i ni, nad yw y cyfryw sicrwydd, dymunol fel ag ydyw, yn hanfodol i'n diogelwch. Bydded i bob darllenydd duwiol, fodd bynag, arfer pob diwydrwydd, trwy hunan ymholiad difrifol a ffyddlon, i wneuthur ei alwedigaeth a'i etholedigaeth yn amlwg.

7. *Ni ddylai yr athrawiaeth o etholedigaeth wanychu ein sel yn ein hymgais dros helaethiad teyrnas y Gwaredwr.* Mae y gwirionedd goruchel a eglurir yn y bennod hon a rhai blaenorol, yn rhoddi cynhyrfiad nerthol i lafur egniol a chalonog gydag achos Duw. Y mae yn gwarantu na fydd i ymdrechion yr Eglwys fod yn ofer. Mae Tad pawb oll wedi arfaethu yn sicr, y bydd i had wasanaethu y Mab trwy yr holl genedlaethau, ac y bydd, hyd y nod yn yr amseroedd gwaethaf, "weddill yn ol etholedigaeth gras:" Rhuf. xi. 5. Mae yr Hwn a addolwn wedi dyweyd, "Canys fel y disgyn y gwlaw a'r eira o'r nefoedd, ac ni ddychwel yno, eithr dyfrha y ddaear, ac a wna iddi darddu a thyfu, fel y rhoddo had i'r hauwr, a bara i'r bwyttâwr: Felly y bydd fy ngair, yr hwn a ddaw o'm genau: ni ddychwel attaf yn wag; eithr efe a wna yr hyn a fynnwyf, ac a lwydda yn y peth yr anfonais ef o'i blegid:" Mae effeithiau ein llafur ni nid yn *debygolrwydd twyllodrus*, eithr yn *sicrwydd gogoneddus.*

Cyflawna Jehofah y cwbl a fwriada Efe ei wneuthur trwy ein hofferyngarwch ni. Nid ydym yn ymrwymedig mewn achos ag y mae methiant hollol a pharhaus, hyd y nod yn bosibl. Dywed prophwydoliaeth wrthym fod Jehofah wedi arfaethu i'r dydd ddyfod, pryd y bydd "mynydd tŷ yr Arglwydd wedi ei barotoi ym mhen y mynyddoedd, a'r holl genedloedd a ddylifant atto," Esa. ii. 2, pryd y "plyga pob glin i Grist, ac y twng pob tafod

iddo, xlv. 23, a phryd y rhwymir ac y cauir Satan yn y pydew diwaelod dros fil o flynyddoedd, fel na thwyllai efe y cenedloedd mwyach, nes cyflawnu y mil o flynyddoedd:" Dad. xx. 2, 3. Hysbysa yr un ysbrydoliaeth ni am ddydd mwy dedwydd drachefn, pryd y bydd i holl etholedigion Duw, wedi eu casglu o bedwar gwynt y nefoedd, gael sefyll yn ddifeius ger bron yr orsedd, gan ganu eu caniadau perseiniol, a chwyfio cangau palmwydd buddugoliaeth. Dedwydd fydd sefyllfa yr awdwr a'i ddarllenwyr os ceir hwynt yn eu plith, a dedwyddach fyth, wrth edrych ar y dyrfa santaidd o amgylch, fyddwn wrth ganfod yma ac accw lestr trugaredd, a ffurfiwyd ar y ddaear *trwy ein llafur ni*, i anfarwoldeb a dedwyddwch. Bydded i ni "am hynny, fod yn sicr, a diymmod, a helaethion y'ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a ni yn gwybod na fydd ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd:" 1 Cor. xv. 58. Bydded i ni fabwysiadu fel ein harwyddair, ymadrodd yr apostol, "Am hyny yr ydwyf yn goddef pob peth er mwyn yr etholedigon, fel y gallent hwythau gael yr iachawdwriaeth sydd yng Nghrist Iesu, gyd â gogoniant tragywyddol:" 2 Tim. ii. 10.

## PENNOD IV.

### AMLYGIADAU O DRUGAREDD CYN DYFODIAD CRIST.

Yr ydym yn awr yn dyfod i ystyried yr amlygiadau boreuaf i ddynion syrthiedig o fwriad trugarog Duw o barthed i'w cadwedigaeth.

Rhoddi crynodeb byr o'r arwyddion cyntaf hyn fod cofodiad Haul Cyfiawnder (Mal. iv. 2. a gwawriad dydd yr efengyl drwy Ei ymddangosiad Ef yn dynesu, ydyw yr hyn a amcanwn ni ato yn y bennod hon.

1. *Rhoddwyd amlygiad o drugaredd bron can gynted ag y cyhoeddwyd y felldith gyntefig.* Gwnawd y cyhoeddiad hwn o ras Duw y pryd y cyhoeddwyd y felldith a ddygwyd i mewn trwy wrthrhyfel dyn. Fel hyn y cymmysgwyd barn a thrugaredd yn amgylchiadau y cydymweliad *(interview)* nodedig hwnw rhwng Jehofah y Mab, a'i greadur o ddyn. Cyhoeddwyd y felldith a deilyngid yn *nghyntaf*, oblegid pe na fuasai melldith, ni fuasai angen am brynedigaeth. Ond cyn bod seiniau dychrynllyd y felldith braidd wedi darfod, wele y Gair Tragy-

wyddol, yn Ei ogoniant rag-hanfodol, yn gwneuthur yn hysbys y fendith ddyfodol o'i ymgnawdoliad, a phrynedigaeth trwy Ei ddyoddefiadau. Ymddangosai yn awyddus i fyned oddiwrth y felldith at y fendith. Ni wna ganiatau i gysgod angau ymsefydlu ar ein hiliogaeth, heb roddi hysbysiad uniongyrchol o fywyd ynddo ei Hun. Braidd yr oedd ennyd rhwng y ddedfryd o gollfarnedigaeth a'r hysbysiad o faddeuant. Prysurodd cariad Dwyfol i sychu ymaith y dagrau oedd dychrynfeydd cyfiawnder annghymmodlawn wedi eu hachosi i ddylifo!

A theilwng o sylw ydyw, fod *y fendith i ddyn wedi ei chyhoeddi yn y ffurf o felldith ar Satan.* Yr hyn a wnai ein rhyddhau *ni*, a wnai ddifodi awdurdod drawsfeddiannol ein gwrthwynebydd mawr. Prynedigaeth i ni fyddai yn angau i'w ymerodraeth ef, a *vice versâ*. Yr oedd "Crist i ymddangos fel y dattodai weithredoedd diafol," (1 Ioan iii. 8), ac wrth eu dattod, i brynu pawb credinwyr. Fel yma y rhedai yr addewid gyntaf o drugaredd i ddyn syrthiedig, yr hyn ydoedd yn felldith i'w ddinystrydd. "A Jehofah Elohim a ddywedodd wrth y sarph, am wneuthur o honot hyn, melldigediccach wyt ti na'r holl anfeiliaid, ac na holl fwystfilod y maes; ar dy dorr y cerddi, a phridd a fwyttâi holl ddyddiau dy einioes; gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng dy had di a'i had hithau: efe a ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef: Gen. iii. 14, 15. Y mae yn amlwg fod y felldith hon, er wedi ei chyhoeddi yn nghyntaf ar y sarph, offeryn y diafol, ac wedi ei chyflawnu yn ei hanes, wedi ei bwriadu i syrthio yn benaf ar Satan ei hun. Yr oedd tynged y sarff yn *arwyddlun* tarawiadol o gospedigaeth y Temtiwr, fel y gwel pob darllenydd deallus yn hawdd. Ond cynnwysid yr addewid i ddyn yn y geiriau a berthynent i had y wraig. Yr oedd y brophwydoliaeth hon yn dwyn perthynas â Christ A'i eglwys.

*a*. Dynodir y Messiah yma fel "*had y wraig*," i arddangos ei fod Ef i fod yn *wir ddyn*, ac etto i gael ei gynnyrchu yn nghroth *morwyn* gan allu gwyrthiol Duw.

*b*. Yr oedd Efe i gael "ysigo Ei sawdl." Yr oedd i fod yn gyfryngwr dyoddefus. Yr oedd Ei ddynoliaeth,

natur israddol Ei berson, (a arwyddoceid gan y sawdl) i gael ei chlwyfo i farwolaeth.

*c.* Ond trwy Ei ddyoddefiadau yr oedd i orchfygu Satan a distrywio ei awdurdod. A'i sawdl wedi ei ysigo, yr oedd i ddarostwng pen "yr hen sarph." Trwy ei angau yr oedd Efe i orchfygu. Trwy gael Ei ddyrchafu i'r groes, yr oedd Efe i dynu pawb ato ei Hun, gan eu trosglwyddo o deyrnas Satan i'r eiddo Ei hun.

*ch.* Ac yr oedd had Crist i fod yn gyfranog yn muddugoliaeth eu Harglwydd. Rhyngddynt hwy a had y sarff yr oedd ymdrech parhaus i fod; ond yr eglwys yn y diwedd i gael y trechaf, a'r "holl genhedloedd i ddylifo atti:" Esa. ii. 2.

Y cyfryw oedd yr addewid gyntaf o ras i ddyn. Hyd nes y cyhoeddwyd hi nid oedd un prawf o ymostyngiad neu edifeirwch wedi ei roddi gan y troseddwyr cyntaf. I'r gwrthwyneb, yr oeddynt yn galed eu calon, yn benderfynol i gyfiawnhau eu hunain, a thaflu y bai o'u pechod ar y diafol ac ar Dduw ei hun: Gen. iii. 12, 13. *Oddiar y cyntaf oll y mae gwybodaeth o Grist wedi bod yn angenrheidiol i gymmodi y pechadur â Duw.* Hysbysodd yr addewid gyntaf, iachawdwriaeth trwy Fessiah clwyfedig, a'r cyhoeddiad cyntefig hwn o'r efengyl a ddygodd Adda ac Efe i edifeirwch.

2. *Canys cawn fod yr addewid hon wedi ei chymmeryd i fyny yn ofalus gan ein rhieni cyntaf, ac iddynt yn uniongyrchol ddechreu dysgwyl ei chyflawniad.* Fel yma, ar enedigaeth eu mab cyntaf, galwasant ef yn Cain, yr un a gafwyd, Ac Efa a ddywedodd, "*Cefais wr, Jehofah:*" Gen. iv. 1. Y mae Dr. Pye Smith, yr ydym yn meddwl, wedi profi yn foddhaol, mai dyma ydyw y cyfieithiad priodol o'r geiriau. Efe a ddywed, "Ni ymddengys un dewisiad i gyfieithydd fyddo wedi penderfynu i ddilyn yn ffyddlon arwyddocâd grammadegol teg a chaeth y geiriau o'i flaen, ond i gyfieithu y geiriau, 'Cefais ŵr, Jehofah.'" (Scripture Testim., vol. i. p. 154). Nis gallwn lai nâ chasglu, oddiwrth y ffaith ei bod wedi ei chofnodi fel yma, ac heb un sylw neu eglurhad o'r waeddolef *(exclamation)*, ei bod yn cael ei ystyried gan Moses, a dynion yr amseroedd boreuaf o'i flaen ef, fel y cyhoeddiad mwyaf nodedig a

phwysig; a mwy etto, ei fod yn ymddangos i ysbryd doethineb a gwirionedd yn deilwng o gadwraeth diddarfod.

Mae rheswm am yr ymddygiad dwyfol yn hyn, yn cyfleu ei hun ar unwaith. Y mae holl gyssylltiad yr Hen Destament yn cynnwys profion o gynghor cyfundrefnol *(systematic)* gras y nef, i gynnal a chryfhau yn mhlith dynion y dysgwyliad am y Gwaredwr gogoneddus. Nid oedd gwaeddolef orhoffus Efa, er mor chwerw gamsyniol oedd hi yn ei gymhwysiad uniongyrchol, yn llai o iaith ffydd yn ngair Jehofah. Fod adgof gan hyny, o'i ffydd hi, ac fel dolen yn nghadwyn crybwyllion a chefnogaethau, yr oedd yn deilwng o'i gofnodi. Y mae o bwys hefyd i sylwi, mai dyma yr engraifft gyntaf yn yr ysgrythyrau santaidd, o'r gair Jehofah yn cael ei ddefnyddio yn lleferydd creadur, ac felly yn gwarantu y meddylddrych o ddyddordeb dwfn a neillduol.

Y casgliad oddiwrth y ffaith hon ydyw, fod Adda ac Efa yn dysgwyl am y Gwaredydd oddiwrth bechod a drwg gyda phryder dwfn a gobaith hyderus; eu bod yn credu y byddai Efe yn fab dyn, ac fod ganddynt syniad tywyll, ac etto cryf, y byddai iddo mewn rhyw ystyr anhysbys a dirgelaidd, gael Ei ddysgrifio fel "Y DYN JEHOFAH!"—(Scripture Testim., Vol. i., p. 157).

3. *Seiliwyd y sefydliad mawr o gymmod trwy aberthu yn uniongyrchol wedi y cwymp, ac mae yn amlwg ei fod o ddechreuad dwyfol.* Yr oedd yr anifeiliaid, â chrwyn pa rai y dilladwyd Adda ac Efa, y mae yn dra thebygol, yn cael eu hoffrymu yn aberthau, canys nid oedd cig yn cael ei ddefnyddio etto gan ddyn fel ymborth. Y mae gan rai o'r hen ysgrifenwyr feddylddrych digrif, ond duwiol, fod Jehofah trwy ddilladu ein rhieni cyntaf â chrwyn anifeiliaid a leddid ac a offrymid yn aberthau cyn hyny, yn bwriadu dysgu iddynt *yr athrawiaeth fawr o gyfiawnder cyfrifedig.* Yr oedd offrwm Abel yn un gwaedlyd, a chymmeradwywyd ef am ei fod yn cysgodi ynddo ei hun, ac yn syniad crediniol yr addolwr, farwolaeth Y DYN JEHOFAH; tra y gwrthodwyd offrwm Cain, am nad oedd yn arddangos un ffydd yn nyfodiad yr had addawedig, ac nad oedd yn gweddu ond bôd dibechod, ar yr hwn nid oedd angen am un iawn.

O ddyddiau Adda yn mlaen, yr ydym yn cael fod aberthu yn sefydliad gosodedig; ac felly y parhaodd hyd nes y *corfforwyd* ef yn y defodau Moesenaidd, ac y cwblhawyd ef yn y diwedd yn yr "un offrwm a berffeithiodd yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio:" Heb. x. 14. Rhaid mai Jehofah ei hun oedd sefydlydd y ddefod hon. Ni allasai rheswm dynol byth ddyfeisio y fath gynllun o addoli; ac ni fuasai y Goruchaf wedi ei gymmeradwyo, pe na fuasai ddim ond darn o *ewyllys-addoliad.* Duw oedd y cyntaf a hysbysodd y gwirionedd mawr, "heb ollwng gwaed nid oes maddeuant," (Heb. ix. 22), ac a ddysgodd ddynion i adgofio y gwirionedd hwn yn eu haddoliad.

4. *Cafodd y Cynddiluwiaid eu ffafrio yn helaethach âg addysg o'r Nefoedd nag y mae llawer o ddynion yn ei feddwl.* Cynnysgaeddwyd Enoch, y seithfed o Adda, âg ysbryd prophwydoliaethol, a llefarodd gydâ nerth ac eglurdeb mawr am ddyfodiad ein Harglwydd yn y dydd diweddaf, gan ddywedyd, "Wele, y mae yr Arglwydd yn dyfod gydâ myrddiwn o'i saint, i wneuthur barn yn erbyn pawb, ac i lwyr argyhoeddi yr holl rai annuwiol o honynt am holl weithredoedd eu hannuwioldeb, y rhai a wnaethant hwy yn annuwiol, ac am yr holl eiriau caledion y rhai a lefarodd pechaduriaid annuwiol yn ei erbyn Ef:" Judas 14, 15. Ond yn sicr, ni adawwyd dyn, yr hwn a ysbrydolodd Duw i lefaru gydâ y fath nerth am ail ddyfodiad y Messiah, mewn anwybodaeth o'i ymddangosiad cyntaf. Y tebygolion ydynt, mai efe ydoedd Esaiah y cyfnod cynddiluwiaidd. Mae llyfr ei broffwydoliaethau wedi ei golli, ond y mae ysbrydoliaeth wedi cadw un mynegiad neillduedig rhag dinystr. Mae yr Apostol Judas wedi ei nodi âg awdurdod y Testament Newydd, ac o hyny allan y mae wedi peidio a bod yn draddodiad yn unig.

Trwy Ysbryd Glân Duw, pregethodd Noah am flynyddoedd lawer i'w hiliogaeth lygredig, yr ysbrydion ydynt yn *awr* yn ngharchar uffern: 1 Pedr iii. 18—20. Beth oeddynt natur ei fynegiadau ni ddywedir wrthym; yr oll a wyddom ni ydyw, iddo ef bregethu "trwy yr Ysbryd." Ond gallwn fod yn sicr na wnai yr Ysbryd dwyfol adael i'r wybodaeth am ddyfodiad Crist farw allan o blith dyn-

ion, ac y cedwid y wybodaeth werthfawr hon gan Noah ysbrydoledig.

5. Ac yn wir yr ydym yn cael Noah, yn union wedi y diluw, a'i ollyngdod o'r Arch, *yn cyssegru ei hun a'r ddaear ar yr hon y safai, o newydd i Dduw, trwy offrymiad poeth-offrymau o anifeiliaid glân;* fel y gellir dywedyd fod hanesiaeth grefyddol y byd newydd wedi dechreu gydag aberthu: Gen. viii. 20—22. Ac mewn perthynas i'r offrwm hwnw, dywedir wrthym, fel ag yr oedd ei fflamiau a'i fwg yn esgyn i'r nefoedd, "A'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth," ac addawodd beidio dystrywio y ddaear â diluw byth mwyach er mwyn dyn. Y mae yn amlwg fod y cyssylltiad rhwng yr addewid a'r offrwm wedi ei fwriadu i adgofio Noah a'i gymdeithion, fod y byd i gael ei arbed yn unig er mwyn ymgnawdoliad a iawn cyfammodol Mab Duw.

6. *Yna yr ydym yn dyfod at y cyfammod a wnaed ag Abraham, yn yr hwn yr addawwyd y byddai i'r Messiah gael ei eni o'r genedl a ddeuai allan o'i lwynau ef.* Trwy y ddefod o enwaediad, cafodd Abraham a'i hâd eu neillduo yn arbenig, fel hynafiaid Iesu o "ran y cnawd." Yr addewid oedd, "*A holl deuluoedd y ddaear a fendithir ynot ti:*" Gen. xii. 3. Mae y cyfeiriad yma yn eglur at ddyfodiad y Gwaredwr, ac at y bendithion a roddid ganddo Ef i ddynion o bob llwyth dan y nefoedd. Efe yr hwn allodd ddywedyd—"Cyn bod Abraham, yr wyf Fi," a ddywedodd yn arbenigol wrth yr Iuddewon, "Gorfoledd oedd gan eich Tad Abraham weled fy nydd I: ac efe a'i gwelodd hefyd, ac a lawenychodd:" Ioan viii. 56. Am hyny, mae yn eglur nad oedd golygiad Abraham am ddydd Crist yn un tywyll, eithr yn un mor eglur, fel ag i'w lanw â llawenydd annhraethadwy. Ac yn mlaen trwy yr oes batriarchaidd, yr oedd gwybodaeth am y Gwaredwr oedd i ddyfod yn cael ei chadw o hyd. Hen Jacob dda, gyda marwolaeth meibion yr hwn y gellid dywedyd i'r oes hono derfynu, a ragfynegodd fel hyn enedigaeth ein Harglwydd yn llwyth Judah; "Nid ymedy y deyrnwialen o Judah, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef, hyd oni ddel y Siloh (Gorphwysfa, h. y. Y Messiah,) ac iddo Ef y bydd ufudd-dod pobloedd:" Gen. xlix. 10. Arnodwyd gan y broffwydoliaeth hon *lwyth*

neillduol fel llwyth y Messiah, megis trwy yr addewid i Abraham, y dewiswyd cenedl neillduol i fod Ei bobl Ef.

7. Yna y canlynodd y cyfnod o gaethiwed a dyoddefaint yn yr Aifft, yn ystod yr hwn, fodd bynag, yn ddiamheu, darfu i Dduw *gadw y wybodaeth werthfawr o ddyfodiad y Messiah rhag myned i ddistryw.* Dywediadau y tadau a drysorid yn ofalus, a dyddanent y duwiolion yn nghanol eu trallodau.

8. O'r diwedd cyfodwyd i fyny waredydd yn mherson Moses; a thrwy ei weinidogaeth ef, sefydlwyd cyfundrefn rheolaidd a threfnus o lywodraeth eglwysig. *Ac yr oedd defodau Moses yn orlawn o gyfeiriadau at Grist a'i waith, fel y mae yr Epistol at yr Hebreaid yn profi yn eglur.* Yr oedd yn ysgrifenedig ar ei holl gyfundrefn y gwirionedd yma: "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant:" Heb. ix. 22. Dysgid yr athrawiaeth o aberthu dros bechod gan boeth-offrymau, offrymau dros bechod, ac offrymau dros gamwedd y gyfraith; ond yr oedd cymhwysiad *cyfyngedig* yr aberthau hyn yn profi eu hanmherffeithrwydd, a'u nodwedd gysgodol. Canys am y cyfryw droseddau, ag eilun-addoliaeth, cabledd, torri y Sabboth, llofruddiaeth, godineb, &c., *nid oedd un aberth wedi ei ddarparu, neu yn cael ei ganiatau.* Canys am y cyfryw droseddau, "Yr un a ddirmygai felly gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion:" Heb. x. 28. Yr oedd yr aberthau i osod allan y gwirionedd o iawn; ond nid oedd gan yr aberthau hyn ddim gallu i lanhau oddiwrth lygredd moesol, i ddysgu yr Iuddewon i edrych yn mlaen at yr iawn gwell oedd i'w offrymu yn nghyflawnder yr amser.

Cyhoeddodd Moses ddyfodiad Cyfryngwr mwy nag ef ei hunan, "Yr Arglwydd Dduw a gyfyd i ti, o'th blith dy hun, Brophwyd megis finau; arno Ef y gwrandewch. A dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Codaf Brophwyd iddynt o fysg eu brodyr, fel tithau, a roddaf Fy ngeiriau yn Ei enau ef, ac Efe a lefara wrthynt yr hyn oll a orchymynwyf iddo. A phwy bynnag ni wrandawo ar Fy ngeiriau, y rhai a lefara Efe, yn Fy enw, myfi a'u gofynaf ganddo:" Deut. xviii. 15—19.

9. Ac yna daeth *Cyfnod y prophwydi*, yn dechreu

gyda chaniadau pêr ganiedydd Israel, y Salmydd Breninol, tua mil o flynyddoedd cyn Crist, ac yn diweddu gyda rhagfynegiadau byrion ond ardderchog Malachi, yr hwn oedd yn byw yn hytrach fwy nâ phedwar cant o flynyddau cyn yr ymgnawdoliad (gwel *Henderson "On the Minor Prophets"). Yn ystod y chwe chant o flynyddoedd o'r cyfnod prophwydoliaethol pur, yr oedd y dystiolaeth i'r Messiah yn dyfod yn fwy eglur*, nes o'r diwedd y cwblhawyd y dystiolaeth yn mynegiadau pendant Malachi.

Y teulu (Dafydd) yn yr hwn yr oedd Efe i gael ei eni, Esa. lv. 3—5; y dref (Bethlehem) yn yr hon yr oedd Efe i ddyfod i'n daear ni, Micah v. 2; Ei gymmeriad cyffredinol fel un addfwyn a llariaidd, Esa. xlii. 2, 3, fel gŵr gofidus a chynnefin a dolur, liii. 3; fel dirprwywr drosom ni droseddwyr, liii. 5; fel iawn am ein euogrwydd ni, liii. 10; fel cyfryngwr rhyngom ni a Duw, Job xxxiii. 23, 24; fel un wedi ei dynghedu i *farw*, Esa. liii. 8; Dan. ix. 26, ac i gael ei gladdu, Esa. liii. 9, ac i adgyfodi drachefn, liii. 10, 11, ac esgyn i orsedd gallu, liii. 12; y pethau hyn oll a ragfynegwyd yn eglur. Pob brif nodwedd yn nghymmeriad a bywyd y Messiah, a fras ddarluniwyd gan law ysbrydoliaeth ganrifoedd cyn Ei ymddangosiad.

Yr addewid o ddyfodiad ein Harglwydd oedd ymborth ffydd a bywyd ysbrydol yr eglwys yn amseroedd yr Hen Destament; megis ag y mae rhoddiad yr Ysbryd Glân, y fendith am yr hon yr ydym ni i ddysgwyl yn ddyddiol. Ymddangosiad y Mab oedd gobaith eglwys yr Hen Destament: tywalltiad yr Ysbryd, yw nerth Eglwys y Testament Newydd. Gwelodd breninoedd, prophwydi, a chyfiawnion, ddydd Crist o bell, ac yr oeddynt yn awyddus am ei wawriad. Eu ffydd yn ei ymddangosiad, a'i ganlyniadau gogoneddus, oeddynt foddion eu hiachawdwriaeth. Bu Iesu farw er "ymwared oddi wrth y troseddau oedd (gyflawnwyd) dan y cyfammod cyntaf:" Heb. ix. 15; a dangosodd Ei farwolaeth "gyfiawnder Duw trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen:" Rhuf. iii. 25. Yr holl bechodau dan yr Hen Destament a faddeuwyd ar gyfrif aberth Oen Duw, yr hwn a ragordeiniwyd er cyn seiliad y byd, ac a gafodd ei ddirnad gan ffydd ostyngedig.

Pob Iuddew duwiol *yn y modd hyn* a gyfiawnheid ger bron Duw.

10. *Yn mhlith y cenedloedd yr oedd gweddill "yn ol etholedigaeth gras."* Yr oedd Melchisedec yn ddiau yn dywysog Canaaneaidd duwiol, yr hwn a ymddiriedodd yn y Gwaredwr o ba un yr oedd efe yn gysgod: Gen. xiv. 18—24; Heb. vii. Yr addewidion boreuaf a gedwid yn mysg llawer o genedloedd, ac *mewn rhai enghreifftiau a oroesasant hyd y nod hyd ein hamser ni.* Cyfarfyddwn â gweddillion y mynegiadau graslawn hyn yn mysg traddodiadau rhai o genedloedd henaf Asia, y rhai a dorwyd ymaith oddiwrth bob ymgyfathrach â phobloedd ereill, a'r rhai a ddaethant yn adnabyddus i ni ond yn ddiweddar. Cafwyd fod Karenaid Burmah yn dysgwyl am y Messiah. Eu traddodiadau oeddynt yr addewidion boreu o drugaredd i ddynolryw. Yr oedd eu moesoldeb yn tra ragori ar eiddo y byd cenedlig. Nid oeddynt hwy erioed wedi llithro i eilunaddoliaeth, eithr yr oeddynt yn credu yn yr unig wir a'r bywiol Dduw. Eu hunig ofergoeledd ydoedd eu harswyd o ysbrydion drwg. Yr oeddynt yn arbenigol yn bobl a wnaed yn barod i'r Arglwydd, (Luc i 17), ac a gofleidiasant yn awyddus yr efengyl oedd eu tadau wedi bod yn ei dysgwyl am ganrifoedd; ac yn awr, mae miloedd lawer yn eu plith yn gorfoleddu yn y Gwaredwr, ac yn rhodio yn nyddanwch yr Ysbryd Glân. Gwel Mrs. M'Leod Wylie's "Gospel in Burmah," Dalton. A phwy a feiddia ddywedyd, nad yw Ysbryd Duw wedi gweithio trwy yr adgofion traddodiadol hyn o'i Air yn y naill oes ar ol y llall, gan eu gwneuthur yn gyfryngwr bywyd ysbrydol i lawer enaid gwerthfawr? Ni pherthyn i ni ddywedyd *pa faint* o wirionedd efengylaidd sydd yn hanfodol i'r Ysbryd Glân i'w ddefnyddio, fel cyfrwng ailenedigaeth a santeiddiad. Y mae genym yr argyhoeddiad moesol cryfaf, y rhaid fod dynion, mewn sefyllfa fel yr oedd y Kareniaid am ganrifoedd, a'r rhai a gredasant â'u holl galon y gwirionedd efengylaidd a feddianent, ac a seiliasant eu gobaith am brynedigaeth yn gwbl arno; ag Ysbryd Duw ganddynt, a'u bod yn ddynion cadwedig. A dichon i'r un peth fod wedi bod yn wirionedd, ac ei fod yn wirionedd etto, am lwythau ereill, am y rhai y

gwyddom ychydig, ac am lawer yn chwaneg, am y rhai nid ydym yn gwybod dim. Y mae y rhai hyn yn bethau, fodd bynag, ydym yn eu gadael gyda Barnwr yr holl ddaear, yr hwn y mae yn sicr, a wna uniondeb. Un peth sydd eglur, fod yr holl drugaredd yn *mhob oes*, sydd wedi cyrhaeddyd ein hiliogaeth ni, wedi cael ei rhoddi er mwyn Iesu.

## PENNOD V.

### YMGNAWDOLIAD Y GAIR TRAGYWYDDOL.

O'R diwedd, yn "nghyflawnder yr amser," y dirgelwch gorfawr hwnw, yr ymgnawdoliad, a gwblhâwyd. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni, yn llawn gras a gwirionedd, ac a welsom ei ogoniant Ef, gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad:" Ioan i. 14. Y pryd hwnw, am y waith gyntaf yn hanesiaeth y cyfanfyd, y cafwyd y Duwdod yn trigo mewn natur greuedig, ac am byth yn dra unedig â hi. Yr oedd had y wraig wedi ymddangos, a dysgwyliadau dynion duwiol yr holl oesoedd blaenorol yn awr wedi eu cyflawnu,

1. *Cynnyrchwyd dynoliaeth ein Harglwydd trwy wyrth uniongyrchol.* Ni anwyd hi trwy rinwedd y gorchymmyn a roddwyd i'r pâr cyntaf o fodau dynol, i ffrwytho ac amlhau. Yr oedd yn llythrenol yn had y wraig, ac nid Adda. Ganwyd hi trwy rinwedd yr addewid o ras Duw a wnaed i ddyn ar sail bodoldeb cyfammod o brynedigaeth rhwng y Tragywyddol Dri yn Un. Ac am hyny, nid oedd dynoliaeth ein Harglwydd yn *dal un berthynas gyfammodol âg Adda*, ac nid oedd, o ganlyniad, yn gyfranog o effeithiau pechod Adda. Ni ddisgynodd melldith y dyn CYNTAF ar y dyn Crist Iesu. Y rhai canlynol oeddynt y *termau* yn y rhai yr hyspyswyd yr ymgnawdoliad i'r Forwyn gan Gabriel. "Yr Ysbryd Glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di: AM HYNY *(diò)* hefyd y peth sanctaidd a aner o honot ti, a elwir yn Fab Duw:" Luc i. 35. Nid fod Iesu yn fab Duw, *yn unig* oblegid ei ymddwyn *(conception)* gwyrthiol; canys mewn gwirionedd, mae *yr ymadrodd, Mab Duw, yn cynnwys, nid Ei ddynoliaeth yn unig, eithr Ei Dduwdod hefyd.* Yr oedd y Gair Tragywyddol i ddyfod y "bachgen a

aned," a'r "Mab a roddwyd." Am hyny, gelwir ef *y Mab* cyn Ei ymgnawdoliad, oblegid iddo gael Ei "rag-ordeinio cyn sylfaenu y byd:" Pedr i. 20. "Mynegaf y DDEDDF: dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Fy Mab ydwyt Ti, Myfi heddyw a'th genhedlais di:" Salm ii. 7. Y mae yr enw Mab Duw, yn ddiau yn *cymmeryd yr ymgnawdoliad yn ganiatâol*, naill a'i fel ffaith gyflawnedig, neu ynte fel bwriad tragywyddol a digyfnewid Jehofah. Nid yw yn egluro dull y berthynas rhwng y naill berson a'r llall yn y Duwdod. Nid oes ynddo un cyfeiriad at y Drindod fel Duw *gwahanol;* ac nid yw yn dysgrifio dull *hanfodol* bodolaeth mewn person neillduol yn yr un Jehofah. Nid oedd Duwdod y Messiah yn fwy cenedledig nâ Duwdod y Tad, neu yr Ysbryd Glân. Mae y ffregod sydd wedi cael ei hysgrifenu ar genedliad tragywyddol natur ddwyfol ein Harglwydd yn boenus iawn i'w darllen, ac mae wedi gyru llawer o ddynion i Sosiniaeth rhonc. Y mae yn bryd fod y fath ffolinebau wedi eu gadael am byth. Canys mae yr athrawiaeth o genedliad tragywyddol natur ddwyfol yn fwy nâ dirgelwch; y mae yn *wrthuni* hollol. Dirgelwch yw rhyw beth *uwchlaw* rheswm; *gwrthuni* yw rhyw beth *croes* iddo. Yn awr, mae *cenedliad tragywyddol* yn wrthuni, oblegid y mae yn wrth-ddywediad; canys amlwg yw nas gall yr hyn fyddo yn *dragywyddol,* fod wedi cael *dechreuad;* ac nis gall, o ganlyniad, fod wedi cael ei genedlu. A *vice versâ*, nis gall yr hyn fyddo wedi cael ei genedlu, fod wedi bodoli er pob tragywyddoldeb, ac o ganlyniad, rhaid ei fod wedi dechreu bodoli yn amser ei genedliad. Am hyny, mae y ddau *derm, cenedliad tragywyddol,* yn ddinystriol y naill i'r llall, yn gymmaint felly, a *drwg rhinweddol, annherfynoldeb terfynol,* neu *berffeithrwydd anmherffaith,* neu unrhyw dermau ereill cyfartal mewn annghydweddolrwydd, a ellir osod at eu gilydd. Pwy all gredu mewn Duw *cenedledig?* Mae y meddylddrych yn arswydus, ac hyd y nod yn gableddus! Nid oedd Duwdod Crist mewn un ystyr yn genedledig; am y rheswm eglur, mai un o'r meddylddrychau arbenig am Dduw, ydyw, ei fod Ef yn fôd annghreuedig, yn bodoli o angenrheidrwydd goruchel natur. Unrhyw fôd nad yw yn bodoli felly, nis gall fod yn Dduw; canys mae hunan-

hanfodaeth yn un o briodoleddau angenrheidiol a hanfodol Jehofah. Rhaid ymwrthod gan hyny a'r meddylddrych o Dduw cenedledig, fel un gorlawn o berygl angeuol i'r holl ffydd uniawn-gred

Yr oedd natur ddynol Iesu y mae yn wir yn genedledig, fel y mae yn wirionedd, ei fod Ef yr hwn oedd yn wir Dduw yn genedledig, ond nid *fel Duw.* Ymostyngodd y Duwdod i ymuno â natur arall, yr hon a grëwyd trwy allu gwyrthiol yr Ysbryd Glân, (Luc i. 35); ac am hyny (*diò*), galwwyd y Bôd Santaidd hwnw yr hwn a anwyd o'r Forwyn, yn Fab Duw.

Am hyny, nid yw Iesu Grist un amser yn cael Ei alw yn Fab Duw cyn Ei ymgnawdoliad, *oddieithr mewn cyfeiriad rhagolygol neu brophwydoliaethol at yr amgylchiad hyny.* Y mae yr enw yn dysgrifio perthynas yr Ail Berson â'r Tad yn nghyfammod y prynedigaeth, ac yn nghadwedigaeth yr Eglwys. Y mae yn enw swyddogol nid gwahaniaethol. Y mae yn cynnwys dynoliaeth ein Harglwydd, naill ai fel yn bodoli, neu fel ar fodoli.

*Ond nid yw yn cau allan y natur ddwyfol.* Canys os bu ymgnawdoliad o gwbl, yna, rhaid i'r Bôd ymgnawdoledig fod wedi bodoli yn flaenorol *mewn rhyw natur arall.* Ac yr ydym yn casglu oddiwrth ffynonellau ereill, mai Efe yr hwn a wnaed fel hyn yn gnawd, oedd y Gair Tragywyddol; a pherson yn y Duwdod addoladwy; Gwneuthurwr pob peth, cynnaliwr y cyfanfyd, ac "uwchlaw pawb yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd:" Rhuf. ix. 5. Y mae yr enw, Mab Duw, gan hyny, fel y mae yn cael ei gymhwyso at ein Harglwydd, yn ddysgrifiad cynnwysfawr O'i holl berson. Mae yn ei gyhoeddi Ef fel *y Duw ymgnawdoledig!* Efe "a eglurwyd yn Fab Duw mewn gallu, yn ol ysbryd sancteiddiad, trwy yr adgyfodiad oddi wrth y meirw:" Rhuf. i. 4. Yr hen Ddr. da, Gill a ddywed, "Heb genedliad tragywyddol nis gellir byth gynnal athrawiaeth y Drindod; ac mae ei gwrthwynebwyr, y Sosiaid, mor wybodus o hyn, fel y maent bob amser wedi gosod eu hunain yn eu herbyn gyda eu holl nerth; gan wybod yn dda, pe gallent ddymchwelyd hyn, ei bod ar ben ar athrawiaeth y Drindod, canys heb hyn, nis gellir byth gynnal gwahanredoliaeth Personau yn y Drindod;

ac yn wir, heb hyn, nid oes dim o gwbl, dyger hyn ymaith ac yna mae pob gwahanredoliaeth yn darfod:" (Gill's Div, Vol. i. p. 241, Ed. 1769). Ond, gyda phob parch i goffadwriaeth a dysg y Doctor, nid yw ei gasgliad yn canlyn *(Non sequitur)*. Yr ydym yn casglu personoliaeth wahanredol y dwyfol Dri yn Un, nid oddiwrth ymchwiliadau ar y fath ystrywiau *(subtleties)* a chenedliad tragywyddol, eithr oddiwrth briodoliad mynych yr Ysgrythyr Santaidd, o nodweddion personol gwahanol, amlygiadau, a gweithrediadau i'r oll, ac i'r naill a'r llall ohonynt. Ar y graig gadarn hon yr ydym yn gosod ein traed, ac nid ar y fath ddamcanion ag a gynnwysir yn mhennod yr 28 o lyfr 1af Dr. Gill. Yr ydym yn gadael yr holl gyfryw faterion i'r hen ysgolheigion a'u dilynwyr—*Od oes ganddynt rai!*

Y mae Efe, yr hwn yw y Tad yn dragywyddol; ac y mae Efe yr hwn yw y Mab, yn dragywyddol; ac y mae yr Ysbryd Glân, yn dragywyddol. Y mae y naill a'r llall *erioed*, yn meddu bodolaeth bersonol ymwybodol; a'r Tri Pherson hyn ydynt wedi bod erioed yn *Un Jehofah Elohim* Israel, (Deut. vi. 4). Ond y mae cenedliad Duw yn groes i'r holl dystiolaeth ysgrythyrol, o barthed i briodoleddau hanfodol y Bôd Dwyfol! Y mae Duw cenedledig yn wrthuni anfad! Mae yr hwn a gredo y fath ddychymmyg mewn perygl mawr o lithro i Ariaeth, oddi yno i Sosiniaeth anesmwythâol, ac oddiyno i anffyddiaeth gwbl agored.

2. Ond i ddychwelyd at ffurfiad gwyrthiol dynoliaeth ein Harglwydd; trwy y trefniad rhyfeddol hwn, *diangodd Mab y Dyn rhag pob ystaen o bechod, a ganwyd Ef yn ol iaith Gabriel yn "beth" neu yn "fôd sanctaidd:"* Luc i. 35. Yr oedd yn angenrheidiol i gymmeradwyaeth yr aberth dros ein euogrwydd ni, iddo fod yn rhydd oddiwrth bob bai. Cysgodid hyn dan y gyfraith gan y rheidrwydd fod i bob offeiriad, pan yn gweinyddu wrth Allor Duw, a phob offrwm a offrymid fel iawn dros bechod, fod yn seremoniol lân. Ni oddefwyd i ystaen pechod gwreiddiol *basio* ar y dyn Crist Iesu. Yr oedd Efe yn arbenigol, "heb bechod," yn "sanctaidd, a diddrwg, dihalog a didoledig oddiwrth bechaduriaid:" Heb. iv. 16, vii. 26.; yn "Oen Duw, difeius a difrycheulyd:" 1 Pedr i 10.

Ni thrigodd dim tueddiadau llygredig meddwl ynddo Ef. Yr oedd Ei ymdrech yn erbyn drwg allanol, oblegid yn Ei *natur* Ef nid oedd dim. "Tywysog y byd hwn a ddaeth, ac ni chafodd ddim ynddo Ef:" Ioan xiv. 39; h y. dim i ateb ei ddyben fel temtiwr; canys cyfodai pob cyffröad yn enaid dynol ein Gwaredwr mewn gwrthwynebiad i bob awgrym drwg a gyflwynid iddo gan ddynion neu gythreuliaid.

Dechreuodd ein Harglwydd Ei yrfa gydâ natur ddifrycheulyd, a chadwodd Ei burdeb yn ddihalogedig hyd y diwedd. "Canys nid *adnabu* bechod:" 1 Cor. v. 25; h. y., Ni foddlonodd Efe i bechod yn Ei feddyliau, na'i serchiadau. "Ni wnaeth bechod:" 1 Pedr ii. 22; h. y. Ni chyflawnodd y weithred o bechod. Fel yma gosodwyd yr aberth ar allor Jehofah yn ddifeius! Offrymodd y Gwaredwr Ei hun yn ddifeius i Dduw! Dyoddefodd y Meichnïydd nid dros Ei bechod ei Hun, *oblegid nid oedd ynddo Ef bechod*, eithr dros bechaduriaid ereill.

3. Er hyny, rhaid peidio annghofio un amser, *fod dyndod ein Harglwydd yn natur ddynol gyflawn, cynnwysedig o gorff, enaid, ac ysbryd.* Cymmerodd ein holl natur ni i undeb â'i Dduwdod. Y mae yr Ysgrythyrau yn gosod pwys neillduol ar fod ein Harglwydd wedi *ymgnawdoli.* "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd," "Duw a ymddangosodd yn y cnawd," "Yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o gig a gwaed:" Ioan i. 14; â Tim. iii. 16; Heb. ii. 14. Ond y mae yn sicr fod *cnawd yn sefyll am natur ddynol yn ei chyfanrwydd*, yn yr adnodau hyn. Mae y gair yn cael ei ddefnyddio yn yr ystyr hyny pan fyddo dynion yn gyffredin yn cael cyfeirio atynt; er enghraifft, "Rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd," (Ioan xvii. 2); h y., ar bob dyn. "Pob cnawd (h.y., pob dyn) a lygrasai ei ffordd ar y ddaear:" Gen. vi. 12. Mae y rheswm paham y gosodir cnawd fel hyn am yr holl ddyn yn amlwg. Y corff ydyw y rhan hono o'r natur ydym yn ei gweled, trwy yr hon yr ydym yn adnabod dyn, ac yn ei wahaniaethu oddiwrth ei gymdeithion. Arwydd allanol a gweledig yr enaid sydd yn trigo oddifewn ydyw.

Y mae fod ein Harglwydd yn berchenog ar *enaid dynol,* yr hwn oedd yn wrthddrych pob serchiadau dynol diniwed

yn athrawiaeth yr Ysgrythyr Santaidd. Yr enaid dynol oedd yr hwn a lefarodd yn y dolefau hyn nad ydynt byth i'w annghofio—"Yr awr hon y cynhyrfwyd fy enaid." "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu." "Fy Nuw! Fy Nuw! paham y'm gadewaist?" Ioan xii. 27; Matt. xxvi. 38; xxvii. 46. Yr oedd yr enaid hwn, "etto heb bechod," (Heb. iv. 15), yn cael ei gynhyrfu â'r holl gyffroadau y mae eneidiau dynol ereill yn alluog iddynt. Cafwyd holl reddfau *pur* ein natur ni yn y dyn Crist Iesu. Yr oedd Efe yn alluog i lawenydd a thrallod, derchafedd a phrudd-der, hoffder ac anfoddogrwydd, i gynnydd mewn gwybod-aeth, cymhorth o'r nefoedd, mwynderau cyfeillgarwch, a thrallodau unigedd.

Nid *drychiolaeth* oedd ei natur ddynol Ef fel y dywedai rhai o'r hereticiad boreuaf. Yr oedd yn wir a phriodol ddyn, wedi ei "wneuthur yn mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr," gyda yr eithriad o bechod

4. *Yn y ddynoliaeth hon y trigodd ac y trïg yn oes oes-oedd y Gair Dwyfol a Thragywyddol.* Y mae y Duwdod yn llefaru trwy y ddynoliaeth, ac yn gweithredu trwy ei gweinyddiaeth. Mae hollwybodaeth y Duwdod trig-fewnol yn pelydru yn nhremiadau y llygaid hyny, ydynt "fel fflam dân;" a'i hollalluogrwydd yn llefaru yn seiniau y llais hwnw sydd "fel sŵn llawer o ddyfroedd:" Dad. i 14, 15. Y Duwdod a'r dyndod ydynt yn anwahanadwy unedig yn mherson y Cyfryngwr; y naill natur fel y llall yn cadw ei nodweddion gwahanol, y Duwdod heb ddyfod yn ddynol, na'r ddynol yn ddwyfol. Ac mor ogoneddus yr arddangoswyd y ddwy natur yn mherson ein Har-glwydd, hyd y nod pan oedd Efe ar y ddaear!

Ar Ei enedigaeth yr ydym yn ei weled yn *faban* egwan, "wedi ei ddodi yn y preseb," yn ymddibynol ar weinydd-iadau tyner Ei fam, ac yn cael ei erlid gan Herod; tra fel Duw ymgnawdoledig, yr ydym yn gweled ser y ffurf-afen, y llu nefol, bugeiliaid Judea, a'r doethion o'r Dwy-rain pell yn talu gwarogaeth iddo. Ar Ei fedydd, gwelwn Ei gorff yn cael Ei drochi gan Ioan yn nyfroedd yr Ior-ddonen, tra mae Ei Dduwdod yn cael ei gyhoeddi gan Ei Dad, gan lefaru mewn llais hyglyw o'r "mawr ragorol ogoniant." Yn y wledd briodasol yn Cana, eisteddodd

wrth y bwrdd fel ymwelydd dynol, a meithrinodd ei gorff trwy gyfranogi o'r bwydydd osodwyd ger Ei fron; ond profodd Ei Dduwdod trwy ddefnyddio Ei allu creadigol, pan drodd Efe y dwfr yn win. Ar lyn Galilea gwelwn Ei ddynoliaeth mor flinedig gan lafur fel y mae yn cysgu yn nghanol rhuadau y dymhestl, tra mae y Duwdod yn ceryddu y gwyntoedd a'r tonau, a hwythau yn ymsuddo i dawelwch edmygol. Yn y diffaethwch y dwylaw dynol a dorrodd y bara ac a ranodd y pysgod, ond y Duwdod a grëodd y cyflenwad gwyrthiol, a borthodd dyrfa o filoedd. Wrth fedd Lazarus, gwlychodd dagrau trallod Ei wynebpryd dynol, tra yr ysgydwodd seiniau Ei hollalluogrwydd y corff amwisgedig o'i hun lygredigaethol ac adgyfododd ef i fywyd. Ar y groes, yr ydym yn gweled Ei ddynoliaeth yn ymdrochedig mewn gwaed, ac yn gruddfan yn arteithiau angau, tra mae y Duwdod yn gwisgo yr haul mewn sachlian, yn rhwygo llen drwchus y deml yn "ddau oddi fynu hyd i waered," yn ysgwyd y creigiau sefydlog, ac yn agoryd y beddau. Yn medd y cyfoethog, gwelwn ddynoliaeth ein Harglwydd yn oer a thawel, ac yn ysglyfaeth angau; ond cyn hir, mae y Duwdod trig-fewnol yn dryllio rhwymau marwoldeb, ac yn cyfodi y dyn Crist Iesu, yn fuddugoliaethwr ar y gelyn diweddaf! A'r undeb agos hwn rhwng y ddwy natur yn mherson yr un Crist ni ddattodir byth. Canys *wedi* y farn ddiweddaf, ac wedi i'r holl etholedigion gael eu derbyn i'r nefoedd yn eu dynoliaeth berffeithiedig (Dad. xx. xxi), bydd y Gair Tragywyddol o hyd "*Yr Oen*," enw y mae yn amlwg sydd yn cynnwys Ei ddynoliaeth. Fel yma, mae Ioan yn darlunio y nefoedd yn ei sefyllfa derfynol ac annghyfnewidiol, "Canys yr Arglwydd Dduw, Hollalluog, a'r Oen, yw ei theml hi." "Canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen." Ei gorsedd-fainc hi o hyd fydd "gorsedd-fainc Duw ar' Oen:" Dad. xxi. 22, 23; xxii. 1—3. Fel yma, yn nghyfansoddiad Ei berson, bydd "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd:" Heb. xiii. 8.

5. *Trwy gymmeryd ein natur ni, daeth y Gair Tragywyddol yn alluog i ufudd-dod a dyoddefaint.* Fel Duw yn unig, nid oedd yn alluog i ymostyngiad i unrhyw awdurdod uwch; oblegid nid oedd awdurdod uwch nâ'r eiddo

Ef yn bod. Fel Duw, yr oedd uwchlaw pob deddf—Efe ei hun yn safon cyfiawnder tragywyddol, ac yn ddeddfroddwr y cyfanfyd. Yr oedd Efe yn ddeddf iddo ei Hun; Ei natur annghyfnewidiol ei hun a'i hanogai bob amser i ffieiddio pob anwiredd; Ei berffeithderau anfeidrol oeddynt reol ddigyfnewid rhagoroldeb moesol i bawb bodau deallol. Fel Duw yn unig hefyd, yr oedd yn analluog i ddyoddefaint. Nis gallai Ei ddwyfoldeb ddyoddef; canys mae y meddylddrych o drueni yn anorfodadwy annghydweddol â'r syniad o Dduw. Ond trwy gael ei "wneuthnr o wraig," gwnaed ein Gwaredwr dan ddeddf: Gal. iv. 4. Daeth yn berchen ar natur ddibynol, yr hon oedd alluog i ymddarostyngiad i ewyllys Ei Dad, ac yn gyfiawn atebol i'w awdurdod. "Dysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd: Heb. v. 8. Galluogodd Ei feddiant o ddynoliaeth Ef hefyd, i ddyoddef a marw yn ein lle ni. Trwy y wyrth hon o drugaredd, cymhwysodd Ei hun i'r groes a'r bedd. Dysgodd ddyfod "yn ŵr gofidus ac yn gydymaith mynwesol dolur:" Esa. liii. 3. Cymmerodd ddynoliaeth fel y byddai yn alluog i ufuddhau, dyoddef, a marw.

6. *Ymostyngodd fel yma yn isel fel y gallai Efe ufuddhau i'r gyfraith yn yr un natur ag y cafodd ei thori.* Torwyd y gyfraith gan ddyn, a chan ddyn y mae yn rhaid iddi gael ufudd-dod. Rhaid i'r dianrhydedd gael ei adgyweirio yn yr *un natur* ag y cyflawnwyd ef. Sathrodd dyn, yn ngolwg y cyfanfyd, bob gorchymmyn yn nghyfraith Duw; ac yn awr, trwy y Duw-ddyn, rhaid i i bob gorchymmyn yn y gyfraith hono gael eu hanrhydeddu ac ymostwng iddynt. Rhaid i "had y wraig," "asgwrn o'n hesgyrn ni, a chnawd o'n cnawd ni," roddi yr ufudd-dod a wrthodasom ni. Y ddeddf neillduol a dorodd dyn, oedd ddeddf cyfiawnder tragywyddol *yn ei chymhwysiad at ddyledswydd ddynol;* ac amlwg ydyw, na allasai y ddeddf neillduol hon gael ufuddhau iddi ond gan un yn meddiannu ein natur ni, ac a safai yn ein perthynas ni â Duw ac â'r naill a'r llall. Ni allasai neb ond dyn dalu y ddyled o ufudd-dod oedd yn ddyledus ar ddyn.

7. *Trwy gymmeryd y natur ddynol, daeth y Gwaredwr yn alluog i ddyoddef melldith yr un ddeddf.* Yr oedd y ddeddf yn gynnwysedig o ddwy rhan, y gorchymmyn, a'r

gosp. Heb awdurdod cospedigol, y mae cyfraith yn colli ei gwir natur. Y mae yn darfod a bod yn gyfraith, ac yn dyfod yn *ddim ond cyfarwyddydd yn unig*, yr hyn all dyn barchu neu anmharchu, fel y dewiso ef, heb unrhyw ganlyniadau cyfreithiol. Mae cosp mewn achos o anufudd-dod yn hanfodol i'r meddylddrych gwirioneddol o gyfraith. Am hyny, y mae, ac yr oedd yn wastad gan gyfraith Duw i ddyn, ei chosp gyssylltiedig: "Oblegid yn y dydd y bwyttai di o hono, gan farw y byddi farw," "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw," "Cyflog pechod yw marwolaeth:" Gen. ii. 17; Esec. xviii. 4, 20; Rhuf. vi. 23. Am hyny daeth Iesu Grist yn ddyn fel y "gwnelid Ef yn felldith drosom ni," ac yn "bechod drosom ni," er "nad adnabu Efe bechod:" Gal. iii. 13; 2 Cor. v. 21. Daeth Efe yn alluog i ddyoddef y felldith â pha un y bygythiwyd dyn, trwy gymmeryd natur dyn.

8. *Trwy yr ymgnawdoliad, cymhwysodd ein Harglwydd ei Hun i ddyfod yn Waredwr cydymdeimladol i ni.* Daeth Efe yn ddyn fel y gallai fod yn gymhwys i gydymdeimlo â ni yn ein trallodau. Daeth Efe i fyned trwy y gwahanol raddau yn y bywyd dynol, o fabandod i fyny, fel y "medrai gyd-ddyoddef gyd a'n gwendid ni:" Heb. iv. 15. Daeth i brofi ein *pob* cwpan o drallod, ac i "gael Ei brofi yn mhob peth fel y ni," fel y byddai Efe "yn drugarog ac Archoffeiriad ffyddlawn: Heb. ii. 17. Fe'i profwyd trwy *dlodi*, canys yr oedd heb le i roddi Ei ben i lawr:" (Matt. viii. 20); trwy *enllib*, canys dywedai Ei elynion ei fod yn "ynfydu ac fod ganddo gythraul:" (Ioan x. 20); trwy *weniaeth*, canys cynnygiodd y Phariseaid ei demtio Ef: (Matt. xxii. 16); a cheisiodd y dyrfa Ei "gipio a'i wneuthur Ef yn frenin:" (Ioan vi. 15); trwy *demtiad*, oblegid ar un achlysur bu Iesu wrtho ei hun yn cael Ei "demtio gan ddiafol," "ddeugain niwrnod a deugain nos yn yr anialwch:" (Matt. iv. 1, 2); trwy *erlid*, oherwydd "fflangellwyd, a gosodwyd coron o ddrain ar Ei ben Ef, a chroeshoeliwyd Ef ar y groes:" (Ioan xix. 1, 2); "Mor llygredig oedd Ei wedd yn anad neb, a'i bryd yn anad meibion dynion"! (Esa. lii. 14); trwy *anniolchgarwch cyfeillion*, canys bradychodd Judas Ef, ac yn Ei gyfyngder gadawodd Ei ddysgyblion Ef a ffoisant ymaith, tra

y darfu i Pedr Ei wadu trwy "regu a thyngu:" (Matt. xxvi. 14); trwy *adawiad dwyfol*, canys ar y groes Efe a lefodd, "Fy Nuw, Fy Nuw, paham y'm gadewaist?" (Matt. xxvii. 46); trwy *lafur enaid*, oblegid yn Ei arteithiau Efe a riddfanodd, "Trist iawn yw fy enaid hyd angau:" (Luc xxii. 39; Matt. xxvi. 38); trwy *chwerwder angau*, canys Efe a ogwyddodd Ei ben, ac a roddes i fynu yr Ysbryd:" (Ioan xix. 30). Fel yma, pa beth bynag ddichon ein *prawf* fod, gall Iesu gydymdeimlo â ni, canys yn mhob llwybr trallod y mae Efe wedi bod o'n blaen, ac wedi gadael olion Ei draed blinedig yno.

9. *Trwy ymddarostwng i ddyfod yn ddyn, ceisiai Efe ein denu ni i geisio etto y Duw addiwrth yr Hwn yr aethom ar gyfeiliorn.* Ei ddyben oedd dwyn dyn a Duw etto at eu gilydd: ac ail agor cyfathrach rhwng daear a nefoedd. Fel yma, gorchuddiodd ddysgleirdeb anoddefadwy Ei Dduwdod gwahanedig dan ffurf dyn, fel y galluogai Efe ni i edrych ar y Duwdod heb ddychryn. Lleddfodd ardderchogrwydd Ei ogoniant, fel na ddystrywiai ni. Ceisiodd ennill ein hymddiried ynddo fel "trwyddo Ef y gallem ni gael dyfodfa mewn un ysbryd at y Tad:" Eph. ii. 18. Efe a ddaeth i symud pob rhwystr oddi ar ffordd ein cymmundeb â Jehofah; ac yn enwedigol, i ddinystrio y rhwystr mawr hwnw rhyngom a'n Gwneuthurwr,—*ein euogrwydd.* Efe a ymddangosodd i dywallt Ei waed, fel y byddai i'r gwaed hwnw ein "glanhau ni oddi wrth bob pechod," 1 Ioan i. 7; ac fel trwy olchiad ymaith ein pechodau, y gallai Efe ein hadferyd ni i gymdeithas â ffynonell pob daioni. Wedi i euogrwydd gael ei symud, nid oes un rhwystr arall yn aros rhwng dyn a Duw. Gyda dilëad cospedigaeth a gallu pechod, y mae pob rhwystr ar ffordd ein cymdeithas a'n Tad yn y nefoedd wedi ei gymmeryd ymaith. Yna, mae Duw a dyn drachefn mewn heddwch, ac i'r olaf, mae y ddaear yn dyfod yn borth y nefoedd. Ac fe ddaeth y Gair yn ddyn er effeithio y cymmod ardderchog hwn: Col. i. 21.

10. *Daeth Iesu yn ddyn fel y gallai Efe ddyrchafu yr Eglwys i'r gogoniant mwyaf posibl i greaduriaid.* Ymddarostyngodd Iesu fel y dyrchafai Efe ni; cymmerodd ein natur, fel y gallai ei dyrchafu yn Ei berson ei hun, i'w

ucheledd mwyaf sydd ddirnadwy, fel y gallai wedi hyny, debygoli y natur hono, *fel y meddiennir hi genym ni*, i safon yr eiddo Ei hun. Y mae tebygoliaeth i'r Duw-ddyn Crist Iesu yn cael ei osod o'n blaen yn yr Ysgrythyr Santaidd, fel tynged ddiweddaf y Cristion. Yr ydym i gael Ei weled Ef "wyneb yn wyneb," 1 Cor. xiii. 12; i'w "weled Ef megis ag y mae," 1 Ioan iii. 2; yr ydym i ddwyn Ei ddelw, 1 Cor. xv. 49; i "eistedd gyd âg Ef ar Ei orsedd-fainc," Dad. iii. 21; ac i ddwyn Ei "enw Ef ar ein talcenau:" Dad. xxii. 4. Y mae ein *cyrff* i gael eu llwyr gyfnewid, "fel y gwneler hwynt yr un ffurf a'i gorff gogoneddus Ef:" Phil. iii. 21. Fel yma, yn mhob ystyr, ond yr ystyr neillduol yn yr hon y mae Crist yn Dduw-ddyn, bydd *Ei* natur ddynol Ef yn arwyddlun ac yn ar-lun o'r eiddom ni. Dyrchefir yr Eglwys uwchlaw angel-ion, cerubiaid, seraphiaid, ac arch-angelion. Yn Nghrist Iesu ei "Chyfryngwr cyfathrachol" (*goël*), bydd iddi gyr-haedd y radd uchelaf o ogoniant a gwynfydedigrwydd crëuedig. I ddefnyddio iaith ryfeddol yr Ysgrythyr Sant-aidd, bydd iddi gael ei "*chyflawnu a holl gyflawnder Duw*:" Eph. iii. 19. Bydd yn goron Jehofah; "ac yn dalaith freninol yn llaw ei Duw:" Esa. lxii. 3. A'r dyrchafiad rhyfeddol hwn i'r uchelder, o dyrfa o bechaduriaid cadw-edig, fydd y canlyniad o'r ymddarostyngiad annghymarol hyny pryd y "cymmerodd" y Gair Tragywyddol "nid naturiaeth angelion, eithr had Abraham:" Heb. ii. 16.

## PENNOD VI.

### UFUDD-DOD A IAWN DIRPRWYOL CRIST.

Yr ydym yn awr yn dyfod i ystyried ystyr foesol bywyd ac angau ein Harglwydd. Yn mha oleuni y dylem ni ys-tyied Ei yrfa ar y ddaear, tywalltiad Ei waed, a rhoddiad i lawr Ei einioes? A oedd Ei waith yn *iawn* dros ein pechodau ni? A fu Efe farw fel dirprwywr yr euog? A ydyw pechaduriaid yn cael maddeuant, a'u cyfiawnhau *er mwyn* Ei Aberth a'i gyfiawnder Ef? A oedd Ei gym-mod yn elfen hanfodol yn llywodraeth foesol Duw i'r gweinyddiad anrhydeddus o drugaredd i'r gwrthrhyfelgar?

Neu a oedd Ei waith yn ddim amgen na thystiolaeth

merthyr i wirionedd rhyw athrawiaethau a ddysgodd Efe yn Ei fywyd? Ai gwir ydyw, megis ag y mae rhai duwinyddion a broffesant fod yn uniawngred, wedi dysgu yn ddiweddar, "nad oes gair yn y Beibl yn nghylch fod y gospedigaeth ddyledus i'n pechodau ni, wedi cael ei gweinyddu gan Dduw cyfiawn ar Ei Fab Ei hun," ac na "fu Crist gyfranog o'n pechodau ni, ond yn unig yn yr ymsyniad o hono, mewn galar yn ei herwydd, mewn addefiad dirprwyol o hono, ac yn ei ganlyniadau truenus?"

Y mae hon yn eglur, yn ddadl yn nghylch pwnc *sylfaenol.* Yn y rhyfel ddadleuol hon, gan hyny, ni fydd i ni na rhoddi na derbyn nawdd. Os gwir yw damcanion diysbryd a difywyd duwinyddion yr ysgolion diweddar, yna nid oes y fath athrawiaeth a iawn neu gymmod, ac y mae yn rhaid gwrthod prynedigaeth trwy haeddiannau Mab Duw, fel ffug-chwedl.

Y mae hyd yn oed Channing yr Undodydd yn gwneuthur yr addefiad canlynol:—

"Nid oes ynom un chwennychiad i guddio y ffaith, fod amrywiaeth barn yn bodoli yn ein plith ni (undodiaid) mewn perthynas i ran bwysig yn nghyfrwngwriaeth Crist. Yr wyf yn golygu, mewn perthynas i ddylanwad pennodol ei farwolaeth ar ein maddeuant. Llawer a dybiant fod yr amgylchiad hwn yn gweini i'n maddeuant, gan iddo fod yn gyfrwng arbenig i gadarnhau ei grefydd, a rhoddi iddi allu ar y meddwl; mewn geiriau ereill, ei fod yn sicrhau maddeuant trwy dywys i'r edifeirwch a'r rhinwedd hyny, ydynt yr unig ammodau mawrion ar ba rai y mae maddeuant yn cael ei weinyddu. Y mae llawer ohonom (mae Channing yma yn ddiau yn cynnwys ei *hun*) yn anfoddlon i'r eglurhad hwn, ac yn credu fod yr Ysgrythyrau yn priodoli maddeuant pechodau i farwolaeth Crist, *gydâ phwys mor neillduol, fel y dylem ystyried yr amgylchiad hwn fel yn meddu dylanwad arbenig mewn symud ymaith gospedigaeth*, er nad yw yr Ysgrythyrau fe ddichon yn amlygu y ffordd trwy yr hon y mae yn gweini i'r dyben hwn. Pa fodd bynag, tra yr ydym yn gwahaniaethu mewn egluro y cyssylltiad rhwng marwolaeth Crist a maddeuant pechadur, *cyssylltiad a gydnabyddwn ni oll yn ddiolchgar*, yr ydym yn cytuno mewn gwrthod llawer o syniadau sydd yn ffynu

mewn perthynas a'i gyfrwngwriaeth." (Complete Works, Vol. ii. pp. 515, 516, Griffin).

Yn awr, mae yn ffaith nodedig, fel y profa eu gweithiau cyhoeddedig, fod yn ein dydd ni, lawer o ddynion a broffesant fod yn uniawngred, yn yr Eglwys Sefydledig, ac allan ohoni, ydynt o'r braidd yn anmharod i ddal cymmaint ag y mae hyd yn oed Channing yr Undodydd yn ei addef sef, *fod gan farwolaeth Crist ddylanwad arbenig yn symudiad cospedigaeth.* Yr ydym yn troi, fodd bynag, oddiwrth y damcanion anfoddhaol hyn at gasgliad syml oddiwrth y dystiolaeth ysgrythyrol ar y pwnc. Yn y bennod hon cynnygiwn, yn nghyntaf i brofi fod bywyd a marwolaeth ein Harglwydd yn wir a phriodol aberth, a chymmod dros bechod, er mwyn yr hwn y maddeuir pechodau yr holl gredinwyr; yn ail, i wneuthur ymchwiliad i helaethrwydd y brynedigaeth ogoneddus hon; ac yn olaf, i ateb gwrthddadleuon.

1. Y mae genym, gan hyny, yn mlaenaf, i brofi FOD BYWYD A MARWOLAETH EIN HARGLWYDD MEWN GWIRIONEDD YN ABERTH DROS BECHOD, trwy yr hwn y boddlonwyd llywodraeth foesol Duw, ac y gwnaed maddeuant pechodau credinwyr yn gydweddol â hawliau cyfiawnder tragywyddol.

Yr ydym yn dywedyd, fod *bywyd* a *marwolaeth* ein Harglwydd yn un aberth cyflawn. Yr oedd Ei holl fywyd yn un weithred ardderchog o iawn. "Rhoddodd Ei HUN drosom ni." Bu "Yn ufudd hyd angau:" Eph. v. 2; Phil. ii. 8. Yr oedd yr ufudd-dod yn dechreu gydâ Ei fywyd dynol, ac yn terfynu yn unig yn Ei angau. Ac y mae y cymmod yn gynnwysedig o'i holl "ufudd-dod" dirprwyol "hyd angau," gan fod tywalltiad Ei waed yn hollol angenrheidiol i gwblhau y cymmod, yn gymmaint ag "heb ollwng gwaed nid oes maddeuant:" Heb ix. 22.

Yna, yr ydym yn symud yn mlaen at y profion o'n gosodiad.

1. *Cyfeiriwn at y cymmeriad dirprwyol a chynnrychiolaethol oedd Iesu Grist yn ei ddal.* Amlwg yw, i'n Harglwydd, trwy Ei holl fywyd, fel y Duw-ddyn, weithredu fel ein Pen cyfammodol. Efe a ddaeth yn ddyn, nid er mwyn Ei hun, eithr er ein mwyn ni. Ac o'r foment yr ym-

gnawdolodd, gweithredodd fel cynnrychiolydd ereill. Tystia yr Ysgrythyrau yn eglur, i'r Iesu ddyfod i'n plith ni i ddal perthynas swyddogol â'r rhai hyny, achos pa rai oedd Efe wedi ei gymmeryd. Am hyny gelwir Ef yn "Adda diweddaf:" 1 Cor. xv. 45; Rhuf. v. 14; yn "Feichnïydd testament gwell:" Heb. vii. 22; yn "Gyfryngwr rhwng Duw a dynion:" 1 Tim. ii. 4; yn "Ben yr Eglwys:" Eph. iv. 15; yn "Archoffeiriad ein cyffes ni:" Heb. iii. 1; yn "Briod Ei ddyweddi yr Eglwys:" Eph. v. 25—32; yn "Eiriolwr gyd â'r Tad," yn "*Iawn* dros ein pechodau ni:" Esa. liii. 12; 1 Ioan ii. 1, 2; yn "*Ddirprwywr* yr annghfiawn:" 1 Pedr iii. 18; yn "*Ddiwedd* y ddeddf er cyfiawnder i bob un ar sydd yn credu:" Rhuf. x. 4. Fel ein *Dirprwywr* ni, gan hyny, y bu ein Gwaredwr fyw, y dyoddefodd, ac y bu farw; a thrwy rinwedd y ffaith hon, pechodau y rhai oedd Efe yn ddirprwywr iddynt a osodwyd arno Ef. Os oes rhyw wirionedd yn cael ei ddysgu yn fwy amlwg nâ'i gilydd yn y gyfrol santaidd, y gwirionedd hwnw ydyw gosodiad Crist yn lle yr euog. Ond gwyddom fod dirprwy-osodiad cyfreithiol yn cynnwys rhwymedigaeth, i'r dirprwywr gyfarfod diffygiadau y person fyddo Efe yn ei gynnrychioli. Er engraifft, os metha dyn dalu ei ddyledion, mae ei ofynwyr yn gosod ar ei feichnïydd neu ddirprwywr, o bydd ganddo un, am y swm dyledus. Felly yn yr achos ger ein bron: y mae Crist Iesu fel caeth-ddyn *(bondsman)* gwirfoddol troseddwyr, yn gweithredu yn Ei berthynas swyddogol â hwynt, yn cyfarfod eu dyledion, yn talu pris eu gwarediad, ac yn y modd hyn yn sicrhau eu gwaredigaeth. Y mae yn dyfod yn iawn dros eu pechodau, a thrwy Ei "Un offrwm yn perffeithio yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio:" Heb. x, 14. Yn awr, yr ydym yn gwybod am y dadwrdd a godir yn wastad yn erbyn eglurebau fel yr un roddwyd uchod. Dywedir wrthym ei fod yn dra anmhriodol i resymu yn nghylch llywodraeth foesol Duw, *yn ol cyfatebiadau arianol neu fasnachol.* Yr ydym yn ateb, fod Duw Ei Hun wedi defnyddio yr eglurebau hyn yn Ei Air; canys fe ddywedir i ni yno mai bywyd a marwolaeth Crist oeddynt *bridwerth* ein prynedigaeth (Matt. xx. 28; 1 Tim. ii. 6.); mai "er *gwerth* y'n prynwyd ni:" 1 Cor. vi. 20; fod y

saint yn rhai a "brynwyd oddiwrth ddynion:" Dad. xiv 4; ac fod Iesu wedi "pwrcasu Eglwys Dduw â'i briod waed:" Act. xx. 28, &c., &c. Y mae yr eglureb, gan hyny, yr hon sydd wedi ei chymmeryd oddiwrth amgylchiadau cyfreithiol cyffredin, wedi ei dwyfol awdurdodi.

Gwyddom nad yw y cyfryw ymadroddion eglurhaol o drefniant mawr ein prynedigaeth ond rhai *ffugyrol* yn unig; ac fod yn rhaid i'r ffugyr gael ei esbonio gyda sylw dyladwy i'r gwahaniaeth rhwng trefniadau hollol *arianol* a rhai moesol. Ond mae y ffugyr yn golygu rhywbeth, ac y mae ei ystyr wirioneddol yn dysgu gwirionedd mawr. Y mae rhwymedigaethau moesol mor rhwymiadol â gofynion arianol. Mae ufudd-dod i'r ddeddf yn *ddyled* rhwymedig ar ddyn i Dduw, mor wirioneddol felly ag unrhyw rwymedigaeth fyddo efe wedi ddwyn arno gyda chyd-ddyn. Y mae dyoddef cospedigaeth yn *ddyled* ar y dyn sydd wedi troseddu deddf Duw, i'r ddeddf hono, mor gyfiawn felly ag y mae unrhyw ddrwgweithredwr yn ein carcharau yn ddyledus i gyfreithiau troseddedig ei wlad o garchariad neu rhyw ddedfryd arall y mae yn ei ddyoddef yno. Rhwymedigaethau moesol pa un a berthynant i ufudd-dod, neu fyned dan gospedigaeth am anufudd-dod ydynt DDYLEDION gerwin a gwirioneddol!

Am hyny, yr unig gwestiwn yw, a foddlonodd y Gwaredwr ddyfod yn *ddirprwywr* i ni yn ngolwg y gyfraith a droseddasom ni; ac a gydsyniodd y Tad Tragywyddol a'r trefniad hwn? Nis gall fod ond un atebiad i'r ymholiad yma, os gwir ydyw y Beibl; canys daliodd ein Harglwydd trwy Ei holl fywyd, fel yr ydym wedi gweled, y berthynas swyddogol hon, a chynnrychiolodd ereill yn yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd. Fel eu dirprwywr deddfol a gwirfoddol, cyflawnodd y gyfraith oeddynt hwy wedi ei thori a dyoddefodd y felldith oeddynt hwy wedi ei haeddu.

2. *Ymddengys cymmeriad aberthol gwaith a marwolaeth ein Harglwydd oddiwrth yr enwau a roddir iddynt.* Os gall iaith ddysgu rhyw beth, mae yr Ysgrythyrau Santaidd yn gosod gwaith Crist o'n blaen, fel iawn dirprwyol, priodol a gwirioneddol, offrymedig dros ein pechodau ni. Dysgrifiant y gwaith hwnw fel "pwrcasiad," "gwerth,"

"pridwerth," "prynedigaeth," "cymmod," "iawn," "aberth dros bechod:" Act. xx. 28; 1 Cor. vii. 23; Matt. xx. 28; Eph. i. 7; Rhuf. v. 11; iii. 25; Heb. ix. 26. A dyma arddull cysson yr Ysgrythyr wrth ddysgrifio natur gwaith y Gwaredwr.

Yn awr, nid oes genym ganiatad oddiwrth Dduw i esbonio y geiriau hyn, ond yn eu hystyr naturiol. Y mae yn ddirmyg ar y dystiolaeth ddwyfol i dori ymaith arwyddocâd moesol y cyfryw *dermau*, hyd nes na byddo genym ar ol, ond rhith eu meddwl gwreiddiol. Os gallwn ddehongli "iawn dros ein pechodau ni," a "iawn trwy ffydd yn ngwaed Crist," (1 Ioan ii. 2; Rhuf. iii. 25), i ddim ond "cyffesiad dirprwyol o'n pechodau ni, drosom ni gan Grist; beth nad allwn wneuthur â'r testun santaidd? Yr ydym yn tystio yn erbyn y fath ymgeision dirmygedig i lithio ymaith holl rym athrawiaeth, yr hon hyd yn hyn, y proffesir ei dal. Y peth goreu i'r cyfryw foneddigion i'w fabwysiadu fyddai rhoddi fyny athrawiaeth yr iawn yn gwbl, gan eu bod wedi tynu oddiwrth yr athrawiaeth ei nodweddion hanfodol. Nid gonest ydyw proffesu y ffydd uniawngred, pan fyddo egwyddor fywydol iawn-grediaeth yn cael ei gwrthod.

Canys y meddylddrych arbenig o aberth, cymmod, neu iawn dros rhyw drosedd, ydyw gweithred o foddlondeb taledig i fawrhydi cyfraith droseddedig, trwy yr hyn yr adgyweirir y dianrhydedd a wnaed iddi gan y troseddiad. Mae yr aberth, cymmod, neu yr iawn yn cael ei roddi iddo ef yn erbyn yr hwn y cyflawnwyd y trosedd. Felly, aberth Crist dros ein pechodau ni a gyflwynwyd i'w Dad Tragywyddol, yn erbyn yr hwn y gwrthryfelasom ni. Yr ydoedd yn iawn i'r gyfraith a droseddasom; i'r cyfiawnder a gyffroisom; ac i'r iawnderau rheithorawl a ddirmygasom. Dywed Jehofah ei hun wrthym y modd y gweithreda gwaith dirprwyol Iesu mewn sicrhau i ni ryddhad rhag cospedigaeth—sef, *trwy amddiffyn cyfiawnder cyfreithio Duw yn yr amgylchiad.* Dywed Channing nad yw yr Ysgrythyrau yn dywedyd dim ar y pen hwn; ond gyda phob parch i goffadwriaeth y dyn mawr hwnw, yr ydym ni yn honi i'r gwrthwyneb. Y mae holl drefn yr iawn yn cael ei mynegu yn gynnwysfawr gan Paul yn y geiriau nod-

edig hyn:—"Yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn Ei waed Ef, i *ddangos Ei gyfiawnder Ef* (y Tad), trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddyoddefgarwch Duw; *i ddangos Ei gyfiawnder Ef y pryd hwn;* fel y byddai Efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu:" Rhuf. iii. 25, 26. Trwy offrymiad person Iesu Grist ar allor cyfiawnder tragywyddol unwaith ac am byth, profodd Jehofah Ei gyfiawnder rheithorawl, yn maddeuant pechodau credinwyr fuont byw *cyn* offrymiad yr iawn mawr; ac y mae Ef etto hyd y dydd *hwn* yn amddiffyn yr un briodoledd o gyfiawnder reithorawl yn nghyfiawnhad y rhai hyny a ymddiriedant yn Iesu fel eu Gwaredwr. Fel hyn, mae gwaith Crist yn "mawrhau y gyfraith, ac yn ei gwneuthur yn anrhydeddus," (Esa. xlii. 21), yn maddeuant y pechadur. Ac mae Duw felly, yn "ffyddlawn a chyfiawn wrth faddeu i ni ein pechodau:" 1 Ioan i. 9.

Y mae yr iawn a *roddwyd* i Dduw, yn wir, yn ein cymmodi a'r llywodraeth a'r cyfiawnder dwyfol; ond *gwna hyn yn nghyntaf, trwy gymmodi y llywodraeth a'r cyfiawnder dwyfol a'n cadwedigaeth ni.* Yr oedd "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd ag Ef ei Hun, *heb gyfrif iddynt eu pechodau:*" 2 Cor. v. 19. Ac mae *sail* an-nghyfrifiad pechodau yn cael ei nodi fel hyn—"Canys yr Hwn nid adnabu bechod, a wnaeth Efe yn bechod drosom ni, fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo Ef:" 2 Cor. v. 21. Cymmerodd y Gwaredwr ein pechodau ni, a dygodd eu canlyniadau barnedigol, fel y gallem ni gymmeryd ei gyfiawnder Ef, a derbyn cyfiawnhad rhad a chyflawn trwy ei haeddiannau.

Nid yw y cymmod yn dyfod â chariad Duw i ni, canys mewn gwirionedd, y mae ynddo ei hun yr arddangosiad rhyfeddaf o'r cariad hwnw. "Y mae Duw yn canmol Ei gariad tu ag attom; oblegid a nyni etto yn bechaduriaid, i Grist farw drosom ni." "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd Efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol:" Rhuf. v. 8; Ioan iii. 16. Y mae cymmod Crist yn brawf o gariad anfeidrol Duw, ac O'i gyfiawnder diwyrni fel llywydd moesol y cyfanfyd. Rhoddodd y Tad

Ei anwyl A'i ogyfuwch Fab yn iawn dros ein pechodau ni, a phrofodd felly Ei dosturi tuag at bechaduriaid, A'i barch tuag at Ei ddeddfau digyfnewid Ei Hun. Nid *tueddu* Duw i'n caru ni wnaeth marwolaeth Crist, eithr yr aberth a wnaeth gariad Duw drosom ni, yn gydweddol â hawliau Ei lywodraeth foesol, fel y gallai Efe fod "yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu :" Rhuf. iii. 26.

3. *Yr ydym yn profi ein gosodiad trwy yr adnodau hyny yn y rhai y dywedir fod ein pechodau wedi eu gosod ar Grist.* Dangosasom fod Crist yn Ei gymmeriad swyddogol yn ddirprwywr, ac fod Ei waith o angenrheidrwydd yn aberth cymmodlawn. Deuwn yn awr i wneuthur ymchwiliad i'r adnodau hyny y dywedir ynddynt i'n pechodau ni gael eu gosod ar ein Harglwydd.

Nid oedd gan Iesu Grist ddim pechod o'r eiddo Ei hun, yn wreiddiol, nac yn weithredol. Yr oedd Efe yn arbenigol "heb bechod." "Nid adnabu bechod," ac "ni wnaeth Efe bechod." Yr oedd yn "sanctaidd, diddrwg, dihalog, a didoledig oddiwrth bechaduriaid." Os dyoddefodd Efe gan hyny, *dros bechod*, rhaid mai dros bechodau *ereill.* Mae hyn yn wirionedd amlwg o hono ei hun. Am hyny, dywed yr Ysgrythyrau Santaidd wrthym, iddo "ddioddef dros bechodau, y cyfiawn dros yr anghyfiawn," iddo "farw dros yr annuwiol," "danfonodd Duw Ei Fab Ei hun y'nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod :" &c. 1 Pedr iii. 18 ; Rhuf. v. 6 ; a'r viii. 3. A phechodau y rhai hyny y bu Efe farw drostynt, y dywedir iddynt gael eu gosod arno Ef. Ni ddywedir mai *canlyniadau* y pechodau hyn yn *unig* a roed arno ; eithr fod y *pechodau eu hunain* wedi eu cyfrif arno Ef. Mae duwinyddion diweddar yn tramgwyddo wrth yr athrawiaeth hon. Dysgant hwy ni fod hanfod yr iawn yn gynnwysedig yn addefiad iawnol ein Harglwydd o bechod ar ein rhan, ac yn ein enw ; nad oedd Ei angau yn gosp a addefwyd ganddo fel dirprwywr, eithr amlygiad perffaith o'r cyfryw addefiad." (Gwel tud. 186). Dywedant wrthym hefyd, na "chyfranogodd Crist o'n pechod ni ond yn unig o'i ganlyniadau truenus."

*Ond pa beth a ddywea yr Ysgrythyr ?* Tystiolaeth yr Ysgrythyr ydyw, *i'n pechodau*, ac nid *eu canlyniadau yn*

*unig,* gael eu gosod ar Iesu. Cymmered y darllenydd yr adnodau canlynol fel engraifft :—"Yr Hwn Ei hun a ddug *ein pechodau* ni yn Ei gorph ar y pren." "A'r Arglwydd a roddes arno Ef ein *hanwiredd ni* i gyd." "Efe a ddwg eu *hanwireddau hwynt.*" "Efe a ddwg *bechodau* llaweroedd." Crist hefyd. wedi Ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith *bechodau* llawer." "Duw a ddanfonodd Ei Fab Ei hun y'nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac *am bechod:*" 1 Pedr ii. 24; Esa. liii. 6, 11, 12; Heb. ix. 28; Rhuf. viii. 3. Ac mor gryf y mae y meddylddrych hwn yn cael ei gyfleu mewn rhai adnodau, fel y dywedir i Grist gael ei *wneuthur yn bechod.*" "Yr Hwn nid adnabu bechod, a wnaeth Efe yn *bechod* drosom ni." Crist a'n llwyrbrynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan Ei wneuthur yn *felldith* trosom, canys y mae yn ysgrifenedig," &c.: 2 Cor. v. 21; Gal. iii. 13. Gwyddom mai y meddwl yn y cyfryw adnodau ydyw, fod Crist wedi Ei wneuthur yn *ddygiedydd* mawr *pechod* a *melldith.* Ond hwn yw y pwynt sydd yn cael ei wadu gan y duwinyddion diweddar. Dywedant hwy i Grist ddwyn "*canlyniadau* truenus ein pechodau, ond nid *ein pechodau;* tra y dywed yr Ysgrythyrau wrthym iddo ddwyn y ddau; fod *ein pechod* mewn gwirionedd, wedi ei osod yn gyfreithiol arno Ef fel ein dirprwywr, fel y dyoddefai Efe ei ganlyniadau cospedigol. *Pe na osodasid ein pechod yn gyfreithiol ar Grist, nis gallasai ddyoddef ei ganlyniadau;* gan ei fod Ef ei hun yn ddibechod. Pa ddyben ennillir trwy wadu na osodwyd ein pechod ar Iesu, os addefir iddo ddyoddef ei holl ganlyniadau truenus? Hwy a ddywedant i ni ei fod yn wrthun i'w synwyr moesol, fod *pechod* un gweithredydd moesol yn cael ei osod wrth ddrws un arall! Ond gofynwn, ai nid oes yr un anhawsder yn nghylch dyoddefaint gan un gweithredydd moesol, holl ganlyniadau truenus pechodau gweithredwyr moesol ereill? Mae y dyoddefaint yr un yn y ddau achos. Yr anhawsder ydyw cyssoni ingoedd y dyoddefydd â'r diniweidrwydd personol addefedig. A *mwyheir* yr anhawsder hwn, trwy wadu gosodiad ein pechod arno Ef; oblegid yn yr achos hyny, caem ddyoddefydd yn dyoddef holl ganlyniadau truenus pechod, ac yr un pryd yn ddibechod Ei Hun, a phechod ereill ddim yn

cael eu cyfrif arno. Dyoddefodd holl ganlyniadau truenus pechod, pryd nad oedd dim pechod wedi ei osod arno! Pwy ddichon gredu hyn?

Mr. Rogers, yn ei drydydd llythyr ar yr Iawn, a esyd y ddadl hon yn dra rhagorol:—

"A chofiwch, os ydych yn haeru annghyfiawnder Duw, wrth beru dyoddefaint i Grist am bechodau ereill, nas gellwch chwi ochelyd anhawsderau cyffelyb, a mwy yn ol ei radd, yn ol eich cyfundrefn eich hunain; canys, a all ei fod yn llai annghyfiawn i roddi y fath ddyoddefiadau ar Grist *am ddim pechodau o gwbl?* Os annghyfiawn ydyw Ei dderbyn Ef fel aberth dros yr euog, pa faint mwy annghyfiawn ydyw troni yr aberth am ddim, a phryd yr erfyniodd y dyoddefydd deirgwaith mewn ing, *os oedd bosibl, am i'r "cwppan gael ei droi heibio oddiwrtho."*"

Y mae dirprwyaeth wirioneddol, briodol, a gwirfoddol Crist yn esbonio yr holl drefniant. Efe gymmerodd ein lle ni o'i rydd ewyllys Ei Hun; safodd rhyngom a'r ddeddf droseddwyd genym; a boddlonodd i ddwyn y gospedigaeth gyfiawn ddyledus am ein troseddau. Felly, gan ddwyn *ein pechodau,* Efe a ymostyngodd i ddyoddef y melldith cyfiawn gyssylltiedig â hwynt. Yn gyfreithiol cynnrychiolodd ni, ac ymddygwyd tuag ato gan gyfraith annghymmodlawn fel pe buasai Efe y troseddwr; a thrwy y cyfan, ymostyngodd yn wirfoddol i'r cynllun, ac yn nyfnder Ei ing, llefodd allan, "Y cwppan a roddes y Tad i Mi, onid yfaf ef:" Ioan xviii. 11.

4. *Cyfeiriwn yn mhellach at y rhanau hyny o'r gwirionedd dwyfol yn y rhai y dywedir i holl ganlyniadau cospedigol ein pechodau gael eu rhoddi ar Iesu.* Gan i'n pechodau ni trwy gyfrifiad gael eu gosod ar ein dirprwywr mawr, y canlyniad cyfreithiol ydoedd, Ei fod Ef i ddwyn eu cospedigaeth. Ac ymddengys oddiwrth y tystiolaethau dilynol, Ei fod Ef wedi dwyn holl ganlyniadau cospedigol ein pechod cyfrifedig arno:—Efe "a draddodwyd dros *(dià)* ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni," Bu "Crist farw dros ein pechodau ni, yn ol yr ysgrythyrau," "Rhoddes Ei Hun dros ein pechodau." "Efe a archollwyd am *(min)* ein camweddau ni; Efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni: Cospedigaeth ein heddwch ni (y

gospedigaeth trwy yr hon y gwneir ein heddwch ni â Duw) oedd arno Ef: a thrwy Ei gleisiau Ef yr iachâwyd ni." "Rhodwyd plâ arno Ef am gamwedd fy mhobl." "Eithr yr Arglwydd a fynnai Ei ddryllio Ef; Efe a'i clwyfodd: pan osododd Efe Ei enaid yn aberth dros bechod, Efe a wêl," &c. "Efe a gyfrifwyd gyd â'r troseddwyr." "Lleddir y Messiah, ond nid o'i achos Ei Hun:" Rhuf. iv. 25; 1 Cor. xv. 3; Gal. i. 4; Esa. liii. 5, 8, 10, 12; Dan. ix. 26. A ddichon iaith ddysgu yn fwy arbenigol yr athrawiaeth fod Iesu wedi dwyn y gospedigaeth oedd yn gyfiawn ddyledus i'n camweddau ni?

5. *Y mae yr un gwirionedd mawr yn cael ei gadarnhau gan y testynau hyny a'n dysgant, fod ein rhyddhad oddiwrth y gospedigaeth gyfiawn ddyledus i'n euogrwydd ni, yn ddyledus i ddyoddefaint yr Emmanuel ohoni yn ein lle.* Mor lluosog ac mor arbenig ydynt y tystiolaethau a roddir yn yr Ysgrythyr Santaidd i'r cyssylltiad sydd yn hanfodi rhwng gwaith dirprwyol Iesu a'n rhyddhad oddiwrth euogrwydd! Rhyddhawyd ni oddiwrth gospedigaeth, oblegid i Iesu farw yn ein lle!

Yr oedd y Messiah i ddyfod "i wneuthur cymmod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder tragywyddol." "Trwy Ei gleisiau Ef yr iachâwyd ni." "Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy Ei wybodaeth; canys Efe a ddwg eu hanwireddau hwynt." "Yr awrhon unwaith yn niwedd y byd (h.y., dan yr oruchwyliaeth ddiweddaf o drugaredd ddwyfol i ddyn) yr arddangosodd Efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei Hun." "Gwaed Iesu Grist Ei Fab Ef, sydd yn ein glanhau ni oddi wrth bob pechod. "Wedi puro ein pechodau ni trwyddo Ef ei Hun, a eisteddodd," &c. "Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni." Efe "a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddi wrth ein pechodau yn Ei waed Ei Hun." "Carodd Crist ninnau, a rhoddodd Ei Hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." "Y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed Ef, sef maddeuant pechodau." "Yr ydym ni wedi ein sancteiddio trwy offrymiad corph Iesu Grist unwaith." "Ag un offrwm y perffeithiodd Efe yn dragwyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio." "Dawn Duw yw bywyd tragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd." "Trwy

ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn." "Ac am hyny y mae Efe yn Gyfryngwr y cyfammod newydd, megis trwy fod marwolaeth yn ymwared oddi wrth y troseddau oedd dan (gyflawnwyd dan) y cyfammod cyntaf, y cai y rhai a alwyd dderbyn addewid yr etifeddiaeth dragwyddol:" Dan ix. 24; Esa. liii. 5, 11; Heb. ix. 26; 1 Ioan i. 7; Heb. i. 3; 1 Ioan ii. 2; Dad. i. 5; Eph. v. 2; i. 7; Heb x. 10, 14; Rhuf. vi. 23; v. 19; Heb. ix. 15. Y mae yn amlwg fod yr adnod ddiweddaf hon yn gydredol â Rhuf. iii. 25. Ei meddwl yw, fod marwolaeth Crist yn sail gyfreithlon yr ymwared oddiwrth gamwedd dan y gyfraith, mor wirioneddol felly ag ydyw o dan yr efengyl. Felly, mae cynllun maddeuant pechodau a chyfiawnhad y pechadur, yn cymmeryd yn ganiatâol nodwedd ddirprwyol ufudd-dod a marwolaeth Crist. Bu farw yn ein lle ni; ac am iddo Ef farw, y mae pawb a gredant ynddo yn byw yn dragywydd. Mae athrawiaeth dirprwyaeth yn gwneuthur hyn oll yn berffaith eglur. Megis y mae y dirprwywr yn cyfarfod yn gyfreithiol, ofynion y rhai a gynnrychiola, felly y mae pawb sydd â rhan yn Ei waith dirprwyol, yn derbyn y bendithion deilliedig oddiwrth yr hyn oll a wnaeth ac a ddyoddefodd. Ac fel yma, gallwn ddeall ystyr cyflawn y dywediadau goruchel hyny,—"Maddeuodd Duw *er mwyn Crist* (*en Christō*) i ninau; a "Maddeu i chwi eich pechodau er mwyn ei enw Ef:" Eph. iv. 32; 1 Ioan ii. 12.

Yr ydys wedi dyweyd yn barod am y modd yn yr hwn y mae iawn ein Harglwydd yn gweithredu mewn sicrhau ein maddeuant ni, tud. 192, 193. Gwaith Crist ydyw y "ffynon agorwyd i dŷ Dafydd ac i breswylwyr Jerusalem, i bechod ac aflendid:" Zech. xiii. 1. Dyrchafwyd Mab y Dyn i'r groes "Fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol." "Yr hwn sydd yn bwytta ei gnawd Ef, ac yn yfed ei waed Ef, sydd ganddo fywyd tragwyddol:" Ioan iii. 14, 15; a vi. 54. Fel yma, mae ein holl obeithion am brynedigaeth a gogoniant yn ymdyru o gylch aberth ein Harglwydd, ac mae pob bendith yn cael ei rhoddi i ni trwy haeddiannau Ei farwolaeth ddirprwyol.

6. *Y mae y gorthrymder enaid rhyfeddol o dan yr hwn*

*y llafuriodd ein Harglwydd yn nherfyn Ei yrfa, yn esboniadwy yn unig ar y tir Ei fod yn ddirprwywr dros ereill.* Rhagfynegwyd y byddai i'n Harglwydd waredu Ei bobl trwy oddefiad llafur enaid ofnadwy yn ein hachos. "Pan osodo Efe ei enaid yn aberth dros bechod, Efe a wel Ei had." "O lafur Ei enaid y gwel ac y diwellir:" Esa. liii. 10, 11.

Ac yn gysson â'r rhagfynegiadau hyn, pan ddynesodd at derfyn Ei yrfa ddaearol, cawn Ef yn llefain, "Yr awr hon y cynhyrfwyd fy enaid; a pha beth a ddywedaf? (A ddywedaf) O Dad, gwared fi allan o'r awr hon? Eithr o herwydd hyn y daethum i'r awr hon. O Dad, gogonedda Dy enw:" Ioan xii. 27, 28. Yr oedd tymhestl digofaint dwyfol yn erbyn pechod eisoes yn crogi uwch ben, ac yr oedd eithafnod *(crisis)* dirwasgfa y Gwaredwr yn ymyl. Yr oedd ing enaid y Messiah yn ngardd Gethsemane yn fwy fyth. Dyma oedd Ei lef gwynfanus, "Trist iawn yw fy enaid hyd angau:" Matt. xxv. 38. Yr oedd Ei galon yn orlwythog. Ei ddirwasgfa braidd yn anoddefadwy. Teirgwaith yr ymneillduodd i ad-ddywedyd y weddi, "Os yw bosibl, aëd y cwppan hwn heibio oddi wrthyf:" a theirgwaith y dychwelodd at Ei ddysgyblion â'i faich ofnadwy heb ei symud. O'r diwedd daeth Ei ing mor anoddefadwy, fel yr ymddangosai Ei natur ddynol fod yn ymddryllio. Yr oedd natur yn rhoi ffordd. Dechreuodd chwŷs gwaedlyd, arswydfawr ddyhidlo allan o'i chwys-dyllau, a phe na fuasai Ei ysbryd ymsuddedig wedi ei gynnal yn wyrthiol gan angel anfonedig o'r nefoedd, rhaid y buasai wedi marw ar ddaear Gethsemane: Luc xxii. 44!

A phaham y dyoddefwyd y ddirwasgfa hon? Nid oedd un law greuedig etto wedi ei gosod ar ein Harglwydd. Nid oedd y dienyddwr etto wedi Ei hoelio wrth y groes. Y llaw a'i drylliai Ef oedd law anweledig. Yr oedd oedd deddf a chyfiawnder Duw yn awr "*yn taro y bugail;*" ac yr oedd dychrynfeydd yr Arglwydd yn myned i galon ein dirprwywr. Y cwpan oedd Efe yn ei yfed hyd ei waddod oedd gwpan digllonrwydd dwyfol tuag at bechod. Y mae hyn yn esbonio yr holl amgylchiad, ac yn ei gymmodi â gordderchogrwydd a mawredd y Messiah. Yr oedd

elfen o dristwch yn Ei ddirwasgfa olaf Ef, nad oes gan un credadyn yn yr eiddo ef. Bu Crist farw mewn tywyllwch, fel y gallem ni farw mewn goleuni; bu Efe farw dan y felldith, fel y byddem ni farw mewn mwynhad o'r fendith; ymsuddodd Ef dan bwys ein pechodau cyfrifedig, fel y cyfodem ni, yn awr ein ymddattodiad at Dduw, wedi ein gwisgo yn ei gyfiawnder Ef! Galluogir credinwyr i farw yn llawen, trwy y tywyllwch yn yr hwn yr amguddiwyd enaid eu Harglwydd yn awr Ei ymadawiad. Ei ing Ef yw dirgelwch eu dedwyddwch hwy!

Ar y groes, hefyd, yr ydym yn ei glywed Ef yn rhoi allan yr ochenaid ddirgeledig hono, "Fy Nuw! Fy Nuw! paham y'm gadewaist?" Matt. xxvii. 46. Mae ysgariad oddiwrth Dduw yn un elfen yn melldith pechod, ac yr ydoedd yn iawn i'n dirprwywr gogoneddus gael profi y gosp ofnadwy hon. Tynwyd yn ol lewyrch wyneb Ei Dad, a gorchuddiwyd enaid dynol yr Emmanuel â chysgodion yr ail farwolaeth!

Heblaw hyn oll, caniatâwyd i alluoedd uffern i wneuthur eu gwaethaf mewn ymosodiad ar enaid ein Meichnïydd. Yr oedd ein Gwaredwr yn ymwybodol o hyn pan ddywedodd wrth y rhai a'i daliasant Ef, "Eithr hon yw eich awr chwi, a gallu y tywyllwch:" Luc xxii. 53. Fel yma, yn nghanol ymosodiadau uffern a gŵg y nefoedd, offrymodd y dyoddefydd gogoneddus ei Hun ar y groes! Fel hyn y gwnaed Ef yn "*bechod*" ac yn "*felldith*" drosom ni!

Dilys fod y meddylddrych o "addefiad dirprwyol pechod yn unig ar ein rhan gan y Ceidwad" yn esboniad rhy egwan o alaeth mor annhraethadwy â hwn! Mae y cyfryw linyn yn rhy fyr i blymio dyfnderau ing y Gwaredwr.

7. *Mae cysgodau goruchwyliaeth yr Hen Destament yn arddangos yr un gwirionedd mawr.* Y mae addysgiadau aberthol y defodau Moesenaidd yn cael eu symio fyny gan Paul yn y geiriau nodedig, "A chan mwyaf trwy waed y purir pob peth wrth y gyfraith; ac heb ollwng gwaed nid oes maddeuant:" Heb. ix. 22. Gofynai manwl-nodi holl gysgodau y gyfraith gyfrol ar ei phen ei hun; ond yn mhob achos *tybid pechodau yr offrymydd, fel yn osodedig ar yr aberth a leddid yn ei le.* Y seremoniau a gyflawnid ar ddydd mawr y cymmod blynyddol oeddynt orlawn o

addysgiadau efengylaidd. Y ddau fwch, a'r ddau yn arwyddluniol o Grist—yr un a offrymid, o Grist yn marw ar y groes, a'r un byw—y bwch diangol—o Grist fel wedi cyfodi oddiwrth y meirw ac esgyn i'r nefoedd; a chyffesiad anwiredd yr holl gynnulleidfa ar ben y diweddaf, a'r cymmod a wnaed mewn canlyniad, oeddynt yn amlwg yn awgrymu trosglwyddiad ein pechod ni ar Oen Duw: Lef. xvi. Yr Epistol ysbrydoledig at yr Hebreaid, yr esboniad ardderchog hwnw ar gyfraith Moses, ydyw ein awdurdod dros ystyried aberthau y gyfraith yn gysgodau o'r aberth gwell oedd yw offrymu yn nghyflawnder yr amseroedd. Ac mae yr oruchwyliaeth Lefiaidd o'r naill ben i'r llall iddi, yn ein dysgu fod ein pechodau ni wedi eu gosod ar Grist.

8. *Mae yr arddodiaid a ddefnyddir i ddarlunio dirprwyaeth ein Harglwydd drosom ni yn dra phennodol.* Y mae ein apëliad hyd yma wedi bod yn gwbl at addysgiadau cyffredinol ac eang yr Ysgrythyr, heb unrhyw ddisgyniad at *feirniadaeth fanwl.* Y mae nerth mawr, fodd bynag, yn y profion a roddir gan yr arddodiaid a ddefnyddir i osod allan yr ystyr yn yr hon y bu ein Harglwydd farw *drosom* ni. Maent yn dysgu yn eglur y meddylddrych o *ddirprwyaeth.* Mae yr arddodiad Hebraeg *al*, a ddefnyddir yn Lef. xvi. 20—22, yn dysgu symudiad pechodau y gynnulleidfa a'u cyfrifiad cysgodol i'r aberth. Gosodid pechod y bobl *ar* yr aberth. Yn gyferbyniol a'r adnodau hyn, y mae Esa. liii. 6, yr hon a ddylai ddarllen, "A Jehofah a wnaeth i gyfarfod *arno Ef* (*bo*) ein hanwiredd ni i gyd." Yn y 5ed adnod o'r bennod nodedig hono, y mae yr arddodiad *min* yn cael ei ddefnyddio fel yn gyfystyr ag *ar gyfrif.* Mae hyd y nod Gesenius yn darllen yr adnod, "Efe a archollwyd *ar gyfrif* ein camweddau ni, Efe a ddrylliwyd *ar gyfrif* ein hanwireddau ni." Mae yr arddodiaid Groegaidd a ddefnyddir yn y Testament Newydd yn fwy pennodol fyth. Yn y ddegfed bennod o Ioan, lle y dywed ein Harglwydd ddwywaith, iddo "roddi Ei einioes *dros* y defaid" (11—15), yn y ddwy engraifft yr arddodiad a ddefnyddir ydyw *ὑπὲρ*, yn cael ei ganlyn gan yr achos meddiannol *(genitive)* yr hwn yn ddiau a ddefnyddir i arwyddocau *yn lle*, fel y mae yn yr achosion

cyffelyb a ganlyn: Philemon 13 "fel *drosot ti* (*ŭpèr soŭ*) y gwasanaethai efe fi:" 2 Cor. v. 20. "Yr ydym ni yn genhadau *dros* Grist" (*ŭpèr christŏŭ*); "Yr ydym yn genhadau *dros* Grist" (*ŭpèr Christŏŭ*). Felly yn 1 Pedr iii. 18, dywedir i Grist "ddioddef ar gyfrif (*peri*) pechodau, y cyfiawn dros (*ŭpèr*) yr anghyfiawn."

Ond y cryfaf o'r holl arddodiaid Groegaidd i osod allan y meddylddrych o ddirprwyaeth ydyw *ànti*. Nid oes angen un prawf o hyn. Gŵyr pob un a ŵyr rhywbeth am Roeg mai *yn lle* ydyw arwyddocâd gwreiddiol y gair hwn, ac fod hyd y nod cymhwysiadau adlawiadol y *term* i raddau mwy neu lai yn cael eu nawsu yn gryf â'r meddylddrych yma. Gellir dyfynu yr adnodau canlynol fel eglurebau:—"Sarph *yn lle* pysgodyn:" Luc xi. 11. "*Lle* y dylech ddywedyd:" Iago iv. 15. "A ddodwyd *yn lle* gorchudd:" 1 Cor. xi. 15. "*Yn lle* ei dad Herod:" Matt. ii. 22.

A hwn ydyw yr arddodiad a ddewisa ein Harglwydd i ddarlunio nodwedd ddirprwyol Ei farwolaeth Ei hun. "Daeth Mab y Dyn i roddi Ei einioes yn bridwerth (*lùtron*) *yn lle* (*ànti*) llawer:" Matt. xx. 28. Mor wir gan hyny, ag y teyrnasodd Archelaus *yn lle* Herod, mor wir a hyny y bu Iesu farw *yn lle* troseddwyr.

Cynnorthwya yr adnod hon (Matt. xx. 28) ni i werthfawrogi meddwl 1 Tim. ii. 6: "Yr hwn a'i rhoddes ei Hunan yn bridwerth" (*àntilutron*), yn llythyrenol, yn *bridwerth dirprwyol*, "dros (*ŭpèr*) bawb." Yn Matt. xx. 28, yr ydym yn cael y ddau air, *ànti* a *lùtron*, yn cael eu defnyddio ar *wahan*; yn 1 Tim. ii. 6, yr ydym yn eu cael *mewn cyfansoddiad* megis un gair yn cael eu canlyn gan yr arddodiad *ùpèr*. Yn awr, os nad yw y ddwy adnod hyn yn dysgu yr athrawiaeth o ddirprwyaeth yn ei phurdeb, mae yr athrawiaeth hono yn analluog i'w dysgu gan unrhyw ffurf o iaith ddynol, pa bynag.

Pwysig iawn ydyw y dystiolaeth a rydd Matt. xxvi. 28: "Hwn yw Fy ngwaed o'r cyfammod newydd, yr hwn a dywelltir dros (*peri, ar rhan*) lawer, er (*eis, er mwyn*) maddeuant (*ăphesin*, cymharedig â Matt. vi. 12), pechodau." Dywed ein Harglwydd ei Hun wrthym, i'w waed gael ei dywallt ar ran llawer, ac er mwyn maddeuant

pechodau. Ni ddichon un iaith fod yn eglurach, neu yn fwy penderfynol.

Gadawwn y pwnc hwn gan hyny gyda datgan ein gobaith ddifrifol y gall yr hyn a ysgrifenasom fod yn foddion yn llaw Duw i gadarnhau ffydd ein darllenwyr yn yr hen ffydd dda uniawngred, i'r "Arglwydd roddi ar Grist *ein hanwireddau ni i gyd*, ac nid eu canlyniadau yn unig.

II. Rhaid cyffwrdd yn fyr â phwynt arall cyn terfynu y bennod hon; yr ydym yn golygu, HELAETHRWYDD Y TREFNIANT HWN. Ac ar y pwnc yma ni chawn sylwi ond fel y canlyn:—

1. *Yr oedd gan y Tad ddyben pendant i'w gyflawnu yn rhoddiad Ei Fab; ac yr oedd yr un dyben mewn golwg gan y Mab yn y rhoddiad ohono Ei Hun.* Nis gellid tybied y byddai i'r Tad Tragywyddol adael canlyniad rhagorwaith Ei ddoethineb i ddamwain. Pan anfonodd Efe Ei Fab i'r byd, rhoddodd iddo waith neillduol i'w gyflawnu: Ioan xvii. 4. Rhoddodd yr holl Eglwys yn Ei ddwylaw, i'w phrynu trwy Ei waed, ac i'w chyfodi i gadwedigaeth trwyddo Ef yn y dydd diweddaf. Ac yn unol â'r gwaith hwn "a roddwyd iddo i'w wneuthur," "Carodd Crist yr Eglwys, a rhoddes Ei Hun drosti, fel y sancteiddiai Efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr, trwy y Gair; fel y gosodai Efe hi yn Eglwys ogoneddus iddo Ei Hun:" Eph. v. 25—27. "Y Bugail Da sydd yn rhoddi Ei einioes dros y defaid:" Ioan x. 11. Fel hyn y dywedodd ein Harglwydd, "A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd I, o'r cwbl a roddes Efe i Mi, na chollwn ddim o hono, eithr bod i Mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf:" Ioan vi. 39. Gall y darllenydd, hefyd, gyfeiro yn ol at yr hyn a ddywedwyd ar Gyfammod y Prynedigaeth, ac ar Athrawiaeth Etholedigaeth, er cadarnhad pellach o neillduolrwydd anfoniad ein Harglwydd i'r ddaear. Tybiwn na wada neb fod prynedigaeth neillduol yn ganlyniad rhesymegol yr athrawiaeth o etholedigaeth. Os oes "etholedigaeth gras" yn bod, yna rhaid mai dros bechodau yr etholedigion yn *neillduol*, y bu y Ceidwad farw. Yr oedd gan bobl ddewisedig Duw rhan neillduol yn ngwaith eu Pen a'u Cynnrychiolydd cyfammodol, fel y gall pob un ohonynt ddywedyd, "Yr Hwn a'm carodd, ac a'i dodes ei Hun drosof fi:" Gal. ii. 20.

Yn wrthwyneb i'n brawd parchus Mr. Hinton, yr ydym ni yn dal mai cadwedigaeth yr etholedigion oedd bwriad uniongyrchol Duw mewn prynedigaeth, ac nid un ailraddol (*secondary*). Pa fodd y gall un dyn a ddeil, fel y gwna Mr. Hinton, fodoldeb etholedigaeth dragywyddol a phenarglwyddiaethol yr Eglwys i gadwedigaeth, gredu fod agwedd neillduol gwaith Crist yn ailraddol yn unig, fod yr "agwedd neillduol wedi ei chwanegu at yr un gyffredinol," ac nad yw prynedigaeth neillduol ond "cyfryngiad ychwanegol," trugaredd "wedi ei himpio i mewn i brynedigaeth gyffredinol," "wedi ei chwanegu ati," a'i "seilio arni," nid yw ein rhesymeg yn ein galluogi i ddeall. Os mai cadwedigaeth yr Eglwys ydyw prif fwriad Duw, ac os ydyw pob trefniad a chynllun arall yn ddarostyngedig i hwn, fel y dysga y Beibl yn eglur eu bod (Gwel Eph. i. 4, 5, 9, 12): os ydyw y byd i gael ei arbed er mwyn yr had etholedig: Esa. i 9; Matt. v. 13; os "goddefodd yr apostolion bob peth er mwyn yr etholedigion," fel y gallent gael yr iachawdwriaeth sydd yng Nghrist Iesu, gydâ gogoniant tragywyddol:" 2 Tim. ii. 10; ac os oes gan Grist awdurdod ar bob cnawd, fel y rhoddai Efe fywyd tragywyddol i gynnifer ag a roddwyd iddo gan y Tad: Ioan xvii. 2; os yw Efe yn Ben uwch law pob peth er lles Ei gorph Ef, yr Eglwys (Eph. i. 22, 23), yn ddiammheu rhaid i ni ystyried agwedd gyffredinol marwolaeth Crist fel yn ailraddol i'r neillduol. Yn rhesymegol, hefyd, rhaid bob amser i'r ammodol a'r ansicr fod yn israddol i'r anammodol a'r pendant. Yr ydym yn credu yn yr agwedd gyffredinol o farwolaeth Crist, fel y dysga y darllenydd yn fuan, eithr ystyriwn hi yn ailraddol yn unig i fwriad neillduol a digyfnewid Duw mewn perthynas i brynedigaeth yr Eglwys.

Y mae y ddadl, fodd bynag, yn un ddiles. Digon ydyw gwybod i Grist farw dros yr Eglwys mewn un ystyr, a thros yr holl fyd mewn ystyr arall. Ac mae'r ddwy agwedd yn rhanau o UN gyfundrefn fawr a dwyfol y cyfanfyd. Gyda Duw, a llefaru yn bendant, nid oes dim ad-feddyliau. Ni raid iddo Ef byth chwanegu at un o'i weithredoedd. Mae Ei gynghor yn un cyfanwaith arderchog.

2. *Yn nghyflawniad y gwaith mawr a neillduol hwn,*

*cyflwynodd ein Harglwydd aberth digonol o ran gwerth i gadw deng mil o fydoedd.* Tra yn addef, ar sail profion Ysgrythyrol, y rhai ni a gredwn ni ddichon dim beirniadaeth deg eu dymchwelyd, ddyben neillduol nid yn unig yn rhoddiad y Mab gan y Tad, ond yn rhoddiad y Mab ohono Ei Hun, y mae er hyny yn sicr i aberth gael ei gyflwyno yn nghyflawniad y dyben hwn, o werth anfeidrol; canys nid oedd yr aberth hwnw neb llai nâ'r Arglwydd Iesu Grist Ei Hun, yn nghyfanrwydd Ei berson. "Rhoddes Ei Hun:" Gal. i. 4; ii. 20; "Offrymmodd Efe ef ei Hun:" Heb. vii. 27, &c. Ond perthynai i *Hwn,* ardderchogrwydd a gogoniant annherfynol; ac felly nid oes un terfyn i werth a theilyngdod hanfodol aberth y Ceidwad. Efe ei Hun oedd yr aberth, a phwy esyd derfynau ar ogoniant a theilyngdod Mab Duw?

3. *Am hyny, gellir galw yn onest a gwirioneddol ar bob pechadur i ymddiried yn yr aberth anfeidrol hwn.* Gallwn ddywedyd yn rhydd wrth y cenedloedd, fel y gwnaeth Paul, "Am hyny bydded hysbys i chwi, ha wir frodyr, mai trwy Hwn yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant pechodau. A thrwy Hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu, oddi wrth yr holl bethau y rhai ni allech trwy gyfraith Moses gael eich cyfiawnhau oddi wrthynt:" Act. xiii 38, 39. A gallwn gyhoeddi gydag Apostol yr enwaediad yn mhob man, "I hwn y mae yr holl broffwydi yn dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo ynddo Ef faddeuant pechodau, trwy Ei enw Ef:" Act. x. 43.

Fel yma, hefyd, gallwn esbonio adnodau fel y rhai hyn, "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd Efe Ei unig-anedig Fab, fel, &c. "Oblegid ni ddanfonodd Duw Ei Fab i'r byd, i ddamnio y byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo Ef," "Ac Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni, ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd," fel trwy ras Duw y profai Efe (Iesu) farwolaeth dros bob dyn," "Yr Hwn a'i roddes Ei Hun yn bridwerth dros bawb:" Ioan iii. 16, 17; 1 Ioan ii. 2; Heb. ii. 9; 1 Tim. ii. 6.

Y mae digonolrwydd anfeidrol aberth Mab Duw yn hunan-brofedig. Pe ymddiriedai pob troseddwr yn y cyfanfyd ynddo, byddai yn sylfaen ddigonol yn llywodraeth

foesol Duw dros faddeuant euogrwydd y cyfryw droseddwr. Mae marwolaeth Iesu, fel dirprwywr yr euog, wedi mawrhau y gyfraith, ac wedi cyhoeddi cyfiawnder llywyddol Duw yn y fath fodd, fel y gall Efe yn awr fod yn gyfiawn ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu. Daliai hyn yn wirionedd pe cofleidiai holl feibion syrthiedig Adda y cymmod mawr yr eiliad hwn. Os rhoddodd Iesu Ei Hun, ni ddichon dim byth ddihysbyddu gwerthfawredd hanfodol y fath aberth. Rhaid i ni beidio caniatau i gredöau a chyfundraethau i osod terfyn ar yr hyn sydd yn eglur yn annherfynadwy. Os darfu i Dduwdod Emmanuel argraffu Ei anfeidroldeb ar werth Ei aberth, rhaid fod yr aberth hwnw o werth anfeidrol. Rhaid i'r effaith gydweddu â'r achos ; a chan mai y Duwdod ydyw yr achos, gwerthfawredd anfeidrol yn yr aberth, rhaid fod yr effaith.

Mae y gwirioneddau hunan-brofedig hyn, fodd bynag, yn berffaith gysson â dyben neillduol y Tad yn rhoddiad Ei Fab, â chariad neillduol y Mab yn y rhoddiad ohono Ei Hun, ac â gwaith neillduol yr Ysbryd yn ailenedigaeth dynion.

Gosodir y pwynt hwn i lawr yn hapus gan Mr. Hinton yn ei "*Moderate Calvinism Re-examined.*"

Diammheu i Grist roddi Ei fywyd *dros ei ddefaid*, fel eu cynnrychiolydd a'u meichnïydd, ac o dan gyfrifiad pennodol o'u hanwiredd"—P. 30. Ar yr adnod ragorol Ioan iii. 16, "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd Efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol," rhesyma yn nerthol fel hyn, "Nid oes dim yn yr adnod hon, neu yn ei chyssylltiad, i'w awgrymu fel ffaith, nac yw awdurdodi fel tebygiad, fod ein Harglwydd yn meddwl am yr Iuddew neu y cenedl-ddyn, yn hytrach nag am yr holl hil ddynol ; am y diweddaf, gan hyny, y mae Ei eiriau i'w cymmeryd yn deg. Yn mhellach, mae rhywbeth yn yr adnod ei hun sydd yn penderfynu y meddwl hyn i'r geiriau. Mae tueddnod ac helaethrwydd y cariad arddangosedig yn rhan ddiweddaf yr adnod yn cael ei ddarlunio yn eglur, "Felly y carodd Duw . . . . fel y rhoddodd Efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol."

Ond y mae yn ddiau i Dduw garu Ei etholedigion yn fwy nâ hyn. Gwrandawer beth a ddywed yr Apostol, pan y mae yn darlunio cariad Crist tuag at yr Eglwys, "Carodd Crist yr Eglwys, a rhoddes Ei hun drosti; fel y sancteiddiai Efe hi, a'i glanhau a'r olchfa ddwfr, trwy y Gair; fel y gosodai Efe hi yn ogoneddus iddo Ei hun, yn eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw:" Eph. v. 25, 26. A ydym ni yn awr i ddysgu mae caru Ei eglwys a wnaeth Duw yn unig i'r dyben, fel na chollid pwy bynag ohonynt hwy a gredent? A oes hefyd ran o'r eglwys, fel yr ymddengys fod yn cael ei awgrymu, na chredant, ac o ganlyniad a fyddant yn golledig? Ymddengys i mi, yr wyf yn addef, fod y dylanwad a briodolir yma i farwolaeth Crist yn awgrymu ac yn argymhell ei gyfeiriad at y "byd," yn golygu yr holl hil ddynol. Ofer ydyw lluosogi testynau, gan fod un engraifft bendant gystal a chant, a chan nas gallaf ddysgwyl i un dyn nad yw wedi ei argyhoeddi gan y testun hwn, gael ei argyhoeddi gan anrhyw un arall."—P. 35.

III. Cawn orphen y bennod hon sydd eisoes wedi myned yn faith, trwy NODI AC ATEB GWRTHDDADLEUON.

1. "*Paham na all Duw wneuthur gweithred hael a maddeu i ni yn uniongyrchol?*" Defnyddiwyd y geiriau hyn gan gloddiwr *(navvie)* Saesneg mewn ymddiddan â Miss Marsh, ac y maent wedi eu cofnodi ganddi yn y llyfr dyddorol hyny, "*English Hearts and English Hands.*" Ymresymodd y *navvie* synwyrol hwn fel yma: 'Nawr edrychwch yma, 'rwyf fi yn ddyn tlawd, yn cymmeryd arna'i nac yn proffesu dim; etto mae ymryson rhyngof fi â chyfaill, teimlwyf yn ddigofus ato; a wabiaf ef yn dda y tro cyntaf y cwrddwn â'n gilydd. Meddyliaf yn well am dano; cynnygiaf iddo hanner fy mara a chaws pan ddygwyddwn gwrdd, ac yr ydym yn gyfeillion. 'Nawr, paham na all Duw wneuthur gweithred hael a maddeu i ni yn uniongyrchol?

Y mae hyn yn anhawsder sydd yn pwyso ar feddyliau llawer, ac yn ddiau ni osodwyd ef allan erioed yn gryfach nag yn ngeiriau y cloddiwr didwyll.

Mae yr atebiad fodd bynag, yn amlwg. Y mae Duw

yn Farnwr ac yn Llywodraethwr yn gystal â Thad, ac mae trefn a dedwyddwch cyd-ddilynol y cyfanfyd yn gofyn iddo Ef beidio dal awenau llywodraeth â llaw rydd ac ansicr. Nis gall ynad heddwch wneuthur yn ei swydd gyhoeddus, yr hyn a ddichon efe wneuthur fel person unigol. Fel gweinyddwr cyfiawnder, ei waith ydyw rhoddi y gyfraith mewn grym, a mynu gweled fod y rhai a'i troseddant yn cael dyoddef am eu pechod. Ac nis gall Jehofah fel prif ynad y cyfanfyd, faddeu pechod yn y fath ffordd a wanhao awdurdod cyfraith, ac a beryglo gadernid Ei lywodraeth ar Ei greaduriaid. Mae trefn y cyffredin, ac am hyny, lles y cyffredin, yn profi yr angenrheidrwydd o aberth mewn trefn i faddeu troseddau.

Ac wrth ein cyfaill, y cloddiwr, dywedwn yn mhellach, fod Duw wedi gwneuthur gweithred hael yn yr achos hwn o faddeuant; canys y mae wedi darparu iawn dros bechod trwy draul anfeidrol, a geilw ar wrthryfelwyr beiddgar yn erbyn Ei awdurdod i ddyfod ato ac ymgymmodi ag Ef, ac addawa i bawb a gofleidiant Ei Fab ymgnawdoledig, faddeuant llwyr a thragywyddol o bob pechod. Ai nid yw gwneyd hyny yn weithred hael? "Nid arbedodd Efe Ei briod Fab, ond traddododd Ef drosom ni oll," fel y byddai Efe yn gyfiawn, ac y maddeuid i ninau. A fu cariad erioed fel hwn?

2. "*Y mae yn anfoesol fod y diniwed yn cael dyoddef dros yr euog.*" Ydyw, yn ddiammheu felly, os bydd y diniwed yn cael ei *orfodi* i ddyoddef fel hyn. Ond nid oes dim yn anfoesol yn yr amgylchiad os bydd y person diniwed yn *foddlon* dyfod yn ddirprwywr i'r euog. A thrwy holl gynllun iachawdwriaeth trwy Gyfryngwr, gweithredodd yr Arglwydd Iesu yn y modd mwyaf ewyllysgar. Cyn Ei ymgnawdoliad, yr oedd Ei "hyfrydwch gyda meibion dynion" gan ragweled Ei ymddangosiad yn y cnawd. A thrwy Ei holl fywyd ar y ddaear, ni chiliodd yn ol oddiwrth Ei orchwyl mawreddog. "Rhoddodd Ei einioes i lawr dros Ei ddefaid; dododd hi lawr o "hono Ei hun," ac yn awr wedi Ei orseddu mewn goleuni, fel "Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, y mae yn medi gwobr ogoneddus Ei farwolaeth—yn gweled Ei had, yn gweled o lafur Ei enaid, ac yn meddu y boddlonrwydd mwyaf goruchel all y

meddwl ddychymmygu am dano, yn nghadwedigaeth myrddiynau annghyfrifadwy, trwy rinweddau Ei brynedigaeth. A oes rhyw beth yn anfoesol neu annheilwng o Dduw yn hyn?

3. "*Y mae cadwedigaeth trwy ufudd-dod a dyoddefaint un arall yn tueddu i anog i benrhyddid.*" Tra sicr ydyw, fod hyn yn gamsyniad, oblegid yr un efengyl a gyhoedda "Maddeuwyd i ti dy bechodau," a chwanega gyda theimlad difrifol, "Dos ac na phecha mwyach." Ond nid yn unig dywed wrth y dyn y maddeuwyd iddo am wneuthur hyn; eithr rhydd iddo y darluniadau cyflawnaf a rhagoraf o brydferthion gwir santeiddrwydd, cyflenwa ef ag argymhellion i burdeb; yr argymhellion cryfaf a all reoli y galon. Ymesyd ar ei enaid a phob ystyriaeth all doddi, meddalhau, a darostwng. Ac i goroni y cwbl, gesyd o'i flaen ddylanwadau dwyfol yr Ysbryd Glân fel pryniad marwolaeth Crist, a chynnorthwy diball yn ein hymdrechion â phechod. Pwy gan hyny, a ddywed, fod y gyfundrefn ogoneddus hon, yn tueddu i anog i benrhyddid? Y mae yn drefn o brynedigaeth sydd yn gwneyd dynion yn dda, sydd yn eu puro, ac yn eu gwneuthur yn ddedwydd.

4. "*Ai ni ellid cael allan un ffordd arall o iachawdwriaeth fuasai yn ateb yr un cystal?*" Mae yr ymofyniad hwn mewn creadur, a dywedyd y lleiaf, yn haerllug. Y mae yn eglur, fodd bynag, na ellid cynllunio un ffordd arall i gadw dynion, a fuasai yn ateb gystal â hon. Pe gallasai Duw arbed arteithiau annysgrifadwy Iesu o Nazareth, buasai wedi gwneyd hyny. Nid ydyw yn ein cystuddio ni yn ewyllysgar, llai fyth y gwnaethai Efe osod Ei anwyl Fab yn y fath ddoluriau, pe gallesid rhoddi heibio y fath oddefaint dychrynllyd. Y mae Jehofah yn rhwym, oddiar angenrheidrwydd moesol goruchel, i wneuthur pob peth yn berffaith; hyny yw, yn y modd goreu sydd bosibl. Dewiswyd y ffordd hon, am hyny, yr oedd yr oreu oedd bosibl—yr unig ffordd oedd bosibl, canys ni ddichon Duw wneuthur dim mewn un ffordd arall amgen yr un oreu.

5. "*Os bu Crist farw fel aberth i Dduw, dros ein pechodau ni, paham y defnyddiwyd dynion yn ddienyddwyr?*" Gesyd Newman yr wrth-ddadl hon fel yma:—"Os oedd gan Iesu awdurdod oddiwrth Ei Dad i roddi lawr Ei fywyd,

a oedd Efe yn analluog i drywanu ei Hun yn y diffaethwch, neu ar allor santaidd y deml, heb gynnwys euogrwydd mewn un bod dynol? A oedd angen unrhyw gyfiawnhad arno Ef, oedd yr un pryd yn arch-offeiriad ac yn ddyoddefydd, pan yn offrymu ac yn cyflwyno ei Hun i Dduw, am ddefnyddio y gyllell aberthol"? (*Phases*, p. 162). I hyn yr ydym yn ateb, pe rhoddasai Iesu Ei fywyd i lawr trwy Ei law ei hun, buasai Mr. Newman y cyntaf o bawb i'w gyhuddo o hunan-laddiad ac fel gwallgofddyn! Nac oedd! Nid dymunol oedd i'n Meistr farw felly. Mae y doethineb dwyfol yn amlwg yn y trefniant trwyddo oll. Yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid rhyngddynt yn wirfoddol a groeshoeliasant Fab Duw; gwnaethant hyny â dwylaw anwir. Ni ddylanwadodd Duw arnynt i wneuthur hyny; dilynasant eu dichellion eu hunain, ymollyngasant gyda eu nwydau gwallgof eu hunain, i'w casineb disynwyr eu hunain tuag at y cariad ymgnawdoledig. Yr un pryd, bwriadau mwyaf goruchel Duw a gyflawnwyd trwy hyny; a dygwyd da allan o ddrwg. Gogoneddwyd enw Duw, tra yr oedd holl amgylchiadau allanol darostyngiad y Ceidwad yn cydweddu yn oruchel â'i agweddion moesol uchelaf!

Canys Efe a brofwyd o flaen llys dynol fel cysgod o'r cyhuddiad a ddygid yn Ei erbyn o flaen brawdle cyfiawnder tragywyddol. Cyhoeddwyd Ef gan ei farnwr Rhufeinig, a "dim bai ynddo," ac er hyny, dedfrydwyd Ef i farw; i arwyddlunio y ffaith, Ei fod yn ngolwg cyfraith Duw, "heb bechod," tra er hyny, yn cydsynio i ddyoddef marwolaeth ofnadwy dros bechodau ereill. Bu farw o farwolaeth a gyhoeddid gan gyfraith Moses yn *felldigedig*, yn gystal a chan syniad cyffredin Rhufain; i arddangos Ei fod yn ymsuddo dan felldith fwy ofnadwy byth—melldith cyfraith Duw yn erbyn pechodau—Gadawwyd ef gan ei ddysgyblion, i drugareddau tyner ellyllon mewn cnawd, i arddangos Ei adawiad gan ei Dad oedd fwy ofnadwy na hyny. Yr oedd Ei ymddarostyngiad allanol mewn cydgordiad galarus â'i ing ysbrydol. Mae Ei gefn gwaedlyd yn ein adgofio fod cospedigaeth ein heddwch ni arno Ef. Mae Ei ddwylaw, a'i draed, a'i ystlys drywanedig, yn awgrymu yr adgof o'n pechodau ni a glwyfodd Ei enaid.

Ac fel yma, holl amgylchiadau allanol y dyoddefydd ar Ei aberthiad a arwyddluniant y ffaith oruchel Ei fod ef yn marw "y cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw:" Pedr iii. 18.

---

## PENNOD VII.

### SWYDD BRESENOL IESU GRIST.

EIN braint ni yn awr ydyw ein bod yn cael ymwneyd â Cheidwad byw. Ardderchogrwydd y gwaith a gyflawnwyd yn Gethsemane ac ar Galfaria, a'i gwna yn hyfryd ac adeiladol bob amser i ni ymdroi oddeutu y lleoedd cymmysgedig hyny o ddyoddefaint a buddugoliaeth. Bydd y groes a'r bedd i ni yn wastadol yn arwyddnodau ein prynedigaeth. Ond gallwn beidio aros yma byth, oblegid y mae y bedd yn awr yn wag; a thra yn sefyll mewn myfyrdod wrth ei enau, ymddangoswn fod yn clywed yr angel yn dywedyd, "Paham yr ydych yn ceisio y byw yn mysg y meirw, Nid yw Efe yma, ond Efe a gyfododd:" Luc. xxiv. 5, 6. Tra mae llais y Meistr ei Hunan yn cyhoeddi, "A'r Hwn wyf fyw, ac a fûm farw; ac wele byw ydwyf yn oes oesoedd, Amen; ac y mae genyf agoriadau *hades* a marwolaeth:" Dad. i. 18.

Y mae genym gan hyny i ystyried ein Harglwydd yn Ei ogoniant adgyfodedig. Cawn yn y bennod hon chwilio y dystiolaeth Ysgrythyrol i'w sefyllfa a'i swyddau presenol.

1. *Mae y Ceidwad adgyfodedig yn fyw i beidio marw byth mwyach.* Ei eiriau Ef ei hun ydynt, "Wele byw ydwyf yn OES OESOEDD:" Dad. i. 18. "Eithr hwn, wedi offrymmu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw; o hyny allan yn disgwyl hyd oni osoder Ei elynion ef yn droedfaingc i'w draed Ef; canys ag un offrwm y perffeithiodd Efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio:" Heb. x. 12—14. Ni fydd i'r Ceidwad gan hyny byth farw mwyach. Mae yn byw yn OES OESOEDD.

Y mae y ffaith fawr hon yn brawf o athrawiaeth dduwinyddol bwysig; canys mae yn arddangos perffeithrwydd gwaith y Gwaredwr. Profa nad oes angen am unrhyw aberth arall dros bechod; ac yna, y mae anfarwoldeb y

Crist adgyfodedig yn brawf i bawb a ymddiriedant yn Ei iawn mawr, o wirioneddolrwydd eu cymmeradwyaeth gan Dduw. "Efe a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni:" Rhuf. iv. 25, oblegid mae Ei adgyfodiad a'i esgyniad i ddeheulaw y gallu, yn brofion anwrthwynebadwy o dderbyniad gan gyfiawnder tragywyddol, y gwaith hwnw yn yr hwn yr ymddiriedwn. Mae Crist gorseddedig i ni yn wystl sicrwydd; canys y mae fod y cymmeradwyaeth o'i waith wedi cael ei fynegu fel hyn, wedi gneuthur yn amlwg, yr un pryd, ddiogelwch pawb a ymddiriedant yn y gwaith hwnw.

2. *Mae y Gwaredwr adgyfodedig wedi Ei wneuthur yn flaenffrwyth yr adgyfodiad.* "Eithr yn awr Crist a gyfodwyd oddi wrth y meirw; ac a wnaed yn flaen-ffrwyth y rhai a hunasant," "Canys y mae yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb ar sydd yn y beddau glywed Ei leferydd Ef, * * * y rhai a wnaethant dda, i adgyfodiad bywyd; ond y rhai a wnaethant ddrwg, i adgyfodiad barn:" 1 Cor. xv. 20; Ioan v. 28, 29. Wedi buddugoliaethu ar farwolaeth a'r bedd, ac mae agoriadau y ddau yn awr yn Ei ddwylaw. Y maent wedi eu rhoddi fyny i'w awdurdod. Y mae ganddo "Agoriadau *hades* a marwolaeth." Y mae "yn agoryd, ac nid yw neb yn cau, ac yn cau, ac nid yw neb yn agoryd:" Dad. i. 18; iii 7. Y mae yr holl awdurdod ar y byd anweledig, y mynediad i mewn iddo yn gystal â'r mynediad allan ohono ganddo Ef. Efe sydd yn pennodi yn awr pryd yr ymadawa yr anadl â'n ffroenau, ac y dychwel y corff i'r ddaear o'r hon y cymmerwyd ef. Efe hefyd, a lefara y gair a'n geilw allan o'r beddrod. Ac y mae yn ddiau, yn feddylddrych cysurlawn i'r credadyn a ŵyr y bydd rhaid iddo yn fuan farw, fod marwolaeth erchyll a'r bedd tywyll yn gwbl dan awdurdod yr "Hwn a fu farw, ac sydd yn fyw yn oes oesoedd." Yn sicr, ni rhaid i ni ofni myned i mewn i unrhyw diriogaeth lle y teyrnasa Efe, pa mor dywyll bynag y dichon ymddangos yn y pellder draw! Oni thrŷ Ei uwchafiaeth, Ei bresenoldeb a'i ras hi yn diriogaeth goleuni? Yn y naill a'r llall o dri chyfnod ardderchog yr Eglwys, mae engraifft wedi ei rhoddi o ddyn yn cael ei ddyrchafu i'r nef, gorff ac enaid, i gynnal y gobaith a feddianna yr holl ffyddloniaid am gyrhaedd yr un dedwyddwch. Dyrchafiad Enoch oedd y gyntaf, cyn

rhoddiad y gyfraith; Elias oedd y nesaf dan yr oruchwyliaeth ddeddfol; a Iesu Grist ein blaenor mawr, dan oruchwyliaeth yr efengyl oedd y ddiweddaf. Trefnodd Duw y goleuni yn y naill a'r llall o'r tri chyfnod hyn, yn y fath fodd fel yr ymddangosodd yn raddol, hyd nes y tywynodd yn ei holl ddysgleirdeb. Yr ydoedd yn arwydd obeithiol i gredinwyr y cyfanfyd, pan y gwelsent ddyn da yn ymadael, ac yn cael preswylfod wedi ei ymdaith ar y ddaear, mewn lle arall amgen na'r bedd.

Yr ydoedd yn debygoliaeth grefach fyth yn ffafr y rhai hyny oeddynt yn byw dan yr ail gyfnod, pryd y gwelsant y nefoedd yn ymagor i dderbyn un o'u prophwydi, yr hwn a gymmerwyd yno mewn cerbyd o dan. Ond y mae yn brawf diymwad i Gristionogion, ac yn gyffelyb i gymmeryd meddiant o'r hyn y maent yn ei ddisgwyl, i weled "perffeithydd eu ffydd" yn tramwyo trwy yr ëangderau aruthrol sydd yn gwahanu y nef a'r ddaear, gwrando yr eglwys fuddugoliaethus, yr hon sydd yn gorchymmyn pyrth palas gogoniant i ymagor i'w dderbyn Ef (Salm xxiv. 7), a myned i mewn yno ei Hunan i ddarparu yn y diriogaeth wynfydedig hono y lleoedd a bennoda Efe iddynt. Yr oedd "cael y cyfryw offeiriad penarglwyddiaethol, sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddi wrth bechaduriaid, ac wedi Ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, yn weddus i ni:" Heb. vii. 26.—"*Discours Historiques, Critiques, Theologiques et Moraux*" *par M. Saurin, Vol. I. pp.* 72, 73.

3. *Mae ein Harglwydd esgynedig wedi Ei anrhegu ag awdurdod dros y cyfanfyd.* "Rhoddwyd iddo bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Medda "awdurdod ar bob cnawd." Mae "pob peth wedi eu darostwng iddo." "Mae y llywodraeth ar Ei ysgwydd Ef." "Rhoddes y Tad bob barn i'r Mab." Y mae "Efe yn ben uwchlaw pob peth i'r Eglwys." Y mae ganddo Ef "*saith corn*" awdurdod annherfynol. Y mae "uwchlaw pawb." Eistedda "yn nghanol yr orsedd-fainc." "Addoled holl angelion Duw Ef:" Matt. xxviii. 18; Ioan xvii. 2; Heb. ii. 8; Eph. i. 22; Esa. ix. 6, 7; Ioan v. 22; Eph. i. 22; Dad. v. 6; Rhuf. ix. 5; Heb. i. 6.

A'r awdurdod cyffredinol yma ar bob elfen, byd a chreadur, a ddefnyddia y Gwaredwr i ddyben neillduol—sef

cadwedigaeth a dedwyddwch tragywyddol yr eglwys. A oes ganddo "awdurdod ar bob cnawd?" Oes. "Fel am y cwbl a roddwyd iddo y rhoddai Efe iddynt fywyd tragwyddol:" Ioan xvii. 2. A yw Efe yn "Ben uwchlaw pob peth? Ydyw, er mwyn "Ei eglwys yr hon yw Ei gorff Ef:" Eph. i. 22, 23.

Y mae pob peth yn Ei ddwylaw Ef, ac am hyny, mae "pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw, a'r rhai ydynt wedi eu galw yn ol Ei arfaeth Ef:" Rhuf. viii. 28. Adfywhaed y darllenydd duwiol ei hun â'r meddylddrych fod y dwylaw drywanwyd unwaith ar y groes, yn awr yn dal ac yn llywio taranfolltau ad-daledigaeth; ac fod y llais fu unwaith yn egwan a chrynedig yn yr angau, yn awr yn "llefaru, a hyny a fydd, yn gorchymmyn, a hyny a saif." Os wyt ti yr hwn a ddarlleni y tudalenau hyn yn perthyn i Grist, yna mae pob peth yn eiddot ti, ac yr ydwyt gyda yr Arglwydd yn gyd-etifedd y cyfanfyd: Rhuf. viii. 17. Y mae pob gronyn, pob byd, a phob dygwyddiad, yn cael ei lywodraethu er dy les; mae y cwbl yn hyrwyddo y perffeithiad gogoneddus pryd y cei sefyll gerbron yr orsedd "heb na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw," canys mae y cwbl yn nwylaw yr hwn a'th garodd hyd angau!

4 *Er yn orseddedig felly, ein Harglwydd o hyd yw y Cyfryngwr rhwng Duw a dyn.* Canys am Grist fel yn *ogoneddedig* y dywed yr Ysgrythyr, fod "un Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." "Ac o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y Cyfiawn." "Yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni." "Aeth Crist i mewn i'r nef Ei hun, i ymddangos yn awr gerbron Duw trosom ni." Y mae "yn byw BOB AMSER i eiriol drostynt hwy." "Aeth y rhagflaenor i mewn drosom ni, sef Iesu yr hwn a wnaethpwyd yn Archoffeiriad yn dragwyddol yn ol urdd Melchisedec. Yn ol prophwydoliaeth Zechariah, "Efe a ddwg y gogoniant, ac a eistedd, ac a lywodraetha ar Ei frenhin-faingc * * * a chyngor hedd a fydd rhyngddynt ill dau," hyny yw, rhwng y Tad a'r Mab: 1 Tim ii. 5; 1 Ioan ii. 2; Rhuf. viii. 34; Heb. ix. 24; vii. 25; vi. 20; Zech. vi. 13.

Felly, y mae y Ceidwad, er wedi Ei anrhegu ag awdurdod cyffredinol, yn ymostwng i gyflawnu rhan Eiriolwr. Y mae Efe yn Gyfryngwr, neu ddyddiwr, rhyngom ni a Duw. Ond y mae y swydd gyfryngol yn cynnwys pob swydd arall a arferir briodoli i Iesu.

*a. Y mae yn cynnwys y swydd freninol.* Ein Harglwydd ydyw Brenin Cyfryngol y cyfanfyd a'r Eglwys. Efe ydyw y cyfrwng trwy yr hwn y defnyddia Jehofah Ei allu Dwyfol. "Nid yw y Tad yn barnu neb (yn bersonol ac uniongyrchol), eithr Efe a roddes bob barn i'r Mab:" Ioan v. 22. Am hyny, y mae Crist yn "allu Duw a doethineb Duw," 1 Cor. i. 24; yn Gyfryngwr, trwy yr Hwn y mae Jehofah yn llywyddu y cyfanfyd. Pob llywyddiaeth ddwyfol a weinyddir yn enw a thrwy awdurdod y Duw-ddyn, ar ysgwyddau yr Hwn y gosodwyd y llywodraeth: Esa. ix. 6. "Yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, y mae pob peth i'w *grynhoi yn nghyd* dan un *Pen,* sef Crist:" Eph. i. 10. Fel hyn, y mae yr holl gyfanfyd wedi ei osod dan Frenin Cyfryngol, ac fe barha felly *byth.* Canys y nefoedd ydyw teyrnas *dragwyddol* ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist: 2 Pedr i. 11. Ac wedi y milflwyddiant a'r farn ddiweddaf, bydd Iesu ar yr orsedd o hyd, canys fel y canlyn y darlunia Ioan sefyllfa derfynol pethau: "Ac efe a ddangosodd i mi afon bur o ddwfr y bywyd, disglaer fel y grisial, yn dyfod allan o orsedd-faingc Duw a'r Oen." "A phob melldith ni bydd mwyach, ond gorsedd-faingc Duw a'r Oen a fydd ynddi hi; a'i weision Ef a'i gwasanaethant Ef (yr Oen). A hwy a gânt weled ei wyneb Ef: a'i enw Ef a fydd yn eu talcenau hwynt." "A theml ni welais ynddi: canys yr Arglwydd Dduw Hollalluog, a'r Oen, yw ei theml hi, canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen:" Dad. xxii. 1, 3, 4; xxi. 22, 23. Fel yma, hyd y nod *wedi* iddo roddi cyfrif terfynol o'i weinyddiaeth o lywodraeth ddwyfol yn y dydd diweddaf (gwel 1 Cor. xv. 24–28), ac wedi iddo yn ngwyddfod cyfanfyd ymgynnulledig dalu gwarogaeth i'w Dad Tragywyddol fel Ffynonell Wreiddiol pob awdurdod, Efe a geidw Ei uchafiaeth freninol, ac a gadarnheir yn Ei deyrnas yn oes oesoedd.

Ac yn yr *Eglwys yn arbenigol, teyrnasa Iesu fel Brenin*

*Cyfryngol.* Cynnrychiola yr holl Dduwdod yma. Efe yw Arglwydd ordinhadau a dylanwadau. Teyrnasa yn yr eglwys fel ei hunig Ddeddfroddwr. Dadblyga iddi gyfraith Duw gydag awdurdod anffaeledig: Matt. v. 21–48. Efe ydyw Arglwydd y Sabboth a phob sefydliad dwyfol arall: Marc ii. 28. Y mae yn eistedd fel Brenin ar Sion, mynydd santaidd Duw: Salm ii. 6. Efe ydyw Pen yr Eglwys, yr hon yw Ei gorff Ef. Trwy Ei bresenoldeb y gwna gynnulleidfaoedd Ei saint yn hyfryd ac adeiladol. Y mae yn tywallt allan ddylanwadau Ei Ysbryd Santaidd i wneuthur y gair yn effeithiol yn argyhoeddiad eneidiau: Ioan xiv. 16–18, a'r xvi. 7–14. Rhydd ddoethineb i'w weision i ddyrysu pawb gwrth-ddywedwyr: Luc xxi. 15. Deil yn Ei law ddeheu y ser gweinidogaethol a ymddysgleiriant yn y ffurfafen ysbrydol, gan gynnal eu dysgleirdeb, a phennodi y cylch yn yr hwn y cant ymsymud: Dad. 1. 16. Rhodia yn nghanol y canwyllbrenau aur, yr eglwysi, i'w cyflenwi ag olew Ei ras, ac i'w trin â dysgyblaeth dduwiol a gwyliadwraeth: Dad. ii. 1. Y mae pob sant yn cael ei gynnal gan Ei allu, a'i lywodraethu gan Ei gyfreithiau. Nis gall y rhai cryfaf wneuthur dim hebddo Ef; ond mae y rhai gwanaf yn gallu pob peth trwyddo Ef, pan nertha Efe hwynt. Cymharer Ioan xv. 4, 5, a Phil. iv. 13. Trefnir pob cam yn eu pererindod gan Ei ragluniaeth; ac yn y diwedd dywed wrthynt, "Digon ydyw, dringwch i fyny yma." Ac yn nhŷ Ei Dad, y mae Efe yn awr yn darparu trigfan i bob un o'i ddysgyblion, i'r hon y trosglwydda Efe ei deiliad rhag-bennodedig: Ioan xiv. 2, 3. Ei ddwylaw Ef a esyd goron cyfiawnder, bywyd, a gogoniant ar ben pob sant (2 Tim. iv 8); a'i enw Ef fydd baich anthemau diddiwedd y nefoedd: Dad. v. 9–14.

Yn eglwysig, nid oes i'r Eglwys un pen na brenin ond Iesu, ac y mae priodoli y cyfryw deitl i neb ond iddo Ef yn annuwioldeb ac yn gabledd. Arno Ef yr ymddibyna am y cyfreithiau trwy y rhai y mae i gael ei llywodraethu, ac am y gras trwy yr hwn y mae i gael ei chadw. Nis gall un brenin daearol ymwthio i diriogaethau Emmanuel heb bechu yn ofnadwy; ac yr ydym yn gofidio yn ddwys fod ein Brenines anwyl, arbeded y nefoedd hi

yn hir, bywyd yr hon sydd wedi ei addurno mor gyflawn â rhinweddau personol a chyhoeddus, yn cadw y fath deitl ofnadwy â'r un o fod yn Ben yr Eglwys. Deued y dydd yn fuan pryd na annerchir Penadur y deyrnas hon ag un o enwau neillduol a gwahaniaethol yr Arglwydd Iesu Grist!

*b. Y mae y swydd Gyfryngol yn cynnwys yr un Brophwydoliaethol.* Iesu Grist ydyw y prophwyd arall hwnw megis Moses, ond yn anfeidrol fwy nag ef, yr hwn a addawodd yr Arglwydd gyfodi i'w bobl: Deut. xviii. 15–19. Efe ydyw y Prophwyd Cyfryngol, yr hwn sydd yn ein dysgu gydag awdurdod anwrthwynebadwy, canys Efe ydyw y *Logos* ymgnawdoledig, neu Ddoethiueb Duw. "Ni lefarodd dyn erioed fel y llefarodd Efe:" Ioan vi. 46. Cyflawnodd y swydd brophwydoliaethol yn nyddiau Ei gnawd, trwy y traddodiad o'r pregethau rhyfeddol hyny o'i eiddo ar Dduw, a moesau, a iachawdwriaeth. Ar bob pwnc dwyfol, "Llefarodd fel un ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion:" Matt. vii. 28, 29. Llefarodd Ef ar y pynciau mwyaf dwfn, perthynol i'r natur Ddwyfol, ewyllys, llywodraeth, a gras, gyda rhwyddineb a hyder diattal. Y dirgelion gorddyfnaf a drechasant ddoethineb holl ddoethion yr oesoedd blaenorol, a ddehonglodd Efe mewn ychydig frawddegau. Yr oedd gras yn cael ei dywallt I'w wefusau, a gorlawn oeddynt Ei holl ymadroddion o ddoethineb a gwirionedd. Ac y mae Ei addysg yn byw etto yn ein plith ni, trwy gofnodion y pedair efengyl; y croniclau dysgrifiol hyny O'i ddywediadau a'i weithredoedd! Ynddynt hwy y mae yn nghadw weinidogaeth ein Harglwydd; yn eu tudalenau ymddangoswn fod yn clywed etto adsain Ei lais, ac fod yn gweled olion Ei bererindod dygwyddlawn!

Llefarodd yr Apostolion hefyd, yn enw Iesu. Cawsant eu hysbrydoli gan Ei Ysbryd, a'u cynnorthwyo gan Ei ras. Yr oeddynt i berffeithio y dadblygiad o wirionedd Cristionogol, i gwblhau y gwaith a ddechreuwyd gan eu Meistr, ac i roddi ffurf a chyfansoddiad i gymdeithasau y ffyddloniaid. Canys addawodd Crist y byddai Efe gyda hwynt, ac y llefarai trwyddynt: Matt. x. 19, 20. Ac y mae eu haddysgiadau hwy hefyd, fel eiddo eu Meistr, wedi eu cadw yn y Testament Newydd. Fel y mae

Ysbryd Crist yn llefaru etto yn Ngweithredoedd ac Epistolau cofnodedig Ei Apostolion.

Y mae Iesu yn ein dysgu etto yn Ei Destament Newydd, yr hwn a ysbrydolwyd gan Ei Ysbryd, ac a gadwwyd gan Ei ragluniaeth. Ynddo y clywir llais Ceidwad byw yn ein cynnulleidfaoedd Cristionogol, ein teuluoedd, a'n ystafelloedd dirgel. Gallwn yn awr gyda Mair eistedd wrth Ei draed, a gwrando Ei lais. Ac mae yr Ysbryd Glân, fel gogoneddwr Iesu, etto yn ein plith, i gymhwyso y gair ysbrydoledig at ein calonau, trwy agoryd llygaid ein deall i ganfod ei ardderchogrwydd. Y mae Iesu yn ein plith yn Ei bresenoldeb ysbrydol i'n dysgu, a'n tywys i bob gwirionedd. Gwna ein ordinhadau yn adfywiol, a'n moddion gras yn effeithiol. Gwisga Ei air ei hun â gallu, a gwna ef yn allu Duw er iachawdwriaeth. Iesu, Mab Duw, etto ydyw prophwyd cyfryngol yr holl Eglwys. Efe a wnaethpwyd i ni yn "*ddoethineb*" yn gystal ag yn "gyfiawnder:" 1 Cor. 1. 30.

*c. Y mae y swydd Gyfryngol yn arbenigol offeiriadol yn ei chymmeriad.* Iesu Grist ydyw ein "Eiriolwr cyfryngol ni gyda'r Tad," ein "Harch-offeiriad mawr," yr hwn sydd "yn byw bob amser i eiriol trosom:" 1 Ioan ii. 1; Heb. vii. 25. Dygir Ei eiriolaeth yn awr yn mlaen tu fewn i'r llen yn y nef ei hun (Heb. viii. 1); ac at hyn yn benaf y cyfeiria yr Apostol pan y dywed, fod "un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu:" 1 Tim. ii. 5.

Y mae *presenoldeb Crist yn y nefoedd i ni yn iawn neu yn drugareddfa.* Y mae wedi "Ei sefydlu yn drugareddfa" *(ílasterion)*: Rhuf. iii. 25. Y gair a ddefnyddir yma ydyw yr un a ddefnyddir gan y Deg a Thrigain, a chan yr Apostol yn Heb. ix. 5, i ddysgrifio yr hen drugareddfa. Ac megis ag mae y drugareddfa oedd man pennodedig cyfathrach rhwng Duw a'r Israeliaid, felly Crist Iesu ydyw cyfrwng ein dynesiad ninau at Dduw, a derbyniad ein gweddiau. Ond ni ddynesid at yr hen drugareddfa ond ar adegau pennodol ar ddydd y cymmod blynyddol; y mae ein trugareddfa ni yn ddyfodadwy bob amser, oblegid fod un aberth y Gwaredwr yn anfeidrol berffaith, ac o effeithioldeb tragywyddol; y mae ein dyfodfa

ni yn feunyddiol. Gallwn ei mwynhau unrhyw fynyd. Trwyddo Ef (Iesu) y mae i ni ein dau (Iuddew a Chenedl-ddyn) ddyfodfa mewn un Ysbryd at y Tad:" Eph. ii. 18. Dichon ein gweddïau ni esgyn yn ein tymhorau tywyllaf, oblegid fod Iesu yn y nefoedd. Gallwn ddyfod bob amser yn sicr o dderbyniad graslawn, oblegid y mae ein Cyfryngwr nid yn unig *gerbron* yr orsedd, eithr *arni:* Dat. iii. 21. Efe ydyw yr angel cyfryngol welodd Ioan mewn gweledigaeth gerbron allor y nefoedd a thusser aur ganddo. "A rhoddwyd iddo arogl-darth lawer, fel yr offrymai ef gyd â gweddiau yr holl saint ar yr allor aur, yr hon oedd gerbron yr orsedd-faingc. Ac fe aeth mŵg yr arogl-darth gyd â gweddiau yr holl saint, o law yr angel, i fyny ger bron Duw:" Dad viii. 3, 4.

Er Ei fod yn nghanol yr orsedd-fainc, Efe o hyd ydyw "Yr Oen" yno Dad. v. 6. Y mae yn cadw Ei gymmeriad offeiriadol er yn amgylchynedig gan fawrwychedd a breintiau breninol y nefoedd. Y mae yn "*offeiriad* ar Ei *frenhin-faingc:*" Zech. vi. 13.

Gwelodd Ioan mewn gweledigaeth arddangosiad O'i goroniad. Daeth Iesu at yr Hwn a eisteddai ar yr orsedd-fainc, a honodd Ei hawl i gymmeryd llyfr Rhagluniaeth Ddwyfol, ac agoryd ei saith sel o ddirgelwch annrheidd-iadwy. A gwelodd Ioan Ef "megis Oen *wedi Ei ladd,* a chanddo saith gorn, a saith lygad:" Dad. v. 6. Ni olygir fod Iesu yn *llythyrenol* yn dwyn Ei greithiau yn awr mewn gogoniant, mwy nag fod ganddo yn *llythyrenol saith gorn* neu *saith lygad.* Chawn ni weled dim tyllau yn Ei ddwylaw neu Ei draed pan y cawn ei weled Ef, canys y mae Ei ddwylaw yn awr yn "dal y saith seren," ac mae "Ei draed yn debyg i bres coeth, megis yn llosgi mewn ffwrn:" Dad. i. 15, 16. *Nid* Ei gorff *gogoneddedig* oedd y corff yn mha un yr ymddangosodd ein Harglwydd i'w ddysgyblion ar y *ddaear* wedi Ei adgyfodiad a chyn Ei esgyniad, canys cig a gwaed ydoedd etto, Luc. xxiv. 39; ac ni "ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas nefoedd:" 1 Cor. xv. 50. Nid oedd wedi esgyn etto, Ioan xx. 17. Gwelodd Ioan arddangosiad arwyddiuniol o gorff gogoneddedig ein Harglwydd, a "syrthiodd wrth Ei draed Ef fel marw:" Dad. i 12–17. Nid oedd dim arwyddion gwaradwydd

ar y ffurf hono, yr oedd holl nodau y groes a'r bedd wedi diflanu. Nid oedd Ei wynebpryd mwyach yn ordaenedig â gwelwder angau, eithr "fel yr haul yn disgleirio yn ei nerth," ac nid oedd Ei lais mwyach yn egwan a chrynedig gan ing enaid, eithr yn fawreddog a grymus "fel swn llawer o ddyfroedd."

Ond er fod holl nodau Ei archollion wedi diflanu, y mae effeithioldeb y gwaed a dywalltasant allan yn aros fyth, ac fe erys yn dragywydd. Efe ydyw yr Oen yn y nef! Y mae Ei aberth yn beraroglaidd yno fyth! Clywir Ei lais etto fel Eiriolwr gyda Duw.

Nid yw eiriolaeth Crist yn y nef wedi ei bwriadu i lanw un diffyg tybiedig yn Ei waith iawnol; "canys ag un offrwm y perffeithiodd Efe yn dragwyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio:" Heb. x. 14. *Cyflwyniad* Ei aberth *perffeithiedig yn barod*, yn unig ydyw Ei eiriolaeth. Y mae Ei eiriolaeth yn seiliedig ar y ffaith Ei fod wedi gorphen y gwaith a roddwyd Iddo i'w wneuthur ar y ddaear. Hyny ydyw y rheswm am ffyniant Ei eiriolaeth. Y mae y gwaith a gyflwyna Efe yn berffaith, ac nis gall yr eiriolaeth seiliedig arno fethu a llwyddo. Eiriolaeth Crist ydyw llef gwaed y taenelliad yn llefaru tu fewn i'r llen; ac ni ddichon y llef hono byth lefaru yn ofer.

Nid ydyw y Gwaredwr *yn eiriol chwaith am fod y Tad yn wrthwynebol i'n iachawdwriaeth*; eithr yn unig, fel y byddai i'r Tad gael Ei ogoneddu yn mhob oes fel amddiffynwr iawnderau deddf, a chyfiawnder, safle a leinw Efe drwy holl drefniant ein prynedigaeth. Offrymwyd aberth y Gwaredwr i'r Tad; ac y mae Ei eiriolaeth yn cael ei chyflwyno Iddo, fel y byddai i gerubiaid a seraphiaid bob amser ganfod y cyssylltiad rhwng iawn a maddeuant. Y mae eiriolaeth barhaus Crist yn y nefoedd yn adgof tragywyddol o'r ffaith, "heb ollwng gwaed, nid oes maddeuant."

Y mae y bendithion mawrion am y rhai y gweddïa ein Harglwydd yn cael eu gosod allan yn mhennodau xiv., xv., xvi. a'r xvii., o efengyl Ioan; ac yn liii., o Esaiah. Cynnwysant y pethau canlynol:—Dyfodiad yr Ysbryd Glân, fel argyhoeddwr y byd, athraw credinwyr, a Dyddanydd y saint; arhosiad y Dyddanydd dwyfol hwn gyda yr Eglwys yn dragywyddol; cyfiawnhad pawb a ymddiriedant

yn yr iawn; eu cadwraeth rhag dylanwadau drwg byd llygredig; a'u cadwraeth i weled eu Harglwydd wyneb yn wyneb, a bod yn gyfranog o'i ogoniant. Y cyfryw ydynt y bendithion mawrion am y rhai y dadleua ein Eiriolwr, yn awr yn y nefoedd: Ioan xvi. 8; xiv. 26, 16: Esa. liii. 11, 12; Ioan xvii. 17, 24.

Y mae yr Ysgrythyrau yn ddystaw o barthed i'r dull neillduol y dygir yr eiriolaeth hon yn mlaen. Pa un a yw y Cyfryngwr yn defnyddio gweddi *lafar,* gweddi *hyglyw* i'r angelion a'r ysbrydion prynedig; neu pa un a yw y cwbl yn weithrediad meddyliol hollol, nis gwyddom. Yr oll ag sydd wedi ei ddadguddio ydyw, fod yr eiriolaeth yn myned yn mlaen yn feunyddiol, ac fod holl breswylwyr y nefoedd yn wybodus o'r ffaith. Lle y mae Duw wedi gosod llèn, gochelwn yr ymgais halogedig o'i rhwygo yn ddwy.

Y mae o bwys fod eiriolaeth y Mab yn cael ei gwahaniaethu oddiwrth eiriolaeth yr Ysbryd. Dygir y flaenaf yn mlaen yn y nef, yr olaf ar y ddaear; mae y flaenaf *drosom,* yr olaf *ynom;* dadleua y flaenaf ein hachos ni gerbron gorsedd-fainc Duw, cynnalia yr olaf achos Crist yn ein calonau; yn y blaenaf gweddïir drosom ni gan y Cyfryngwr, gan yr olaf y cynneuir ac y cedwir ysbryd gweddi yn fyw yn ein calonau.

*ch. Fel Cyfryngwr y gweinydda ein Harglwydd ddedfrydau y dydd diweddaf.* Rhoes y Tad bob barn i'r Mab: Ioan v. 22. Ni ddaeth ein Harglwydd i weinyddu y farn hon ar Ei ymddangosiad *cyntaf.* Y *pryd hwnw* dywedodd, "Nid ydwyf Fi yn barnu neb:" Ioan xviii. 15; canys yr oedd ganddo y pryd hwnw i gyflwyno Ei Hun fel iawn dros ein pechodau ni, ac felly i osod i lawr sylfeini ein iachawdwriaeth. "Oblegid ni ddanfonodd Duw Ei Fab i'r byd, i ddamnio y byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo Ef:" Ioan. iii. 17. Ond yn y dydd diweddaf, yr Iesu a *ddisgyna* i weinyddu barn. "Rhoddes y Tad awdurdod iddo i wneuthur barn, o herwydd Ei fod yn fab dyn:" Ioan v 27, hyny yw, Mab y Dyn, gosodiad breninol yr hwn a ddarlunir gan y prophwyd Daniel (vii. 13, 14). Iesu Grist ydyw Barnwr Cyfryngol y cyfanfyd. O flaen Ei frawdle Ef y bydd rhaid i'r holl genedloedd sefyll: Matt. xxv. 31—46. Ei lais Ef a gyhoedda dynged dragywyddol pob dyn. Y dewisiad ofnadwy, o ddedwyddwch neu wae diddiwedd a ben-

derfynir i bob un gan Ei ddedfryd Ef. Y mae yn awr yn gwisgo y wisg a'r wregys offeiriadol, (Dad.i. 13); ond y pryd hwnw Efe a ymwisga yn ngwisgoedd barn, ac a lywydda yn mrawdlys cyffredinol diweddaf y cyfanfyd. Y mae y Tad wedi gosod "diwrnod yn yr hwn y barna Efe y byd mewn cyfiawnder trwy y Gwr a ordeiniodd Efe; gan roddi ffydd (sicrwydd,—*Margin*,) i bawb, o herwydd ddarfod iddo Ei gyfodi Ef oddi wrth y meirw:" Act. xvii. 31.

Ac yn sicr, bydd y trefniad hwn yn *un priodol!* Ni fydd ond iawn i'r Priod-fab gael croesawi Ei ddyweddi i'r palas a brynodd Efe trwy Ei waed a'i angau, yn breswylfod dragywyddol iddi; a bydd yn llawn mor briodol iddo Ef, a wrthodwyd gan y byd am oesau, gael dedfrydu Ei elynion i golledigaeth dragywyddol! Gadawer iddo Ef a ddirmygwyd gan y cenedloedd, amddiffyn Ei hawl i'r warogaeth a hawliodd Efe. Gadawer i drugaredd a chariad ymgnawdoledig a sarhawyd, eistedd mewn barn ar y rhai hyny a wrthodasant yn feiddgar y rhodd annhraethadwy hon!

Priodol fydd iddo Ef, yn natur yr hwn y mae y Duwdod a'r dyndod yn unedig, gael cyhoeddi dedfryd ddiweddaf pob un o'n hiliogaeth. Ni fydd Gwaredwr dynion, ac Efe yn ddyn Ei Hunan, yn ddiangenrhaid o galed yn Ei farn ar ddynion. Bydd Penaeth yr adgyfodiad yn berffaith gymhwys i lanw yr Orsedd-fainc yn y dydd diweddaf. Ofnadwy yn wir fydd digofaint Iesu pan fydd Ei hir-amynedd drosodd, a dydd dial wedi dyfod. Beth yn fwy ofnadwy nâ'r olygfa o *drugaredd wedi ymbarotoi i farn*? Nid oes dim mor ofnadwy â chariad wedi ei lidio! Ymddengys yr Arglwydd Iesu yn fwy ofnadwy fyth pan y gwisga Efe y cymmeriad o "Lew o lwyth Judah," oblegid iddo am gyhyd o amser fod yn Oen Duw!

Felly, Iesu yw Brenin, Prophwyd, Offeiriad, a Barnwr Cyfryngol dynion. A bydd yn dragywydd yn gyfrwng ein cymmundeb â'r Duwdod, canys y mae yn wirionedd, ac fe *barha felly byth*, fod Duw yn "trigo yn y goleuni, ni ellir dyfod ato, yr hwn nis gwelodd un dyn, ac nis *dichon Ei weled*," yn y sefyllfa hon neu unrhyw un arall: 1 Tim. vi. 16. Trwy dragywyddoldeb, gan hyny, ni fydd i ni gael dynesu at Dduw ar Ei ben Ei Hun, eithr cawn yn oes oesoedd addoli Duw yn Nghrist.

# PENNOD VIII.

## AILENEDIGAETH

Y mae genym yn awr i ystyried y cyfnewidiad mawr hwnw a elwir yn yr Ysgrythyr yn "eni drachefn," yn "fywhau o feirw," ac yn "greu o newydd:" Ioan iii. 3; Eph. ii. 1; Gal. vi. 15.

1. *Os ydyw athrawiaeth cwymp, a llygredigaeth dyn yn wir, y rheidrwydd o ailenedigaeth ydyw ei chasgliad rhesymol;* a *vice versa*, os ydyw athrawiaeth ailenedigaeth, yn wir, y mae llygredigaeth naturiol dyn wedi ei brofi. Os collodd dyn y bywyd o dduwioldeb trwy ei gwymp, gallu dwyfol yn unig all ei adferyd; ac os rhaid yw iddo gael ei fywhau gan yr Ysbryd Glân, nis gall efe fod yn naturiol "fyw i Dduw." Fel yna, y mae athrawiaethau amrywiol y ffydd uniawngred yn profi y naill y llall. Ond profasom eisoes fod dyn yn greadur syrthiedig; ac ei fod er ei syrthiad wedi myned yn llygredig. Y mae athrawiaeth ailenedigaeth yn cymmeryd y ffeithiau pwysig yma yn ganiatâol. "Oblegid pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw." Oblegid "y galon sydd fwy ei thwyll nâ dim, a drwg diobaith ydyw." Ac oblegid "fod holl fwriad meddylfryd calon dyn yn unig yn ddrygionus bob amser:" Rhuf. iii. 23; Jer. xvii. 9; Gen. vi. 5, cymharer â'r viii. 21. Mewn trefn i ddyn gael iachawdwriaeth, rhaid iddo o ganlyniad fyned dan gyfnewidiad moesol ac ysbrydol mawr.

2. *Yn mhellach, y mae trylwyrder y cyfnewidiad a ofynir, yn gyfartal â chymmeriad gwreiddiol y drwg sydd i'w ddarostwng.* Fel y gwelsom yn barod, nid wedi ei ddrygu yn *ysgafn* y mae dyn trwy ei syrthiad. Nid drwg dibwys sydd i'w gyfarfod. Y mae dyn wedi cael dyrnod ofnadwy trwy ei wrthryfel gwirfoddol yn erbyn ei Wneuthurwr. Y mae wedi marw yn foesol; yn "farw mewn camweddau a phechodau:" Eph. ii 1. Y mae yn gwbl "megis peth aflan, ac megis bratiau budron yw ei holl gyfiawnderau:" Esa. lxiv 6. "Syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw:" Rhuf. viii. 7. Am hyny, os ydyw efe i'w adferyd o'i sefyllfa naturiol o ymddyeithrwch oddiwrth ei Wneuthur-rhaid i hyny fod trwy gyfnewidiad mor wreiddiol a chyflawn a'r llygredd o ba un y mae efe yn wrthrych. Rhaid i'r cyfnewidiad, i fod yn effeithiol, fyned at wraidd y drwg.

Ni chyferfydd un diwygiad allanol, rheidiau moesol yr achos. Gan fod calon ac enaid dyn wedi eu llygru, rhaid iddynt gael eu hadnewyddu. Gan fod ffynon gweithrediad yn llygredig; yr unig ffordd y gellir puro y ffrydiau ydyw trwy wneuthur eu ffynonell yn santaidd. Gwelwn gan hyny, mor annigonol ydyw celfyddyd, athroniaeth, ac addysg gwladol i gyflawnu y gwaith mawr hwn. Dichon y rhai'n goethi y moesau, ond nis gallant gyfnewid y galon, neu adnewyddu y natur foesol.

3. Y mae y cyfeiriadau Ysgrythyrol at y gwaith mawr yma yn gysson â'r sylwadau uchod, canys *arddangosant ef fel cyfnewidiad cyflawn yn yr holl chwaethau moesol, tueddiadau, arferion a gweithredoedd.* Llefarant am dano fel "genedigaeth newydd," "oddi eithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw:" Ioan iii. 3. Darluniant ef fel yn "fywhad y meirw," "A chwithau a fywhâodd Efe, pan oeddech feirw mewn camweddau a phechodau:" Eph. ii. 1. Galwant Ef yn "greadigaeth *newydd.*" "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadigaeth (*ktisis*) newydd:" 2 Cor. v. 17. Cyfenwant ef yn *adnewyddiad ysbryd* ein meddwl. "Eithr ymnewidiwch trwy adnewyddiad eich meddwl, a gwisgwch y newydd, yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth, yn ol delw yr Hwn a'i creodd of:" Col. iii. 10; Rhuf. xii. 2.

Yn awr, y ffugyrau hyn ac ereill cyffelyb a gyfleant yn y modd mwyaf tarawiadol y meddylddrych o gyfnewidiad trylwyr, gwreiddiol a chyffredinol. Gelwir y dyn gwir santaidd, yn ddyn *newydd.* Y mae plentyn Duw wedi ei eni drachefn, neu oddi uchod (*anôthen*): Ioan iii. 3. Y mae wedi derbyn yr hyn yn ffugyrol ellir alw yn *fywyd newydd.*

Y mae yn eithaf gwir, nad yw yr enedigaeth *newydd* yn rhoddi dim *cynneddfau meddyliol newydd.* Y mae yr enaid dynol o barthed i'w alluoedd naturiol, yr un wedi argyhoeddiad a chyn hyny. Nid yw yn cael un gynneddf neu synwyr newydd. Yr ydym yn caru Duw wedi ail-enedigaeth, â'r unrhyw alluoedd â pha rai yr oeddym yn Ei gashau cyn y cyfnewidiad mawr hyny. Yr un yw yr enaid yn y ddwy sefyllfa. Y mae y dyn yr un o barthed i'r hyn oll a gyfansodda ddyn; yr un gweithredydd rhesymol a chyf-

rifol ydyw. Er hyny, y mae wedi myned dan gyfnewidiad moesol ac ysbrydol mawr. Mewn perthynas i'w dueddiadu,a chwenychiadau, a'i gas-bethau, y mae yn greadur newydd. Yma, yr hen bethau a aethant heibio, wele gwnaethwyd pob peth yn newydd.

Dywedir weithiau, y rhaid i ni beidio dehongli ffugyrau yn rhy lythyrenol neu fanwl. Caniatâwn, ond bwriadwyd ffugyr i roddi addysg, ac y mae troell ymadrodd yn fynych yn llawn o ystyr. Y cwestiwn yw,—Beth y mae y ffugyrau hyn, o enedigaeth newydd, creadigaeth newydd, y bywhau o feirw, a rhoddiad bywyd newydd, yn eu golygu? Wrth reswm ni chyfeiriant at alluoedd naturiol, neu deithi hanfodol. Darluniant gyfnewidiad moesol a wna y dyn, mor bell ag y perthyna i'w arferion a'i dueddiadau yn greadur newydd. Cyffelyb ydyw i un wedi ei wneuthur drosodd drachefn. Dechreua ar fywyd newydd, ac ymgyfyd at bleserau, am y rhai unwaith ni wyddai ddim. Y mae Efe i bob dyben ac amcan mewn ystyr *foesol*, yn greadigaeth newydd.

4. Dywedir wrthym yn yr Ysgrythyr Santaidd, fod *y cyfnewidiad hwn yn hollol angenrheidiol yn mhob achos.* "Canys yn Nghrist Iesu ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad, ond *creadigaeth* (*ktisis*) newydd:" Gal. vi. 15. Oddiwrth yr hyn y dysgwn, na wna dim y tro yn lle y cyfnewidiad yma. Rhaid i'r Pabydd a'r Pusead, gyda eu holl seremoniau swynol fethu yma. Nid oes i'r moesolddyn yn unig, sydd wedi gadael ei annghymmedroldeb gynt, ac sydd yn awr yn ymddiried yn ei fywyd gwahanol a dychlynaidd, na rhan na chyfran yn y mater yma. Rhaid i'r gwaith mawr hwn gael ei wneuthur, neu y mae ein iachawdwriaeth yn anmhosibl. Canys, "oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw:" Ioan iii. 3. Wna dim y tro yn lle ailenedigaeth: "Rhaid ein geni ni drachefn:" adn. 7.

5. *Darlunir y gwaith gogoneddus hwn fel cyfnewidiad arbenig a chyntaf y galon.* Dyma y termau yn y rhai y gosodir ef ger ein bron. "Rhoddaf hefyd iddynt galon i'm hadnabod, mai yr Arglwydd ydwyf, a hwy a fyddant yn bobl i Mi a Minnau a fyddaf yn Dduw iddynt hwy, canys hwy a drôant attaf Fi a'u holl galon:" Jer. xxiv. 7.

"A Mi a roddaf iddynt un galon ac un ffordd, i'm hofni byth:" Jer. xxxii. 39. "A rhoddaf iddynt un galon, ac ysbryd newydd a roddaf ynoch; tynnaf hefyd y galon garreg ymaith o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig, fel y rhodiont yn Fy neddfau, ac y cadwont Fy marnedigaethau, ac y gwnelont hwynt: a hwy a fyddant yn bobl i Mi a Minnau a fyddaf Dduw iddynt hwy:" Ezec. xi. 19, 20. "A rhoddaf i chwi galon newydd, ysbryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi· a thynnaf y galon garreg o'ch cnawd chwi, ac Mi a roddaf i chwi galon gig. Rhoddaf hefyd Fy Ysbryd o'ch mewn, a gwnaf i chwi rodio yn Fy neddfau, a chadw Fy marnedigaethau a'u gwneuthur:" Ezec. xxxvi. 26, 27. Y mae yr addewidion hyn yn perthyn yn ddiau i amseroedd yr efengyl. Dysgrifiant yr hyn a wna yr Ysbryd bendigedig pan adnewydda Efe ddyn yn ysbryd ei feddwl. Y galon ydyw ffynonell gweithrediad. Fel y mae y galon, felly mae y dyn; os na fydd hi yn uniawn gyda Duw, rhaid y bydd pob peth arall o'i le. Am hyny, cyfnewidia Ysbryd Duw y galon; gwna hi yn "galon newydd," yn "galon gig," "un galon." Gwna ysbryd y meddwl yn "ysbryd uniawn." Felly, y mae gwir ffynonell cymmeriad a buchedd yn cael eu glanhau. Cyrhaeddir gwreiddyn llygredigaeth. Ac fel ffrwyth y cyfnewidiad mewnol ac ysbrydol hwn, y mae yr holl fywyd yn cael ei weddnewidio, ac yn dyfod yn ddysgleiriol gan brydferthwch moesol.

6. *Dylanwadir ar bob cynneddf feddyliol gan y cyfnewidiad pwysig yma.* Nid ydyw yn gyfyngedig i'r galon, eithr cyrhaedda bob gallu perthynol i'r enaid. Goleuir y Deall: Eph. i. 18; Col. i. 9; 1 Ioan v. 20. Purir y Dychymmyg, fel yn lle ymgyfeddach mewn anwiredd, ymhyfryda fyfyrio yn nghyfraith Duw: Salm lxiii. 6; lxxvii. 12; cxliii. 5. Santeiddir y Cof, ac felly hoffa drysori fyny wirionedd gwerthfawr Duw, a chroniclo Ei weithredoedd trugarog: Salm xliii. 6; lxxvii. 10, 11; cxix. 55. Gwneir y Gydwybod yn dda,—i gymmeradwyo yr hyn sydd santaidd a chondemnio yr hyn sydd lygredig: Heb. ix. 14; x. 22; Gen. xxxix. 9.

Dygir yr ewyllys i gyssondeb ag ewyllys Duw; am hyny dewisa yr hyn a orchymmyn, a gwrthoda yr hyn a

wahardda Efe: Salm lxxxiv. 10; Heb. xi. 25: Luc x. 42. Fel yma, cyfranoga pob cynneddf feddyliol a moesol o adnewyddiad yr Ysbryd Glân. Dygir yr holl enaid dan Ei ddylanwad graslawn.

Anfuddiol ydyw dadleu o barthed pa gynneddf feddyliol ydyw y gyntaf i deimlo y dylanwad tröedigol, pu'n a'i y deall, ynte y serchiadau. Gwrthodwn fyned i mewn i arddansoddiaethau *(metaphysics)* ailenedigaeth. Digon ydyw gwybod fod yr Ysbryd Dwyfol yn gweithredu ar yr holl ddyn yn foesol a meddyliol. Heblaw hyn, er ein bod yn llefaru am *gynneddfau* yr enaid, rhaid i ni beidio annghofio fod yr enaid ei *hun yn un*. Ysbryd syml ac anrhanadwy ydyw. Nid yw fel y corff, wedi ei gyfansoddi o amrywiol elfenau, ac yn meddu aelodau neillduol. Nid yw ond un. Am hyny, y mae ailenedigaeth yr enaid yn cynnwys adnewyddiad ei holl alluoedd—yr *holl* enaid.

O ganlyniad y mae yn afresymol i ddadleu pa un a yw yr Ysbryd yn nghyntaf yn goleuo y deall neu yn puro y galon, canys mewn gwirionedd, y mae Efe pan yn gweithredu ar y naill, yn gweithredu ar y llall hefyd. "Agoriad dy eiriau a rydd oleuni: pair ddeall i rai annichellgar," Salm cxix. 130; a thrwy yr un weithred â'r hon y fflachia Efe Ei oleuadau ar y deall, y cyfnewidia Efe y galon. Trwy yr un gweithrediad meddyliol â'r hwn y canfyddwn hawddgarwch Crist ac attyniadau santeiddrwydd, yr ydym yn eu caru. Nid oes dim cyfwng rhwng y ddau. Mewn gwirionedd, nid ydynt ddau, eithr un. Gwerthfawrogi yr hyn sydd hawddgar ydyw ei garu. Rhaid i ni beidio annghofio un amser yn ein dadleuon yn nghylch cynneddfau neillduol, nad yw y cynneddfau hyny ond teithi amrywiol yr un enaid. Y Serchiadau, ydynt yr enaid yn caru neu yn cashau; y Deall, yr enaid yn dirnad; y Dychymmyg, yr enaid yn dwysfyfyrio; y Cof, yr enaid yn cofio; y Gydwybod, yr enaid yn cymmeradwyo neu yn condemnio; yr Ewyllys, yr enaid yn dewis neu yn gwrthod. Adnewyddu yr enaid ydyw ei adnewyddu yn ei HOLL alluoedd.

7. *Y cyfrwng mewn cyssylltiad â'r hwn y rhoddir dylanwadau alenedigol yr Ysbryd, ydyw Gair Duw.* Am y rheswm hyn y dywedir yn yr Ysgrythyr Santaidd ein

bod wedi ein hail-eni trwy y gair. "O'i wir ewyllys yr ennillodd Efe nyni trwy *air* y gwirionedd, fel y byddem ryw flaen-ffrwyth o'i greâduriaid Ef." "Wedi eich aileni, nid o had llygredig, eithr anllygredig, trwy *Air Duw*, yr hwn sydd yn byw ac yn parhau yn dragywydd." "Fel y sancteiddiai Efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr, trwy y *gair*:" Iago i. 18; 1 Pedr i. 23; Eph v. 26.

Yn y rhai hyn ac adnodau cyferbyniol ereill, priodolir ailenedigaeth i'r gwirionedd y'n tywysir gan yr Ysbryd Glân i'w dderbyn. Y mae y rheswm am hyn yn amlwg. Mewn cyssylltiad â gwrando, darllen, neu gofio gair Duw, neu y gwirioneddau cyffredinol a wna yn hysbys, y mae yr Ysbryd Glân yn rhoddi allan Ei allu. I'n tueddu ni i dderbyn y gwirionedd hwn y rhoddir yr Ysbryd Dwyfol, am hyny, y mae "ffydd yn dyfod trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." Y Gair ydyw yr achos o'r enedigaeth newydd. Trwy ei ddadguddiedigaethau a'i argymhellion, ennillir y galon o du Duw a santeiddrwydd. Y mae yr Ysbryd Glân yn gweithio trwy y gwirionedd. Gair Duw ydyw Ei gleddyf: Eph. vi. 17. Y tân â'r hwn y llysg ein sorod; a'r ordd â pha un y dryllia ein calonau creigaidd: Jer. xxiii. 29.

8. *Y mae dylanwadau ailenedigol yr Ysbryd yn cael eu harferyd, er hyny, nid ar y gair, eithr ar yr enaid dynol.* Nid yw gair Duw yn myned dan un cyfnewidiad pan enir enaid drachefn. Yn y cyfryw achos, nid y gair sydd yn cael ei droi, eithr y dyn sydd yn ei dderbyn. Y mae y gair, fel y mae yn yr Iesu, yn ddigyfnewid; yn byw ac yn parhau yn dragywydd, yr un dadguddiad gogoneddus o drugaredd ddwyfol. Mewn ieithwedd gyffredin, llefarwn am "nerth fel yn cael ei rhoddi yn y gair." Mewn gweddi gofynwn yn fynych gan Dduw am "wisgo Ei air â nerth." Ac yn yr Ysgrythyr Santaidd dywedir fod yr efengyl yn dyfod at y rhai cadwedig "nid mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr:" 1 Thess 1. 5. Ond, y mae yn amlwg nad yw y cyfryw gyfeiriadau yn awgrymu dim cyfnewidiad yn ngair byth-fywiol a digyfnewid Jehofah. Y mae y cyfnewidiad nid yn y gair a dderbynir, eithr yn y meddwl a'i derbynia. Y mae syniadau y dyn am y gwirionedd wedi

newid, nid y gwirionedd ei hun. Yr oedd ei ragoriaethau mor wirioneddol a dysglaer o'r blaen ag ydynt yn awr, ond ni werthfawrogid hwynt. Y mae y dadguddiad wedi dyfod iddo ef megis llyfr newydd, canys gwel ynddo brydferthion ac addasion bendigedig, nad oedd yn eu gweled o'r blaen. Pe rhoddid gweledíad sydyn i ddyn a anesid yn ddall, dechreuai megis ar fyd newydd; etto, ni wneid un effaith ar y byd allanol, oblegid cael ohono ef ei olwg; byddai yr un o hyd; byddai y cyfnewidiad yn syniadau, cynhyrfiadau, ac argraffiadau y dyn. Felly, pan fywhëir dyn i feddiant o fywyd ysbrydol; nid efengyl ein Ceidwad sydd yn cael dim elfenau newyddion o hawddgarwch wedi eu gosod ynddi, eithr y dyn a ddeffröa i amgyffrediaeth newydd hollol o'i gogoniant a'i chyfaddasrwydd i'w achos ef fel pechadur. Arferir y dylanwad nid ar y gair, eithr ar yr enaid dynol. Ni roddir nerth chwanegol yn ngwirionedd Duw, ond trwy ddylanwad dwyfol "*agorir y galon* i ddal arno ac i'w dderbyn:" Act. xvi. 14. Beth all wneyd yr efengyl yn fwy gogoneddus nag ydyw? Dim yn sicr. Yr hyn sydd eisiau arnom ydyw "llygad i weled," a chalon i garu y rhagoriaethau sydd byth yn y gyfundrefn fendigedig hono o wirionedd cadwedigol: Deut. xxix. 4. Yn nammeg yr hauwr a'r had, ffrwythau gwahanol yr had a hauwyd a briodolid i gymmeriad gwahanol y *tir*, hyny yw, y *galon* ar yr hon y disgynodd. Yr un natur had ydoedd, cystal yn y naill achos â'r llall; ond yr oedd y tir ar ba un y disgynodd yn dra gwahanol. "A'r hwn ar y tir da, yw y rhai hyn, y rhai â chalon hawddgar a da ydynt yn gwrando y gair, ac yn ei gadw, ac yn dwyn ffrwyth trwy amynedd:" Luc viii. 15. Yn effeithiau gair Duw, gan hyny, dibyna y cwbl ar sefyllfa y galon a'i gwrendy. Am hyny, y mae yn amlwg fod dylanwadau ailenedigol yr Ysbryd Glân yn cael eu defnyddio ar yr enaid dynol, a'u bod yn uniongyrchol, personol, a phenarglwyddol.

Y mae nerth Ysbryd Duw, er yn cael ei roddi mewn cysylltiad â'r gair ac mewn trefn iddo gael ei dderbyn, nid yn y gair, eithr y mae yn hollol ar wahan oddiwrtho. Rhai o'n duwinyddion diweddar a ddywedant wrthym fod yr Ysbryd yn y gair, ac nad oes dim presenoldeb neu nerth yr Ysbryd yn cael ei roddi i'r rhai cadwedig, ond yr hyn sydd

eisoes ac o angenrheidrwydd mewn gwirionedd dadguddiedig. Nid yw nerth yr Ysbryd gyda hwy, yn ddim ond y dylanwad a garia Ei wirionedd ar y rhai a'i derbynia. Gwadant unrhyw weithrediad uniongyrchol ar y meddwl.

Y mae y dyb hon, fodd bynag yn *afresymol* ac *anysgrythyrol.* Dywedwn ei bod yn afresymol oblegid y mae'n amlwg, os oes rhyw ddylanwad yn cael ei ddefnyddio o gwbl, rhaid iddo gael ei ddefnyddio ar feddwl y dyn sydd i'w gyfnewid, ac nid ar y gwirionedd yr hwn sydd yn ei natur, yn ddigyfnewid. Dywedwn yn mhellach, fod y dyb hon yn anysgrythyrol. Y mae y rhesymau a roddwyd yn barod yn ddigon i brofi hyn. Egir Duw *galonau* i ddal ar, a chofleidio Ei wirionedd; darpara galonau i dderbyn had y deyrnas; a phan gredir Ei efengyl i iachawdwriaeth, hyny sydd am nad yw yn dyfod "mewn gair yn unig" fel mewn llawer o achosion; eithr "mewn *nerth*, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr:" Act. xvi. 14; Luc viii. 15; 1 Thess. i. 5. Ond pe byddai yr Ysbryd yn y gair, ni allai y gair hwnw fyth ddyfod mewn gair yn unig. Yn y cyfryw achos, deuai yn wastadol gyda nerth. Mor eglur ydyw oddiwrth yr adnod ddiweddaf, nad yw y nerth yn y gair, eithr mewn dylanwad penarglwyddol, yr hwn sydd yn hollol ar wahan oddiwrtho, er yn gweithredu trwyddo fel cyfrwng. Presenoldeb neu absenoldeb y dylanwad rhad a graslawn hwn ar y galon sydd yn gwneuthur yr holl wahaniaeth yn nghanlyniadau ein pregethiad o'r gwirionedd fel y mae yn yr Iesu.

Mewn crediniaeth o'r gwirionedd mawr hwn y gweddïodd Dafydd, "Dadguddia fy llygaid, fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith Di:" Salm cxix. 18. Os ydyw yr Ysbryd yn y gair, yr oedd y deisyfiad hwn yn hollol wrthun. Os ydyw yr holl ddylanwadau graslawn a fwriada Duw i'r Eglwys yn y Beibl, ar ba egwyddor y gallai Dafydd weddïo am weithrediad gras Duw ar ei feddwl, i'w alluogi yn well i ddeall a gwerthfawrogi rhagoriaethau rhyfedd y llyfr hwnw. Eglur ydyw fod hon yn weddi am ddylanwad *tu allan* i'r gwirionedd, a thrwy yr hwn yr oedd *yr olaf i gael ei ddeall.*

Felly, y mae gras ailenedigol a santeiddiol yn rhywbeth mwy nâ'r Ysbryd yn y gair; y dylanwad dwyfol yn

gweithredu ar yr enaid ydyw, gan ei dueddu i "*dderbyn cariad y gwirionedd:*" 2 Thess. ii. 10.

Y mae yn ddigon gwir y gellir dyweyd mewn ystyr gyffredin, fod yr Ysbryd Glân yn Ei air, megis ag y dywedwn fod meddyliau a syniadau awdwr yn byw mewn llyfr yn yr hwn yr eglurodd efe hwynt yn gyflawn a difrifol. Cynnwysa y Beibl "feddwl yr Ysbryd" mor wirioneddol â phe buasai ond newydd gael ei ysbrydoli. Llefara Ei feddyliau goruchel byth. Clywir Ei lais yn annerch y cenedloedd yn ei athrawiaethau, addewidion, gorchymmynion, a'i brophwydoliaethau trwy holl oesau amser. Yn yr ystyr hon y mae yr Ysbryd Glân yn Ei air. Y mae Ei feddwl ynddo.

Ond y mae hyn yn beth tra gwahanol oddiwrth y dylanwad nerthol hwnw trwy ba un y dygir eneidiau at Dduw, ac y cedwir hwynt rhag marwolaeth. Rhaid i'r Ysbryd Glân agor y galon ddynol i dderbyn Ei air. Hyd oni wneir hyn, erys pregethiad y Groes yn ffolineb i'r meddwl cnawdol. Y mae gair yr Ysbryd yn ddinerth heb ras yr Ysbryd. Wrtho ei hun, ac heb ei ddilyn gan y dylanwad goruchel hwn, y mae yn dyfod mewn gair yn unig. Ni argyhoedda byth trwyddo ei hun, ond fel cyfrwng neu achlysur rhoddiad nerth yr Ysbryd.

9. *Yn rhoddiad gras ailenedigol gweithreda yr Ysbryd Glân, gyda phenarglwyddiaeth arbenig a diammheuol.* Yr Ysbryd Glân ydyw y gweithredydd mawr yn nghyflawniad y gwaith hwn, ac yn ei effeithiad gweithreda yn rhydd a graslawn. Ymddengys penarglwyddiaeth yr Ysbryd Dwyfol yn y cyfnewidiad yma oddiwrth ddau beth:

*a. Y mae yn amlwg oddiwrth natur yr achos.* Ni ddichon dim deilyngu y ffafr Ddwyfol ond santeiddrwydd. Gwir goleu ydyw hyn. Ond y mae ailenedigaeth ei hun yn *ddechreuad* santeiddrwydd yn enaid pechadur. Am hyny, y mae yn hunan-brofedig nas gall fod dim yn enaid pechadur *cyn* ei ailenedigaeth, yn wrthddrych ymhyfrydedd Jehofah, neu yn sail ffafr. A chan hyny, rhaid fod planu egin cyntaf gwir santeiddrwydd mewn dyn, oddiwrth natur yr achos, yn weithred o'r ffafr rhad berffeithiaf o du Duw. Cyn y cyfnewidiad pwysig hwn, nis gall dyn feddu dim yn ei gymmeriad yn deilwng o gymmeradwy-

aeth ddwyfol. Nis gall un dyn gan hyny fyth deilyngu gras ailenedigol. Rhaid diosg ailenedigaeth o'i nodweddion hanfodol, a pheidio a bod yn ailenedigaeth o gwbl, cyn y gellir dystrywio grym y ddadl hon.

*b.* Ond nid ydym wedi ein gadael wrth brawf rhesymegol yn unig yn y mater hwn. *Haera yr Ysgrythyrau yn eglur yr un gwirionedd.* Am gredinwyr ailenedig, tystiant eu bod wedi eu "geni nid o waed (nid o ddisgyniad cnawdol oddiwrth eu rhieni fel y genid Iuddewon yn Iuddewon), nac o ewyllys y cnawd (nid trwy eu hymdrechion eu hunain), nac o ewyllys gwr (nid trwy lafur gweinidogion, neu weision ereill yr Arglwydd), eithr o Dduw:" Ioan i. 13. Gwaith yr Ysbryd Glân yn arbenigol a hollol ydyw hwn, mor bell ag y mae a fyno y gallu effeithiol ag ef, trwy yr hwn y dygir ef oddiamgylch, ac y mae yn ffrwyth, nid ewyllys dyn, eithr ewyllys Duw. Pa iaith allai ddysgu yn eglurach benarglwyddiaeth yr Ysbryd Glân mewn ailenedigaeth?

"Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno, a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned: felly mae pob un a'r a aned o'r Ysbryd." "Y mae y Mab yn bywhâu y rhai a fyno:" Ioan iii. 8; v. 21. Y mae yr Ysbryd Glân yn dyfod fel cynnrychiolydd Iesu, i gyflawnu Ei ewyllys benarglwyddol. "Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol Ei drugaredd yr achubodd Efe ni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân; yr hwn a dywalltodd Efe arnom ni yn helaeth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr:" Titus iii. 5, 6. Trugaredd rhad Duw, ac nid unrhyw waith o'r eiddom ni, sydd yn sicrhau golchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân. Gallwn annerch yr holl ailenedigion yn y geiriau nodedig hyny: "A chwithau a fywhaodd Efe, pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau:" Eph. ii. 1.

10. *Nid gwaith graddol ydyw ailenedigaeth, eithr perffaith gwbl.* Yn yr ystyr yma, gwahaniaetha oddiwrth santeiddhad, yr hwn sydd yn gynnyddol. Ailenedigaeth ydyw y planiad o fywyd ysbrydol; santeiddhad ydyw ei ddadblygiad, a gogoneddiad ydyw ei berffeithiad. Y fynyd yr ymegir y galon i dderbyn Iesu, y mae yn fyw i Dduw.

Y mae y bywyd o dduwioldeb wedi ei blanu yn ei holl nerthoedd. Y mae eginyn y nefoedd yn yr enaid hwnw, ac ni wisga gogoniant ei hun ef â dim elfenau moesol newyddion. Gwneir ef yn greadur newydd yn Nghrist Iesu ar *unwaith;* ac megis y cynnwys y fesen eginin y dderwen, a'r baban y dyn cyflawn, felly yr enaid newydd gael ei eni oddi uchod *(ánothen)*, y mae ynddo hadau pob santeiddrwydd, a'r nefoedd ei hun. Y mae ganddo fywyd, a rhaid i'r bywyd hwnw ymgynyddu yn "wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist:" Eph. iv. 13.

11. Y mae yr anhawsder mawr yn yr athrawiaeth hon, fodd bynag, etto yn aros; yr ydym yn golygu y cwestiwn *pa un ai ailenedigaeth sydd yn blaenori ffydd yn y Ceidwad, ynte ffydd yn y Ceidwad sydd yn blaenori ailenedigaeth, neu ynte a yw y ddau yn cymmeryd lle yr un pryd?* Dau beth sydd eglur.

Yn mlaenaf,—*Fod y derbyniad o Grist gan y pechadur yn cael ei briodoli i ddylanwad dwyfol*: am hyny, gelwir ffydd yn "rhodd Duw," ac yn "ffrwyth yr Ysbryd:" Eph. ii. 8; Gal. v. 22; ac fe "agorir y galon" i dderbyn Crist, "nid cig a gwaed sydd yn dadguddio Iesu, eithr ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." "Dadguddia Duw y pethau hyn i rai bychain." "Yn ysbrydol y bernir hwynt:" Act. xvi. 14; Matt. xvi. 17, xi. 25; 1 Cor. ii. 14. Ond mynegir gwirionedd arall yn yr Ysgrythyr santaidd yr un mor eglur; hyny yw:—

Yn ail,—*Nad oes gan ddyn, hyd nes y byddo wedi derbyn y Ceidwad ddim bywyd ynddo.* Felly y tystiodd ein Harglwydd, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oni fwytewch gnawd Mab y Dyn, ac oni yfwch Ei waed Ef, *nid* oes genych fywyd ynoch:" Ioan vi. 53. Dywediad pendant iawn ydyw hwn. Hyd nes y derbynio dyn trwy ffydd, aberth Crist, *nid oes* ganddo *fywyd*; nid oes ganddo hyd y nod ei elfenau cyntaf. Y mae amrywiol adnodau ereill o'r un ystyr. "Cynnifer ag a'i derbyniasant Ef, Efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw." "Chwi oll ydych blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu." "Os bwyty neb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn dragywydd." "Yr hwn sydd yn fy mwytta I, yntau a fydd byw trwof Fi:" Ioan i. 12; Gal. iii 26; Ioan vi.

51, 57. Felly Crist yn arbenigol ydyw *ein bywyd*; tra heb ffydd ynddo *nid* oes genym fywyd.

Yma gan hyny, y mae yr anhawsder; os yw dynion yn derbyn dylanwad dwyfol mewn trefn i gredu yn Nghrist, onid ydynt yn cael eu gwneuthur yn fyw i Dduw *trwy y dylanwad hwn*, ac onid ydynt mewn canlyniad yn cael eu haileni *cyn* derbyn Crist i'r enaid? Ond os ydynt yn cael eu haileni *cyn credu* yn y Ceidwad, a phe byddent feirw yn y sefyllfa hon, elent yn ddiau i'r nefoedd (canys ni all un enaid ailenedig fod yn golledig), a chaffent felly fywyd tragywyddol heb fod wedi credu yn Nghrist, yr hyn sydd groes i un o egwyddorion cyntaf dadguddiad. Dywed ein Harglwydd yn bendant, oni fwyttawn Ei gnawd, ac oni yfwn Ei waed, *nad* oes genym fywyd ynom. Heblaw hyn, ailenedigaeth ydyw y planiad o fywyd *santaidd;* ac ni ddichon neb ddyfod yn santaidd hyd nes y byddo wedi credu yn Iesu. "*Heb* ffydd anmhosibl yw *rhyngu bodd Duw*:" Heb. xi. 6. Nis gall un weithred fod yn santaidd hyd nes y cyflawnir hi dan ddylanwad cariad at Jehofah; ac nis gall un pechadur gael ei ddwyn i garu holl gymmeriad Duw, hyd nes y byddo wedi dysgu edrych ar y cymmeriad hwnw fel y dadguddir ef yn marwolaeth Iesu. Y mae "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg Ef Ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau:" 2 Cor. v. 19. Am hyny, gan nas gall neb garu Duw heb ffydd yn Iesu, nis gall neb fod yn santaidd heb ffydd yn Iesu; canys cariad at Dduw ydyw egwyddor hanfodol santeiddrwydd. Gorchymmyn sylfaenol y gyfraith ydyw, "Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl:" Matt. xxii. 36, 37. Megis ag nas gallwn gan hyny, fod yn santaidd, a rhyngu bodd Duw heb ffydd yn y Ceidwad, amlwg yw nas gallwn heb ffydd gael ein haileni.

Tybiwn mai yr eglurhad o'r anhawsder pwysig yma yn unig ydyw hyn:—Nad yw y dylanwad, trwy yr hwn y mae dynion yn cael eu deffroi a'u hargyhoeddi, a'u dwyn i weled eu hangen o Iesu, *ond darpariadol i ailenedigaeth.* Nid yr enedigaeth newydd ei hun ydyw, eithr moddion i'r dyben hyny. Nid ydym wedi ein haileni, neu wedi ein gwneuthur yn santaidd, hyd nes y byddom wedi ein cymmodi â Duw trwy farwolaeth Ei Fab. Yna y derbyniwn

Grist, "ein bywyd." Y fynyd y dygir yr enaid i gofleidio Oen Duw, gwneir ef yn greadur newydd. I'r cyfryw ag a dderbyniant Grist y rhydd Efe y fraint o fod yn uniongyrchol yn feibion i Dduw. Nyni oll ydym blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu: Ioan i. 12; Gal. iii. 26. Y mae ffydd yn puro y galon, yn gorchfygu y byd, ac yn gweithio trwy gariad. "Pob un a'r sydd yn credu mai Iesu yw y Crist, o Dduw y ganed ef!" Act. xv. 9. 1 Ioan v. 4. Gal. v. 6; 1 Ioan v. 1. Y mae y dylanwad darpariadol, er nad yw yn ailenedigaeth, yn hollol angenrheidiol i'w gynnyrchiad.

Deffröir llawer gan gydwybod naturiol na argyhoeddir byth, a'r unig brawf pendant fod ein argyhoeddiadau o Dduw, ydyw ein tywysiad ganddynt i dderbyniad calonog o drefn prynedigaeth yr efengyl. Nid oes iachawdwriaeth tu allan i Grist, (Act. iv. 12); ond os yw dynion wedi eu haileni, y rhai ni ddaethant erioed at Grist, y maent mewn sefyllfa o gadwedigaeth, heb ffydd yn yr enw gwerthfawr hyny! Y dylanwad trwy ba un yr ailenir ni ydyw gras penarglwyddol yr Ysbryd Glân; ond un peth ydyw y dylanwad trwy ba un yr ailenir ni; y mae ailenedigaeth ei hun yn beth arall. Cymmysgu yr achos effeithiol â'r effaith bendithfawr, a grëodd yr anhawsder sydd yn awr dan ystyriaeth. Yr etholedigion yn ddiffael a gânt dderbyn y bywyd hwn, a'r dylanwadau rheidiol i'w gynnyrchiad. Ni châ neb ohonynt feirw yn eu sefyllfa naturiol, neu un o argyhoeddiad yn unig, eithr cânt oll eu dwyn at Grist trwy ffydd, byw ynddo, marw ynddo, huno ynddo, a bod yn wastadol gydag Ef; Gal. ii. 20; Dad. xiv 13; 1 Thess. iv, 14, 17. Dichon i'r gras penarglwyddol ymestyn dros dymhor hirfaith o ddeffröad ac argyhoeddiad cyn y diweddo mewn ailenedigaeth; tra mewn achosion ereill, dichon dywys yn dirion lestr trugaredd at Grist bron ar y cychwyniad. Nid ailenedigaeth ydyw dylanwadau yr Ysbryd, ond yn unig y gallu mawr trwy ba un y cyflawnir y gwaith rhyfeddol hyny. Y mae yr enaid yn credu trwy ddylanwad dwyfol, na ddichon un gallu creadigol attal neu orchymmyn; a thrwy gredu, ymsymuda o farwolaeth i fywyd. Yn fyr, nid ydym wedi ein haileni nes y credom; ac nid ydym byth yn credu, nes y'n

tywysir i wneyd hyny, gan ddylanwadau graslawn a hollalluog y Dyddanydd Tragywyddol, gogoneddwr Crist yn nghalonau a chydwybodau dynion. Fel yma, ailenedigaeth o'r dechreu i'r diwedd ydyw *effaith* gallu yr Ysbryd; er fod y cyfnewidiad yn cael ei weithio ynom yr eiliaid yr ymunom â'r Messiah fel gobaith Israel.

Nid oes dim prawf o'r enedigaeth newydd yn yr ofn o uffern yn unig. Y mae ofn cosp yn reddf yn y natur ddynol. Y mae lluaws o annuwiolion yn ofni yn echrydus ar amserau, oblegid y rhagolygon sydd o'u blaen. Ond eglur yw, nad oes dim rhagoroldeb moesol, ac o ganlyniad, ddim prawf o adnewyddiad sefyllfa meddwl, mewn argyhoeddiad yn unig, y bydd effeithiau ein pechod yn ddinystriol. Y mae lluaws o ddynion a wyddant hyn yn ddigon da, yn parhau i lynu wrth y pechodau a'u suddant i uffern. Nid oes un prawf o ailenedigaeth nes y byddom wedi dysgu ffieiddio ac ymwadu â phechod wrth droed y groes. Rhaid i ni beidio cymmysgu ofn cospedigaeth yn unig â throedigaeth y *galon* oddiwrth bechod ei hun. Llawer a brofant y blaenaf, na theimlant byth yr olaf. Ailenedigaeth yw dechreuad santeiddrwydd yn y galon, ond nid oes santeiddrwydd yn y dychryn at y meddwl yn unig o gael eu hanfon i golledigaeth. Rhaid peidio cymmysgu argyhoeddiad o bechod, hyd y nod pryd y gweithredir ef gan allu yr Ysbryd, â'r enedigaeth newydd, er fod pobl Dduw oll i raddau mwy neu lai i fyned trwy y ddysgyblaeth ddarparol hon. Cyffröir rhai yn llawer mwy nerthol gan y dychrynfeydd hyn nâ'i gilydd; ond pawb fel eu gilydd a symudir o farwolaeth i fywyd, pan trwy ras y credant yn Iesu i "gadwedigaeth yr enaid:" Heb. x. 39.

## PENNOD IX.

### CYFIAWNHAD.

Yr ydym yn awr yn dyfod i ystyried y pwnc mawr, Pa fodd y bydd dyn yn gyfiawn gyda Duw? Y mae hwn yn un o'r pynciau pwysicaf a all gael ein sylw. Rhaid y byddai cyfeiliornad *sylfaenol* yma yn ddinystriol i'r enaid. Os fel yr Iuddewon gynt, "heb wybod cyfiawnder Duw,

y gosodwn i fyny ein cyfiawnder ein hunain, ac nad ymostyngwn i gyfiawnder Duw, Rhuf. x, 3, rhaid ein colli. Beth gan hyny, yw cyfiawnhad? Pa fodd y dygir ef oddiamgylch? a Pha beth ydynt ei ffrwythau?

I. *Y mae cyfiawnhad o angenrheidrwydd yn weithred gyfreithiol.* Gwyddom yn rhy dda fod rhai o'n duwinyddion diweddar, a gyfrifir yn uniawngred, yn dechreu gwaduh yn. Ymhŵeddwn yn y modd difrifolaf yn erbyn y meddylddrych o ymwrthod â'r golygiad cyfreithiol o'r fendith fawr hon. I ni, ymddengys y golygiad hwnw yn hanfodol i'r holl gwestiwn. Fod cyfiawnhad yn weithred gyfreithiol a ymddengys oddiwrth ei gwir natur. Y mae dyn yn gyfrifol i Lywydd Hollalluog y cyfanfyd, ac wedi ei osod dan gyfundrefn o lywodraethiad trwy ddeddfau a chymhellion. Nid plentyn yn unig yn nheulu Tad yw dyn, eithr deiliad mewn ymherodraeth fawr. Cyfrifol yw i ddeddfau a feddant awdurdod cospawl ac addewidion. Bydd rhaid iddo roddi cyfrif ohono ei hun i Dduw; ac yn ol deddfau dwyfol, rhaid iddo gael naill ai ei gyfiawnhau, neu ynte ei gollfarnu. Os yw dyn i gael ei gadw, rhaid i hyny fod trwy gyfiawnhad o flaen brawdle deddf a chyfiawnder, canys rhaid ydyw amddiffyn y llywodraeth ddwyfol fel na fyddai i gadwedigaeth dyn ddiddymu teyrnasiad cyfiawnder tragywyddol. Llywodraethir yr holl gyfanfyd gan ddeddf, ar gynnaliad pa un yr ymddibyna ei drefn a'i ddedwyddwch. Os yw pechaduriaid, i gael eu cadw, gwneir cyfiawnhad *rhad*, etto *cyfiawn*, yn hanfodol gan eu heuogrwydd a'u cyfrifoldeb. Nis gallwn osgoi cyfraith. Bydd rhaid i ni gael naill ai ein melldithio neu ynte ein bendithio ganddi. Rhaid i'n cymmeradwyaeth gan hyny, o natur yr achos, fod yn weithred *gyfreithiol.* Gan ein bod yn gyfrifol i'n Barnwr, rhaid i'n dyfarniad i fywyd tragywyddol fod yn gyfiawnhad. Y mae yr Ysgrythyrau yn orlawn o dystiolaethau ein bod yn gyfrifol i ddeddf foesol, naturiol a dadguddiedig. Gorwedda cyfrifoldeb fel yr ydym wedi gweled, wrth sylfaen yr holl gyfundrefn o foesau a phrynedigaeth. Hefyd, y mae hyd y nod y *termau* a ddefnyddir yn yr Ysgrythyrau Santaidd i osod allan y cyfnewidiad dedwydd yn sefyllfa dyn gerbron Duw, yn awgrymu cymmeriad cyfreithiol y trefniant. Dyfynwn yn

llawen, y dystiolaeth ganlynol oddiwrth y diweddar ddysgedig Dr. Pye Smith, i wirionedd yr honiad yma:—"Cyfiawnhad, yn yr ystyr dduwinyddol, ydyw sefyllfa creadur cyfrifol, yn mha un yr edrychir arno gan y Barnwr Hollwybodol a Holl-gyfiawn fel yn rhydd o fai a chospedigaeth, ac yn wrthddrych cymmeradwyaeth dwyfol." "A dwyn i lawr y darnodiad cyffredinol hwn at amgylchiadau dyn syrthiedig, y mae cyfiawnhad pechadur yn weithred gyfreithiol o eiddo Duw, trwy yr hon y maddeua Efe holl bechodau y pechadur, ac yr edrycha arno fel gwrthddrych teilwng o ymhyfrydedd a gwobrwy. Dywedir am berson yn gyfiawnedig, pan y cymmeradwyir ef gan Dduw fel yn rhydd oddiwrth euogrwydd pechod a'i gosp ddyledus, ac fel yn meddu y cyfiawnder hwnw yn perthyn iddo a rydd hawl i wobrwy bywyd:"—*President Edwards' Disc, on Justification* (*First Lines, p.* 585).

Fod y geiriau a ddefnyddir yn yr Ysgrythyrau Santaidd i osod allan gymmeradwyaeth pechadur gyda Duw yn *dermau* cyfreithiol, a rhaid fod yn amlwg ar ymchwiliad diduedd. Y mae i'r ferf Hebreig *tzaddak*, y prif *derm* a ddefnyddir yn yr Hen Destament i osod allan y trefniant hwn, y gallu canlynol:—Yn y ffurf *Kal* golyga yn mlaenaf, bod yn gyfiawn, bod ag achos cyfiawn mewn ystyr gyfreithiol, fel yn Gen. xxxviii. 26:—"Cyfiawnach yw hi nâ myfi," h.y. achos mwy cyfiawn ganddi: ac ennill un ei achos, neu *gael* ei gyfiawnhau, fel yn Esa. xliii. 9:—"Dygant eu tystion, fel y cyfiawnhaer hwynt," ac adnod 26:—"Cydymddadleuwn: adrodd di fel y'th gyfiawnhaer," ac Esa. xlv. 25:—"Yn yr Arglwydd y cyfiawhêir holl hâd Israel." Yn y ffurf *Niphal*, golyga gyhoeddi yn gyfiawn neu yn bur, fel yn Dan. viii. 14:—"Yna y purir y cyssegr," h.y. ei gyhoeddi yn lân oddiwrth halogiad. Yn y ffurfiau *Piel* a *Hiphil* golyga wneuthur yn ddiniwed, neu gyfiawn; ac yna cyfiawnhau, *cyhoeddi* yn gyfiawn. Yn yr ystyr ddiweddaf y defnyddir ef bob amser yn y ffurfiau hyn pan fyddo cymmeradwyaeth pechadur gerbron Duw yn destun traethiad fel yn Esa. liii. 11:—"Fy Ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy Ei wybodaeth; canys Efe a ddwg eu hanwireddau hwynt." Yn y ffurf *Hithpael* golyga hunan-gyfiawnhad, neu ymgliriad oddiwrth y cyhuddiad

o ddrwg; fel yn Gen. xliv. 16:—"Pa fodd yr ymgyfiawnhawn? Gwel Exod. xxiii. 7; Deut. xxv. 1; 2 Sam. xv. 4; Esa. v. 23; l. 8. Yn mhob un o'r adnodau hyn, y mae defnyddiad cyfreithiol y *term* tuhwnt i ammheuaeth.

A hwn yw y gair a ddefnyddiodd Ysbryd pob doethineb yn yr Hen Destament i osod allan ryddhad y pechadur gan ei Wneuthurwr, megis er enghraifft yn Esa. xliii. 26; xlv. 25; liii. 11; Job xxv. 4; Salm cxliii. 2. Nid oes dim yn sicrach nâ bod yr ystyr gyfreithiol yn nglŷn â chyfiawnhad pechadur yn ngolwg ei Dduw yn iaith yr Hen Destament. Y mae yr un peth yn weladwy yn y Testament Newydd o barthed i'r geiriau Groeg a ddefnyddir. *Dikaios* a olyga uniawn, cyfiawn, cydffurfiol â deddf ac uniondeb. *Dikaiō* ydyw cyfrif, neu gyhoeddi person yn gyfiawn, neu ymddwyn tuag ato fel yn gyfiawn. *Dikaiôsis* yw y *weithred* o wneyd neu gyhoeddi person yn gyfiawn. *Dikaiôma* a olyga orchymmyn cyfreithiol, yna penderfyniad cyfreithiol, ac yna gweithred yn gysson â chyfraith. *Dikaiosúnē* a esyd allan *sefyllfa* o gyfiawnder, neu *drefn* cyfiawnder neu gyfiawnhad. Nis gall un beirniad wadu y cyfeiriadau cyfreithiol a gynnwysir yn y geiriau hyn. Profa geiriadaeth y Testament Newydd fod cyfiawnhad yn *derm* cyfreithiol, ac ei fod yn cynnwys cymmeradwyaeth hollol o'i wrthddrych gan ddeddf a chyfiawnder y Llywydd Dwyfol.

2. *Os mai cymmeradwyaeth gyfreithiol dyn gan ddeddf a llywodraeth Duw ydyw cyfiawnhad, yna rhaid ei fod yn cynnwys heblaw maddeuant am droseddau, gyfrifiad o gyfiawnder pendant.* Y mae hyn yn eglur oddiwrth natur yr achos. Gofyna y ddeddf nid yn unig ymattaliad oddiwrth ddrwg, ond rhoddiad ufudd-dod gweithredol. Nid yw ei *holl* orchymmynion yn nacaol, y mae llawer ohonynt yn bendant. Ni ddywed bob amser, Na wna; yn amlach y dywed, Gwna. Am hyny, os ydyw y ddeddf hon i gyhoeddi dyn yn gyfiawn, rhaid iddi edrych arno nid yn unig fel pe yn ddibechod, eithr fel yn meddu cyfiawnder gwirioneddol. Y mae cyfraith Duw, y berffeithiaf o bob cyfraith, yn hawlio mwy nâ pheidio bod yn anufudd; hawlia ymddarostyngiad yr holl galon, yr enaid, y nerth, a'r bywyd i'w gorchymmynion. "Ti a geri yr Arglwydd dy Dduw a'th holl feddwl, enaid, a nerth; a'th gymmydog

fel ti dy hun," ydynt ei gorchymmynion cyntaf a mawrion. Am hyny, i ddefnyddio geiriau y Dr. Pye Smith unwaith etto, "Rhaid i gyfiawnhad gael ei ddeall mewn ffordd o gyssondeb hollol *â'r gyfraith* i ba un y perthyn. Y mae yn amlwg gan hyny, mewn trefn i'r pechadur gael ei gyfiawnhau ar dir ei gyfrifoldeb hanfodol ac annhrosadwy, i gyfraith bur a pherffaith Duw, fod yn rheidiol iddo nid yn unig gael ei ryddhau oddiwrth y cospau yr aeth yn agored iddynt trwy ei droseddau o'r gyfraith hono, ond hefyd ei freintio â'r iawnderau a'r hawliau a welodd Duw yn dda eu cyssylltu ag ufudd-dod; y mae arno angen ryddhad oddiwrth euogrwydd, a hawl i ddedwyddwch tragywyddol." —*First Lines*, p 588.

Fel yma yr ydym yn cael fod credinwyr yn cael eu bendithio. Nid yn unig, *nid* ydynt yn golledig, eithr *y y mae ganddynt* fywyd tragywyddol. Nid yn unig, ni chondemnir hwy, eithr aethant trwodd o farwolaeth i fywyd. Derbyniant fwy nâ maddeuant pechodau, y mae ganddynt gyfran yn mysg y rhai a santeiddwyd. Wedi eu cyfiawnhau trwy ffydd, y mae ganddynt nid yn unig heddwch tuag at Dduw, eithr "gorfoleddant dan obaith gogoniant:" Ioan iii. 15, 16; v. 24; Act. xxvi. 18; Rhuf. v. 12. Y maent yn fwy nâ bod yn faddeuedig, y maent wedi eu cyfiawnhau. Nid yn unig diangant rhag cosp, eithr derbyniant wobrwy ufudd-dod perffaith. "Gwneir hwynt yn gyfiawnder Duw yn Nghrist." "Cyfrif Duw gyfiawnder iddynt heb weithredoedd." Y maent yn "gymmeradwy yn yr Anwylyd," ac wedi eu "cyflawnu ynddo Ef:" 2 Cor. v. 21; Rhuf. iv. 6; Eph. i. 6; Col. ii. 10.

*Un weithred yw y weithred o gymmeradwaeth*, ond cyfranoga o natur *maddeuant* a *chyfiawnhad*. Fel y mae yn ryddhad oddiwrth gosp gyfiawn ddyledus i'r euog, maddeuant ydyw; a chan ei bod yn rhoddedig ar gyfrif gwaith perffaith Iesu, y mae yn gyfiawnhad. A'i golygu mewn perthynas â'n euogrwydd ni, y blaenaf ydyw; ond mewn perthynas â chyfiawnder Crist, yr olaf ydyw. Cynnwys *faddeuant*, ond y mae yn rhyw beth chwaneg. Nid yw yn gynnwysedig o ddwy weithred *wahanol* o rad ras Duw; canys, amlwg yw, mai un weithred gyflawn yw cymmeradwyaeth, yn cynnwys y cwbl sydd rheidiol;

feddianniad y pechadur o gyfiawnder perffaith yn ngolwg deddf a chyfiawnder Dwyfol. Dyma pam y cawn weithiau fod cyfiawnhad yn cael llefaru am dano fel yn ymddangosiadol yr un peth â maddeuant. Fel yma y dyfyna Paul eiriau Dafydd yn Salm xxxii. 1, 2: "Gwyn ei fyd y neb y maddeuwyd ei drosedd, ac y cuddiwyd ei bechod. Gwyn ei fyd y dyn ni chyfrif yr Arglwydd iddo anwiredd," fel yn ddarluniadol o ddedwyddwch y dyn y cyfrif Duw iddo gyfiawnder heb weithredoedd: Rhuf. iv. 6, 7, 8. Dyfyna yr Apostol adnod a lefara am annghyfrifiad pechod, fel yn ddarluniadol o gyfrifiad cyfiawnder. Oddiwrth yr hyn y dysgwn, fod y ddau beth yn anwahanadwy gyssylltiedig, ac nad ydynt yn wir, ond un weithred o drugaredd ddwyfol. Nid yn unig gwir yw, fod pawb cyfiawnedig yn faddeuedig, eithr fod pawb maddeuedig yn gyfiawnedig. "Trwy ufudd-dod un y gwneir hwynt yn *gyfiawn*:" Rhuf. v. 19. Ni fetha Jehofah un amser, ni saif un amser ar hanner y ffordd yn nghymmeradwyaeth enaid crediniol. Cyfrif Efe gyfiawnder, yn gystal â maddeuant pechodau. Daw y "dawn ar bawb credinwyr i gyfiawnhad bywyd:" Rhuf. v. 18.

3. *Am hyny effeithir cyfiawnhad yn unig ar sail gwaith a gyferfydd holl hawliau y gyfraith i'r hon yr ydym yn gyfrifol, ac wedi ei thori.* Gofyna cyfiawnhad gyfiawnder perffaith fel ei sylfaen. Y mae hyn yn hunan-brofedig. Gan fod llywodraeth Duw yn gysson â gwirionedd, nis gall fyth gyfiawnhau dyn nad yw yn ngolwg y gyfraith yn gyfiawn. Nis dichon fyth gyfreithloni celwydd; rhaid i'w phenderfyniadau fod yn sylfaenedig ar uniondeb. Nis gall gymmeradwyo dim yn fyr o gyfiawnder a ogonedda ei holl hawliau. Gan fod credinwyr nid yn unig i gael maddeuant, eithr eu cyfiawnhau a'u breintio â hawl i'r nefoedd, rhaid i waith gael ei gyflawnu ar sail yr hwn y dichon Duw ddelio â hwynt yn raslawn fel yma heb un troseddiad ar hawliau cyfraith. Iawn am eu heuogrwydd, ac ufudd-dod o'r fath werth annghymarol ag a'u breintio â chyfiawnder pendant, ydyw yr hyn sydd yn angen arnynt.

4. *Y mae genym y cyfryw waith yn mywyd santaidd ac angau difrycheulyd Mab Duw.* Yr oedd bywyd ein

Harglwydd drwyddo oll yn ddifrycheulyd, a rhedodd Ei holl yrfa yn y cymmeriad o feichnïydd, cyfryngwr, eiriolwr, ac arch-offeiriad i ni. Ymgnawdolodd drosom, bu fyw drosom, a bu farw drosom. Daliai trwy Ei holl yrfa gymmeriad cyhoeddus, ac ymddygodd mewn cymmeriad swyddogol. Cynnrychiolydd ereill oedd Ef, ac yr oedd perthynas neillduol rhwng y cwbl a wnaeth ac a ddyoddefodd â'u cyflesion hwy. Gwel y ben. ar Ufudd-dod a Iawn Dirprwyol Crist, tud. 186. Y cymmeriad cyhoeddus, swyddogol, a chynnrychiolaethol hwn a wnaeth gyfiawnder ein Harglwydd yn gyfranadwy trwy gyfrifiad i'r rhai oll a gredant ynddo Ef. Ufuddhaodd a dyoddefodd *drosom ni;* a thrwy Ei ufudd-dod a'i ddyoddefaint gellir gan hyny ein cyfiawnhau *ni.* Gall cynnrychiolydd teulu urddasol fod yn euog o deyrnfradwriaeth, am yr hyn y câ ei holl deulu ddyoddef. Mewn oesoedd dyfodol, dichon cynnrychiolydd arall perthynol i'r un teulu, trwy wasanaeth nodedig i'w wlad a'i frenin, adennill iddo ei hun a'i holl olafiaid eu hanrhydedd a gollwyd. Dystrywiodd yr Adda cyntaf ni, ond fe adferodd yr ail ni. Daliai y ddau gymmeriad cynnrychiolaethol.

Cynnwysa cyfiawnder Crist Ei holl waith dirprwyol mewn ufudd-dod a dyoddefaint. "Ufuddhaodd hyd angau:" Phil. ii. 8. Ufuddhaodd i'r ddeddf a dorasom ni, ac yr oedd hyd derfyn Ei yrfa yn "ddifrycheulyd." Bu yn ufudd yn mhob peth, a phrofodd berffeithrwydd Ei gyfiawnder trwy Ei oddefiad amyneddgar o'r pethau a ddyoddefodd. Gorphenwyd Ei waith yn Ei farwolaeth. Pan fu farw, llefodd allan, "Gorphenwyd!" Yr oedd wedi perffeithio y gwaith a roddwyd iddo i'w wneuthur. Allai y ddeddf hawlio dim chwaneg. Boddlonwyd cyfiawnder, a gosodwyd i lawr sylfaen maddeuant a chymmeradwyaeth pawb credinwyr. Dygwyd ein melldith ni, a holl ofynion y ddeddf a gadwwyd ac a fawrhawyd gan ein Dyddiwr a'n Meichnïydd. "Gwnaed Ef yn bechod drosom ni"—"Yn felldith trosom"—"Dygodd ein pechodau yn Ei gorph ar y pren:" 2 Cor. v. 21; Gal. iii. 13; 1 Pedr ii. 24. Yr un pryd "dygodd i mewn gyfiawnder tragwyddol," a daeth yn "ddiwedd (cyflawnydd) y ddeddf, er cyfiawnder i bob un a'r y sydd yn credu:" Dan. ix. 24; Rhuf. x. 4.

5. *Y gwaith dirprwyol yma ydyw yr achos haeddiannol o'n cyfiawnhad ni gerbron Duw.* Dywedwn yr unig achos *haeddiannol;* canys cariad penarglwyddol a thragywyddol Duw ydyw yr achos *dechreuol,* a ffydd ddwyfol blanedig, ydyw yr achos *offerynol* o gymmeradwyaeth pechadur gyda Duw. Y mae yr haeddiant a deilynga y nefoedd i ni, yn Nghrist, nid ynom ein hunain. "Yr ydym ni oll megis peth aflan, ac megis bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau:" Esa. lxiv. 6. Ond gwaith Crist sydd yn "agor teyrnas nefoedd i bawb credinwyr." Ystyried y darllenydd y tystiolaethau canlynol i'r gwirionedd mawr hwn. "Crist a'n llwyr-brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom; canys y mae yn ysgrifenedig, Melldigedig pob un sydd yn nghrog ar bren: Fel y delai bendith Abraham *(cyfiawnhad)* ar y cenedloedd, trwy Grist Iesu:" Gal. iii. 13, 14; Gwel o'r 6—14. "Gwnaethpwyd Crist Iesu i ni gan Dduw yn gyfiawnder, ac yn brynedigaeth:" 1 Cor. i. 30. Yr oedd "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd ag Ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau. Canys yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth Efe yn bechod drosom; fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo Ef:" 2 Cor. v. 18–21. "A hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras Ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu:" Rhuf. iii. 19–24. "Traddodwyd Crist dros ein pechodau ni, a chyfodwyd Ef i'n cyfiawnhau:" Rhuf. iv. 25. "Wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Trwy yr Hwn hefyd y cawsom ddyfodfa trwy ffydd i'r gras *(sefyllfa o gyfiawnhad)* hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll:" Rhuf. v. 1, 2. "Eithr y mae Duw yn canmol Ei gariad tuag atom; oblegid a nyni etto yn bechaduriaid, i Grist farw drosom. Mwy ynte o lawer, a nyni yn awr wedi ein cyfiawnhau trwy ei waed Ef, y'n hachubir rhag digofaint trwyddo Ef. Canys os pan oeddym elynion, y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth Ei Fab Ef; mwy o lawer wedi ein heddychu ("*heb gyfrif iddynt eu pechodau,*" cymharer ag 2 Cor. v. 19), y'n hachubir trwy Ei fywyd Ef. Ac nid hyny yn unig, eithr gorfoleddu yr ydym hefyd yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist trwy yr Hwn yr awrhon

y derbyniasom y cymmod:" Rhuf. v. 8—11. "Amlhaodd gras Duw, a'r dawn (cyfiawnhad) trwy ras yr un dyn Iesu Grist, i laweroedd.—Caiff y rhai sydd yn derbyn lluosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist. Trwy gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn i gyfiawnhad bywyd.—Trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn:" Rhuf. v. 15—21. "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw:" Rhuf. viii. 32—34. "Crist yw diwedd (Cyflawnydd) y ddeddf, er cyfiawnder i bob un ar y sydd yn credu:" Rhuf. x. 4. "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy Ei waed Ef, sef maddeuant pechodau:" Eph. i. 7. "Ac y'm ceir ynddo Ef, heb fy nghyfiawnder fy hun yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd:" Phil. iii. 9. Crist "wedi puro ein pechodau ni trwyddo Ef Ei Hun, a eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd:" Heb. i. 3. Efe "a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn Ei waed Ei Hun:" Dad. i. 5. "I Hwn y mae yr holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo ynddo Ef faddeuant pechodau, trwy Ei Enw (Ei deilyngdod) Ef:" Act. x. 43. "A thrwy hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu, oddiwrth yr holl bethau y rhai ni allech trwy gyfraith Moses gael eich cyfiawnhau oddiwrthynt:" Act. xiii. 39. "A hyn fydd Ei Enw ar yr hwn y gelwir Ef, JEHOFAH EIN CYFIAWNDER:" Jer. xxiiii. 6. "Yn ddiau yn yr Arglwydd, medd un, y mae i ni gyfiawnder:" Esa. xlv. 24. "Fy Ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy Ei wybodaeth; canys Efe a ddwg eu hanwireddau hwynt:" Esa liii. 11.

Oddiwrth yr adnodau hyn ac ereill cyffelyb, ymddengys y cyfiawnder trwy ba un y cyfiawnheir y credadyn gerbron Duw, fod nid yn ffrwyth ei ufudd-dod ei hun, eithr teilyngdod dwyfol ddarparedig (*díkaiosúne theou*), gwaith Crist yn Ei fywyd santaidd a'i angau difrycheulyd.

6. *Y mae y cyfiawnder dirprwyol hwn yn cael ei gyfrif yn raslawn gan y Tad i'r cyfiawnedig.* Ni ddichon cyfiawnder Crist byth ballu bod mewn gwirionedd yn eiddo Ef, na dyfod byth mewn gwirionedd yn eiddom ni. Rhaid i ni ochelyd defnyddio dull o ymadrodd anysgrythyrol wrth

ddarlunio athrawiaeth Ysgrythyrol. Nid yw cyfiawnder Crist yn cael ei gyfranu eithr ei gyfrif. Santeiddhad yr Ysbryd ydyw cyfiawnder cyfranedig y saint, ond ufudd-dod Mab Duw ydyw eu cyfiawnder cyfrifedig, cyfreithiol, a chyfiawnhaol. Y mae teilyngdod y Cyfryngwr yn cael ei gyfrif yn raslawn i gredinwyr, mewn trefn iddynt gael eu llwyr gymmeradwyo yn ngolwg cyfraith cyfiawnder. "Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder:" (trawsenwad am wrthddrych ei ffydd) Rhuf. iv. 3. "Eithr i'r neb nid yw yn gweithio, ond yn credu yn yr Hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol, ei ffydd (trawsenwad etto) a gyfrifir yn gyfiawnder:" adnod 5. "Y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo heb weithredoedd. Dedwydd yw y gwr nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod iddo:" adn. 6—9. "Ac am hyny y cyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. Eithr nid ysgrifenwyd hyny er ei fwyn ef yn unig, ddarfod ei gyfrif iddo; ond er ein mwyn ninau hefyd, i'r rhai y cyfrifir, y rhai ydym yn credu yn yr hwn a gyfododd Iesu ein Harglwydd ni o feirw. Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni:" 22—25. Yr un ferf (*logizomai*) a ddefnyddir yn mhob engraifft yn y dyfyniad diweddaf hwn. Defnyddir hi yn eglur yn yr ystyr o gyfrif i unrhyw un, neu osod yn erbyn un, neu gyfrif yn gyfreithiol. Yr oedd Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd ag Ef Ei Hun trwy Iesu Grist heb gyfrif iddynt eu pechodau." "Fel y cyfrifid cyfiawnder iddynt hwythau hefyd:" 2 Cor. v. 19; Rhuf. iv. 11.

Mae y ferf (*logizomai*) a ddefnyddir yn yr holl adnodau hyn, yn cael ei defnyddio hefyd yn y rhai canlynol yn yr un ystyr gyfreithiol:—"Archaf ar Dduw nas cyfrifer iddynt." "A chyda'r anwir y cyfrifwyd Ef." "Oni chyfrifir ei ddienwaediad ef yn enwaediad:" 2 Tim. iv. 16; Luc xxii. 37; Rhuf. ii. 26. Fel yma, dysga yr Ysgrythyrau fod cyfiawnder perffaith Emmanuel yn cael ei gyfrif yn drugarog gan y Tad Tragywyddol i'r holl gredinwyr, fel ag i sicrhau eu cyfiawnhad presenol, perffaith, a thragywyddol gerbron brawdle y gyfraith ddwyfol.

7. *Cymmer y cyfrifiad hwn o gyfiawnder le pan gredo y pechadur â'r galon yn Iesu Grist fel ei unig Waredwr.* Yr oedd y bwriad i gyfiawnhau yn ddiammheu yn dra-

gywyddol; ond cyfiawnhad ei hun a gymmer le mewn amser. Y drefn yw rhagluniaethad; galwedigaeth effeithiol; cyfiawnhad; a gogoneddiad: Rhuf. viii. 30. Rhagluniwyd y cyfiawnedigion i'r fendith hono cyn canu o ser y boreu eu blygain uwchben y ddaear hon. Ond cyfiawnhad ei hun a gymmer le pan gredo dyn. Penderfynodd Duw er tragywyddoldeb i'w holl saint sydd *yn awr yn y corff* gael eu gogoneddu, ond amlwg yw nad ydynt hwy etto wedi eu gogoneddu. Nad yw cyfiawnhad yn dragywyddol, eithr yn weithred a gymmer le mewn amser sydd sicr. Cyn credu yn Nghrist y mae hyd y nod yr etholedigion yn "blant digofaint megis ereill:" Eph. ii. 3. Y maent mewn sefyllfa o farwolaeth farnedigol, ac yn eu cyfiawnhad, ymsymudant o farwolaeth i fywyd:" 1 Ioan iii. 14. Y peth cyntaf yr argyhoeddir hwynt ohono gan yr Ysbryd Glân ydyw eu heuogrwydd a'u condemniad gan y gyfraith, ond pe wedi eu cyfiawnhau er tragywyddoldeb ni fyddai y cyfryw argyhoeddiadau yn ol gwirionedd, a byddai yr Ysbryd Glân yn dysgu iddynt anwiredd. Ffydd ydyw cyfrwng ein dygiad i sefyllfa o gyfiawnhad, oblegid una ffydd ni yn fywiol a phrofiadol â'r Jehofah Iesu, ein cyfiawnder. Gwna ni yn ngolwg cyfraith a chyfiawnder yn un ag Ef, fel yr ydym yn dyfod yn gyfreithiol gyfranog ag Ef yn yr oll a wnaeth ac a ddyoddefodd. Hyn yw y rheswm y dywedir am ffydd yn drawsenwol eu bod yn cyfiawnhau.

"Yn gwybod nad ydys yn cyfiawnhau dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd Iesu Grist (h.y. ffydd â Iesu Grist yn wrthddrych iddi), ninau hefyd a gredasom yn Nghrist Iesu, fel y'n cyfiawnheir trwy ffydd Crist, ac nid trwy weithredoedd y ddeddf:" Gal. ii. 16. "Sef cyfiawnder Duw, yr hwn sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb, ac ar bawb a gredant:" Rhuf. iii. 22. "A'r galon y credir i gyfiawnder:" x. 10. "Wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist:" v. 1 "Am hyny o ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras:" iv. 16. Y mae ei fod o ffydd yn sicrhau ei fod o ras, canys yn ei natur hanfodol, gras derbyniol yw ffydd yn unig. Edrycha am y cwbl yn Nghrist; cyfranoga o'i gyfiawnder Ef; ymwrthoda â hunan *(self)*, ac ymddirieda yn Emmanuel; y mae'n dyfod yn

ei dylanwad olaf yn ras ymarferol; oblegid gan ei bod yn derbyn Crist, yr hwn trwy Ei Ysbryd yw ein santeiddiad ni, pura y galon, gorchfyga y byd, a gweithia trwy gariad. Nid yw ffydd ei hun yn waith haeddiannol; er hyny, y mae yn wraidd pob ufudd-dod efengylaidd, yn gymmaint ag mai trwyddi hi y teimlwn gyntaf, y gallu cymhellol hwnw, yr hwn ydyw yr unig gymhelliad sydd gymmeradwy. Fel gras cyfiawnhaol, y mae ffydd heb weithredoedd o'r eiddi ei hun, yn derbyn Crist fel ein cyfiawnder, i'r galon. Y mae yn credu yn unig y dystiolaeth a ddug Duw yn Ei air i waith a theilyngdod Ei Fab.

8. *Felly, yn nghyfiawnhad pechadur, y mae ei weithredoedd ei hun yn cael eu bwrw ymaith yn gwbl.* Y mae hyn yn amlwg oddiwrth natur yr achos. Hyd nes y dysgo dyn garu Duw trwy ffydd yn Nghrist, rhaid iddo aros yn amddifad o elfenau blaenaf gwir santeiddrwydd. Heb ffydd ni ddichon garu; ac heb gariad bydd ei holl weithredoedd yn ddiwerth. Cadarnheir yr un peth yn y modd mwyaf pendant yn yr Ysgrythyr Santaidd. "Eithr i'r neb nid yw yn gweithio (i *deilyngu* bywyd), ond yn credu yn yr Hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol, ei ffydd ef gyfrifir yn gyfiawnder." Y "mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo *heb* weithredoedd." "Eithr y dawn sydd o gamweddau lawer i gyfiawnhad." "Heb ffydd anmhosibl yw rhyngu bodd Duw." "Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol Ei drugaredd yr achubodd Efe nyni:" Rhuf. iv. 5, 6; v. 16; Heb. xi. 6; Tit. iii. 5. mae yr adnodau hyn yn cau allan ein holl weithredoedd o bob math, seremoniol a moesol. Bwrir pob ymffrost heibio. Nis gall cyfiawnhad fod mewn rhan o weithredoedd, ac mewn rhan o ras. Y mae y ddwy drefn yn anorfodadwy annghydweddol. Rhaid i'n cymmeradwyaeth gyda Duw fod yn gwbl, naill a'i o weithredoedd neu o ras; a chan nas gall fod o weithredoedd, rhaid mai o ras y mae. "Ac os o ras, nid o weithredoedd mwyach: os amgen nid yw gras yn ras mwyach. Ac os o weithredoedd, nid yw o ras mwyach: os amgen, nid yw gweithred yn weithred mwyach:" Rhuf. xi. 6.

9. *Am hyny, y mae yn amlwg nad oes graddau o gyfiawnhad yn mhlith y cyfiawnedigion.* Y mae yr holl gyf-

iawnedigion yn *gyfartal* yn eu rhan yn ngwaith perffaith Iesu. "Y mae "cyfiawnder Duw, yr hwn sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb ac ar bawb a gredant; canys nid oes *gwahaniaeth* Oblegid pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw; a hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras Ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu:" Rhuf. iii. 22–24. A chan fod i'r cyfiawnedigion ran *gyfartal* yn nghyfiawnder Emmanuel, a chan mai hyn ydyw unig sylfaen haeddiannol cymmeradwyaeth, rhaid iddynt oll fod yn gyfartal gyfiawn yn ngolwg Duw. Y mae yr athrawiaeth Babyddol o raddau mewn cyfiawnhad yn groes i dystiolaeth yr Ysgrythyr ar y pwnc mawreddog hwn. Cynnyddwn mewn santeiddrwydd, neu gyfiawnder cyfranedig, ond nid mewn cyfiawnder cyfrifedig. Y mae gwaith Crist yn wastadol yr un, ac yn hwn saif yr holl gredinwyr yn berffaith yn ngolwg Duw. Y maent yn "gyflawn yn Nghrist," wedi eu perffeithio yn dragwyddol â'i un offrwm Ef,' a "thrwyddo Ef y mae iddynt ddyfodfa i'r gras hwn (cyfiawnhad) yn yr hwn y maent yn sefyll" Col. ii. 10; Heb. x. 14; Rhuf. v. 1, 2.

10. *Y sylfaen ar ba un y saif yr holl drefniant hwn ydyw y sefydliad hwnw o drugaredd ddwyfol trwy yr hwn y gwnaed y Mab Tragywyddol yn Gyfryngwr, Eiriolwr, a Meichnïydd i ni.* Y mae inffideliaid yn gwawdio yr holl drefn o gyfiawnhad trwy gyfiawnder un arall, fel yn groes i natur a rheswm. Addefwn fod y drefn hon uwchlaw natur a rheswm; gwadwn ei bod yn groes iddynt. Yn sicr, ni feiddia un dyn marwol ddywedyd mai syniadau *dynol* am yr hyn sydd resymol, a rhaid fod rheol y gweithrediad dwyfol mewn achos fel yr un ger ein bron. Pwy feiddia fel hyn osod terfyn i Sanct Israel? A fedrwn ni ddywedyd yn bendant beth fyddai yn groes i natur a rheswm mewn cwestiwn mor fawreddog ac ofnadwy â hwn? Ai ni all fod rhesymau pam y dylai, yn yr achos yma, fod cyfiawnder trwy ufudd-dod a theilyngdod un arall? Ac ai ni all fod y trefniad hwn yn anfeidrol deilwng o Jehofah? A ydym ni yn gwybod mewn gwirionedd, *natur a'r rheswm* o'r pwnc gorddwfn hwn? Ai nid yw gwybodaeth Duw yn anfeidrol uwchlaw ein holl amgyffredion ni? Ac ai ni allwn ddysgwyl fod Ei ffordd Ef *i ni* yn fynych yn y

dyfnder, a'i gamrau yn anhysbys? Digon i ni yw gwybod fod Jehofah wedi gosod i fyny sefydliad graslawn trwy ba un y cyfrifir teilyngdod Ei Fab i bawb credinwyr. Y prif reswm am y sefydliad yma ydyw Ei ewyllys benarglwyddol Ei hun. Ond fe ellir rhoddi rhesymau ereill, megis:—

*a. Cymhwysder anfeidrol ein Harglwydd i argymmeryd y gyfryw sefyllfa.* "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo Ef." "Gweddus oedd iddo Ef (y Tad) wrth ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio Tywysog eu hiachawdwriaeth hwy (fel cyfiawnhâwr) trwy ddyoddefiadau:" Col. i. 19; Heb. ii. 10. Mynega yr adnodau hyn addasrwydd anfeidrol y drefn yma o waredu yr euog. Y mae y trefniad yn mhob ystyr yn deilwng o'i Awdwr Dwyfol; ac y mae Iesu yn mhob peth yn gymhwys i fod yn Gyfiawnhâwr a Gwaredwr dynion colledig. Yn sicr, y mae y Duw-ddyn yn berson cymhwys i fod yn feichnïydd i ni i gyfiawnder tragywyddol a chyfraith ddwyfol.

*b. Addasrwydd canlynedig cyfiawnder Crist i fod yn sylfaen cyfiawnhad ereill.* Pe creadur yn unig a fuasai ein Harglwydd, buasai yr achos yn dra gwahanol; ni fuasai Ei ufudd-dod felly ond yn ddigonol i'w gyfiawnhau Ef Ei Hun. Ond yr oedd Efe "uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd:" Rhuf. ix. 5. Yr oedd uwchlaw pob cyfraith, oddieithr eiddo Ei natur a'i briodoleddau Ei Hun; a daeth o'i fodd yn ddyn fel y gallai osod Ei Hun "o dan y ddeddf" (Gal. iv. 4.) a dorasom ni, ac y gallai yn y modd hyn weithio allan gyfiawnder tragywyddol er ein cyfiawnhad ni. Gwna Ei ymddarostyngiad gwirfoddol ac arbwyllog hwn i ddeddf *drosom ni*, ufudd-dod y Gwaredwr yn berffaith ddigyffelyb yn ei gymmeriad, ac y mae yn un rheswm o'i gyfrifedigolrwydd. Yr un pryd y mae cyfansoddiad neillduol person ein Harglwydd yn argraffu mawredd anfeidrol ar yr oll a wnaeth ac a ddyoddefodd: fel yma y mae Ei gyfiawnder mor ogoneddus a haeddiannol fel y teilynga dros bawb credinwyr gyfiawnhad cyflawn gerbron Duw. Saif Ei ufudd-dod ar BEN EI HUN yn hanesiaeth y cyfanfyd; felly y mae rhesymu oddiwrth y deddfau a reoleiddiant deilyngdod gweithredwyr (*agents*) moesol cyffredin, at deilyngdod gwaith y

Gwaredwr, yn anysgrythyrol ac afresymol. Yr oedd elfen yn achos Ei gyfiawnder Ef na fodola mewn unrhyw achos arall.

*c. Y gogoniant a adlewyrcha y sefydliad graslawn yma ar gymmeriad a chyfraith Jehofah.* Wedi y cwbl y mae ysgrifenwyr Undodaidd wedi ddyweyd i'r gwrthwyneb, rhaid i ni ddal fod y trefniad hwn yn ymhelaethu i ogoniant Jehofah. Mawryga Ei holl gymmeriad; cymmoda yr holl briodoleddau dwyfol â chadwedigaeth dyn; cyssona hawliau a ymddangosant yn annghydgordiol yn yr un weithred ardderchog o "*gyfiawnhau yr annuwiol*:" Rhuf. iv. 5: arddengys *gyfiawnder* Duw yn maddeuant pechodau, fel pan y mae fwyaf trugarog, y mae fwyaf cyfiawn, iii. 25. Y mae y Barnwr Cyffredinol yn "gyfiawn, ac etto yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu:" adn. 26. Mawrha y sefydliad trugarog yma y gyfraith, a gwna hi yn anrhydeddus; canys yn ddiau fe dderbynia y llywodraeth ddwyfol hono fwy o ogoniant oddiwrth fywyd a dyoddefaint y Gair Ymgnawdoledig, nag a allai gael oddiwrth ufudd-dod cyffredinol byd dibechod, neu ddinystr cyffredinol byd gwrthryfelgar. Ni ddirwynodd *(rolled)* taranau Sinai erioed gyda'r fath ardderchogrwydd ag y gwnaethant ar Galfaria.

*ch. Cyfatebolrwydd y cyfryw sefydliad i'n hangenion ni.* O awr y cwymp daeth yn wirionedd cyffredinol, cymhwysiadol i bawb pechaduriaid, "na chyfiawnhëir un cnawd trwy weithredoedd y DDEDDF, (unrhyw ddeddf, naturiol neu ddadguddiedig):" Rhuf. iii. 20. "Cyflog pechod yw marwolaeth," vi. 23. "Pwy bynag a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl:" Iago ii. 10. Am hyny os oedd eneidiau i gael eu cadw o gwbl, trwy sefydliad trugarog o'r fath a ddadguddia yr efengyl, yn unig y gellid gwneyd hyny. "Crist, pan oeddym ni etto yn weiniaid (analluog i wneyd unrhyw iawn digonol am ein pechodau), mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol:" Rhuf. v. 5. Ein hangenrhaid ni oedd cyfleusdra Duw. Ceisia duwinyddiaeth Undodaidd yn wastad liniaru gerwinder y gyfraith ddwyfol ac ymhyfryda siarad am ewyllysgarwch Duw i faddeu i'w "*blant egwan*" ar eu hedifeirwch, ac heb aberth unrhyw ddirprwywr. Darfu i'r synwyrgall Andrew Fuller, fodd bynag, ddiddymu y gyf-

undrefn druenus hon yn ei "*Calvinistic and Socinian System Compared.*" Dyfynwn un neu ddau o'i ddywediadau rhagorol—"Os mai edifeirwch ac ufudd-dod didwyll yw y cwbl a ddylid eu gofyn gan ddynion yn eu sefyllfa bresenol, yna, dylai y gyfraith gael ei ffurfio felly, a chaniatâd i gael ei wneuthur ganddi am gyfeiliornad ac anmherffeithrwydd. Ond yna byddai yn canlyn, lle y *gwna* dynion edifarhâu, a lle y *maent* yn ddidwyll, nad oes dim cyfeiliornadau ac anmherffeithderau i'w caniatâu. Awgryma cyfeiliornadau ac anmherffeithderau fod cyfraith oddiwrth ba un y maent yn wyriadau; ond os nad ydym dan un ddeddf, oddieithr un a ganiatâ wyriadau, yna yr ydym mor santaidd ag y dylem fod, ac ni raid i ni wrth ddim maddeuant."

"Caffai llaesu cyfraith *ddrwg* yn wir, effaith da, a'i dileu effaith gwell; ond nid felly mewn perthynas ag un dda. Os ydyw y gyfraith ddwyfol yr hyn ddywed yr Ysgrythyrau ei bod, yn "santaidd, yn gyfiawn, ac yn dda," (Rhuf. vii. 12.), rhaid y byddai ei llaesu yn y gorchymmyn, neu hyd y nod ysgafnhau y gosb, heb rhyw lwybr i ddiogelu ei hanrhydedd, yn ddymchweliadol i drefn dda, a rhaid yw i'r ddyfais a ddadleua am y cyfryw laesiad fod yn anffafriol i santeiddrwydd, cyfiawnder, a daioni:"—*Complete Works, p.* 64, 65.

*d. Yr undeb a fodola rhwng Crist a'i bobl.* Y mae gan Dr. Pye Smith, y sylwadau rhagorol a ganlyn ar y pwynt yma:—"Y mae yn rheidiol hefyd i'r cyfryw Waredydd feddu perthynas o undeb a meddiant â'r rhai y derbynir Ei gyfiawnder ar eu rhan, yr hyn rydd sylfaen gyfiawn a rhesymol dros gyfrifiad Ei deilyngdod iddynt: mewn geiriau ereill, fel y meddont rhan gyfartal ynddo."

"Tra yn addef yr ammodau hyny yn yr achos a dybiwyd, byddai yn canlyn na fyddai cyfryngiad y cyfiawnder haeddiannol perffaith ac anfeidrol hwn, a wnaed gan Berson Dwyfol a feddiannai ar yr un pryd gyfuniad rhan gyfiawn a meddiant â'r cyfryw ar rhan pa rhai y cyfrynga, yn drefn draws-arglwyddol, afresymol, ddall, ac anwahaniaethol; ond byddai yn drefniad seiliedig mewn rheswm a natur, *cyffelyb i amryw ffeithiau amlwg yn llywodraeth naturiol Duw*, a weinyddir mewn doethineb a chyfiawnder, ac ydynt

yn effeithio y dybenion rhagoraf a mwyaf dymunol."—*First Lines, p.* 596. Y cyfryw ymddengys i ni fod y sylfeini ar ba rai, yn gystal ag ar ewyllys da Duw, y gorphwysa y a sefydliad trugarog yma.

11. *Gweithred o rhad ras yw Cyfiawnhad.* Gwrthddadleuir yn erbyn y gyfundrefn efengylaidd, "nad yw yn caniatau dim lle i ymarferiad o rhad drugaredd yn maddeuant pechadur, gan y tybir fod holl hawliau y gyfraith wedi eu cyfarfod gan ein dirprwywr, ac yn y cyfryw achos y rhaid fod cadwedigaeth yn weithred o gyfiawnder yn unig. Ymgyfyd yr wrthddadl hon oddiar olygiad unochrog o'r cwestiwn. Y mae Duw yn ddiammheu yn gyfiawn wrth gyfiawnhau yr annuwiol; ac yn ffyddlawn a chyfiawn wrth faddeu ein pechodau ni. Ond y mae yr un pryd yn anfeidrol drugarog yn y trefniant. Gwelir Ei gyfawnder yn y ffaith fod Iesu wedi Ei wneuthur yn "bechod," ac yn "felldith" drosom ni. Ond ymddengys Ei drugaredd hefyd yn mhob cyfran o'r hanes rhyfeddol; yn y rhoddiad o'i uniganedig Fab; yn nghyfrifiad ein pechodau ni ar ein Dirprwywr; yn ein dygiad i ymddiried yn nghyfiawnder yr efengyl yr hwn unwaith a ddirmygasom; yn nghyfrifiad y cyfiawnder hwnw i ni er ein cyfiawnhad; ac yn ein cymmeradwyaeth *heb unrhyw waith o'r eiddom ni* o unrhyw fath ar sail yr ufudd-dod diprwyol hyny. Fel yma yn ngymmeradwyaeth pechadur, "trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant, cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant." I ni y mae o'r dechreu i'r diwedd yn weithred o rhad ras; i'n Harglwydd Dwyfol y mae yn daledigaeth gyfiawn am Ei lafur a'i drallod. Ein cadwedigaeth ni yw y "llawenydd a osodwyd iddo." Yn ein cyfiawnhad a'n santeiddhad ni, y mae yn "gweled o lafur Ei enaid, ac Efe a ddiwellir." Gosodir allan yn fynych yn y gyfrol Santaidd, raslonrwydd cyfiawnhad y pechadur :—"Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol Ei drugaredd yr achubodd Efe nyni." "Fel, gwedi ein cyfiawnhau trwy Ei ras Ef, y'n gwneid yn etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol." "A hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy Ei ras Ef; trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu." "Fel megis y teyrnasodd pechod i farwolaeth, felly y teyrnasai gras trwy gyfiawnder, i fywyd tragywyddol, trwy

Iesu Grist ein Harglwydd:" Titus iii. 5, 7; Rhuf. iii. 24; v. 21. Felly, "teyrnasa gras" trwy y cwbl, er mai trwy gyfiawnder y gwna hyny.

12. *Y mae cyfiawnhad yn anwahanadwy unedig â santeiddhad.* Y mae y naill o angenrheidrwydd yn tywys i'r llall. Y mae Crist yn dyfod atom gyda y fendith o gyfiawnhad yn Ei ddeheulaw, a santeiddhad yn Ei aswy; ac nid yw byth yn rhoddi y naill heb roddi y llall hefyd. Y mae y ffydd sydd yn cyfiawnhau yn offerynol, yn santeiddio yn offerynol hefyd. Y mae yn "puro y galon," yn "gorchfygu y byd," ac yn "gweithio trwy gariad." Nid yw ein gweithredoedd da yn sail ein cymmeradwyaeth gyda Duw, ond y maent o angenrheidrwydd ei ffrwyth a'i brawf. Y dyn sydd yn byw mewn pechod, nid oes iddo "na rhan na chyfran yn y mater."

Dyma yw gwir gyssoniad Paul a Iago. Edrycha y ddau Apostol ar yr un athrawiaeth oddiar dir gwahanol. Ymresyma Paul fwyaf cyffredin ac yn y modd difrifolaf ag athrawon Iuddewig y ddeddf yn ei ddydd, canys hwy oeddynt ffynonell y blinder mwyaf iddo ef yn ei lafur yn mhlith y cenedloedd. Ymddadleua Iago ag Antinomiaid y cyfnod hyny, ac erys bron yn hollol ar agwedd ymarferol y pwnc mawr yma. Y mae y rhan fwyaf o'n dadleuon diweddar mor hen â meddwl dynol. Gellir rhoddi rhediad y rhan ddyrus yn Iago yn yr aralleiriad rhydd canlynol.

"Pa fudd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd ac heb fod ganddo weithredoedd? A ddichon *(y gyfryw)* ffydd ei gadw ef? Eithr os bydd brawd neu chwaer yn noeth, ac mewn eisieu beunyddiol ymborth; a dywedyd o un o honoch wrthynt, Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymddigonwch; etto heb roddi iddynt angenrheidiau y corph; pa les fydd? Felly ffydd hefyd, oni fydd ganddi weithredoedd, marw ydyw, a hi yn unig. Eithr rhyw un *(da)* a ddywed *(fel hyn wrth bob proffeswr penrhydd felly)*, Tydi *(a ddywedi fod)* genyt ffydd, ond y mae genyf finau weithredoedd *(hefyd)*; dangos i mi dy ffydd di heb weithredoedd *(os myni)*; ond myfi wrth fy ngweithredoedd a ddangosaf i ti fy ffydd inau. Yr wyt ti yn credu mai un Duw sydd; da yr wyt yn gwneuthur. *(Ond)* y

mae y cythreuliaid hefyd yn credu, ac yn crynu! Eithr a fyni di wybod, O ddyn ofer, am ffydd heb weithredoedd, mai marw yw? Abraham ein tad ni, onid o *(ffydd gyda)* weithredoedd y cyfiawnhawyd ef, pan offrymodd efe Isaac ei fab ar yr allor? Ti a weli fod ffydd yn cydweithio â'i weithredoedd ef, a thrwy weithredoedd wedi ei pherffeithio *(yn ei phrawf)*. A chyflawnwyd yr Ysgrythyr *(o newydd)* yr hon sydd yn dywedyd, Credodd Abraham i Dduw, a chyfrïfwyd iddo yn gyfiawnder: a Chyfaill Duw y galwyd ef. Chwi a welwch gan hyny mai o *(ffydd a fedda)* weithredoedd y cyfiawnhëir dyn, ac nid o ffydd yn unig. Yr un ffunud hefyd, Rahab y buttain, onid o *(ffydd gyda)* weithredoedd y cyfiawnhawyd hi, pan dderbyniodd hi y cenhadau, a'u danfon ymaith ffordd arall? Canys megis y mae y corph heb yr ysbryd yn farw, felly hefyd ffydd heb weithredoedd, marw yw: Iago ii. 14–26.

Y mae arddull Iago yn hanfodol fyr, aflyfn, a synwyrlawn. Nid yw byth yn aros i egluro pethau ydynt yn hunan-brofedig. Eglur ydyw, mai ei feddwl yw, fod y dyn a gymmer arno fod yn meddu ffydd gyfiawnhaol, ond yn byw yr un pryd mewn pechod, yn ddyhiryn ac yn dwyïlwr. Darnodion cywir a helaethfawr o *dermau*, nid yw yn eu rhoddi i ni; ond y mae y pwynt yr amcana ato trwy yr Ysbryd yn amlwg ddigon.

## PENNOD X.

### MABWYSIAD.

Y MAE yr Ysgrythyrau yn gosod allan y cadwedigion fel plant mabwysiedig Duw. Y mae mabwysiad i deulu Jehofah yn fraint a fwynha pawb credinwyr yn y bywyd hwn, ac yn mha un y cadarnhëir hwynt yn dragywyddol yn y bywyd dyfodol. Ond beth yw mabwysiad? a pha rai ydynt ei ragorfreintiau?

1. *O'r braidd y gellir ystyried mabwysiad yn fendith wahanol i ailenedigaeth.* Y mae y ddwy yn anwahanadwy gyssylltiedig, a gellir eu hystyried mewn gwirionedd, yr un weithred o drugaredd ddwyfol yn cael ei golygu dan *wahanol agweddion.* Y mae pawb ailenedig yn fabwysiedig, a phawb mabwysiedig yn ailenedig. Darlunia ail-

enedigaeth y cyfnewidiad *natur* cynnwysedig yn y symudiad o'r byd i deulu Duw; a mabwysiad, y cyfnewidiad *sefyllfa* a *pherthynas* a effeithia. Cyfeiria y blaenaf at y cyfnewidiad mewnol ac ysbrydol a fwynheir; yr olaf at y iawnderau a'r rhagorfreintiau mabaidd a ddeilliant ohono. Y mae a fyno y naill â chymmeriad, a'r llall â sefyllfa. Ond cymmer y ddwy weithred le yr un amser, os yn wir y gellir eu galw yn ddwy weithred. Y fynyd y genir dyn drachefn trwy ras penarglwyddol Ysbryd Duw, ymsymuda o farwolaeth i fywyd, a breintir ef â holl ragorfreintiau a dysgwyliadau meibion Duw. A chan gynted ag y gwneir ef yn *blentyn*, y mae yn "etifedd i Dduw, a chyd-etifedd â Christ:" Rhuf. viii. 17. Etto, gan fod Ysbryd pob Doethineb wedi dadguddio yn eglur a phendant yr *agwedd* hon yn sefyllfa dyn cadwedig, gwedda i ni beidio ei *phasio* heb ymchwiliad cyflawn.

2. *Y mae Mabwysiad fel holl fendithion ereill y cyfammod newydd, yn ffrwyth arfaeth dragywyddol a phenarglwyddol y Tad.* Cadarnheir hyn yn arbenig yn yr adnodau nodedig a ganlyn:—"Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist. Megis yr etholodd Efe ni ynddo Ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn santaidd ac yn ddifeius ger Ei fron Ef mewn cariad. Wedi iddo ein rhagluniaethu ni i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo Ei Hun, yn ol boddlonrwydd Ei ewyllys Ef; er mawl gogoniat Ei ras Ef, trwy yr hwn y gwnaeth ni yn gymmeradwy yn yr Anwylyd:" Eph. i. 3—6. Nid yw y dystiolaeth hon i dragywyddolrwydd a phenarglwyddiaeth bwriad Jehofah i fabwysiadu yn gofyn dim eglurhad. Saif yn oleufawr yn ei goleuni ei hun. Ie, y mae cynghor Duw yn ddiau, yn ol yr hwn, yn nghyflawnder yr amser, y symudir yr etholedigion i deulu y rhai cadwedig a santaidd, yn henach nâ'r ddaear, ac nâ sêr y boreu; ac mor benarglwyddol â'r gorchymmyn (*fiat*)—"Bydded goleuni, a goleuni a fu." Y mae "er mawl gogoniant Ei ras Ef."

3. *Y mae Mabwysiad yn ffrwyth gwaith prynedigol ein Harglwydd.* "Ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw Ei Fab, wedi Ei wneuthur o wraig, wedi

Ei wneuthur dan y ddeddf; fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf, fel y derbyniem y mabwysiad:" Gal. iv. 4, 5. Daeth Crist i agoryd y ffordd trwy yr hon y gellid rhoddi y fendith yma i'r etholedigion, yn gysson â chymmeriad a chyfraith Duw; i'n *prynu* i'r meddiant o "fabwysiad."

Trwy Ei ymgnawdoliad, Ei ufudd-dod a'i farwolaeth, daeth yn Ben Ysbrydol Ei deulu. Ennillodd fel yma yr hawl i roddi y fendith o fabwysiad i bawb a ddeuant yn fywydol un ag Ef trwy ffydd. Efe ydyw *cynllun* holl deulu y credinwyr. "Oblegid y rhai a ragwybu Jehofah, a ragluniodd Efe hefyd, i fod yn un ffurf â delw Ei Fab Ef; fel y byddai Efe yn gyntaf-anedig (benaeth,—*prôtòtokos*) yn mhlith brodyr lawer:" Rhuf. viii. 29. Y mae holl aelodau y teulu hwn i ddwyn delw eu brawd hynaf. "O'r (*èx*, yn Nghymmraeg dylem ddweyd *ar*, neu *ar ol*.) Hwn yr enwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear:" Eph. iii. 15. Gelwir pawb credinwyr yn y nef ac ar y ddaear ar enw eu Pen gogoneddus. Y maent yn Gristionogion, am y perthynant i Grist, wedi eu cydffurfio â'i ddelw, ac wedi eu cyflwyno i'w ogoniant.

4. *Am hyny, cymmer mabwysiad le y mynyd y cofleidia y pechadur Grist, drwy ffydd a gynnyrchwyd gan yr Ysbryd Glân.* Gweithred yw mabwysiad ei hun, nid *arfaethiad*; ac ni ellir am hyny, gyda phriodoldeb ddyweyd ei fod er tragywyddoldeb. Gallem yr un cystal ddyweyd fod yr etholedigion wedi eu *haileni* er tragywyddoldeb, a dyweyd eu bod wedi eu *mabwysiadu* felly. Yr oedd y bwriad i fabwysiadu fel y gwelsom er tragywyddoldeb, y mabwysiad ei hun a gymmer le pan dderbynio yr enaid Grist trwy ffydd. Y mae y rhagorfraint uchel hon yn llaw y Cyfryngwr. Derbyniwn hi, a phob bendith ysbrydol arall pan y cofleidiwn Ef. Y bendithion hyn ydynt y "cyflawnder" holl-ddigonol hwnw a "ryngodd bodd i'r Tad drigo ynddo Ef:" Col. i. 19. Pan y rhoddo Iesu Ei Hun i ni, y derbyniwn y mabwysiad sydd yn Ei law. "Cynnifer ag a'i derbyniasant Ef, Efe a roddes iddynt allu (*èxousia* y fraint) i fod (*genésthai*) yn feibion i Dduw:" Ioan i. 12. "Chwi oll ydych blant i Dduw trwy (*dia*) ffydd yn Nghrist Iesu:" Gal. iii. 26. "Pob un ar sydd yn credu mai Iesu yw y Crist, o Dduw y ganed ef:" 1

Ioan v. i. "Os y Mab a'ch rhyddhâ chwi, rhyddion fyddwch yn wir:" Ioan viii. 36.

Y mae rhai dynion da yn cymmysgu arfaeth â mabwysiad. Y mae hyn wedi eu harwain i lefaru am yr olaf fel pe yn dragywyddol. Ond y mae yn amlwg fod y ddau yn fendithion gwahanol. Yr *achos* yw y naill, yr *effaith* yw y llall. Bwriad yw y naill, gweithred yw y llall. Yr ydym "wedi ein rhagluniaethu *i* (*eis*) fabwysiad," ac wedi ein hethol i dderbyn y fendith: ond y mae y fendith yn Nghrist, a mwynheir hi yn wirioneddol pan y ffown ato Ef am gadwedigaeth.

5. *Y mae mabwysiad, a llefaru yn gywir, yn derm cyffredinol, deilliedig o arferion y cenedloedd gynt.* Yr oedd y weithred yn un gyfreithiol. Cadarnheid hi bob amser yn ddifrifol. Trwy y weithred hon symudid person a anwyd mewn un teulu i deulu arall, a breintid ef â'i holl iawnderau a'i rhagorfreintiau. Hyn oedd yr achos pan fyddai y mabwysiad yn gyflawn. Y mae y *term* ei hun a'r weithred yn cael eu darnodi a'u dysgrifio yn dda, yn ystyr lythyrenol y gair Groeg. *Gosod fel mab* un yr hwn nad yw felly trwy enedigaeth ydyw. Y cyfeiriadau yn y Testament Newydd ydynt gan mwyaf at yr arferion o fabwysiad a fodolent y pryd hyny yn mhlith y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, ac yn hytrach at yr olaf nâ'r blaenaf: canys yn mhlith y Groegiaid mwyaf gwareiddiedig yr oedd mabwysiad yn llai arferedig nag yn mhlith y Rhufeiniaid."—*Kitto's Cyclo. v. I. p.* 73. Y mae plant Duw wrth natur yn blant digofaint megis ereill. Ond gras mabwysiadol a'u symuda hwynt o deulu Satan, ac a'u gesyd yn nheulu y Gwaredwr. "Gwaredir hwynt allan o feddiant y tywyllwch, a symudir hwynt i deyrnas anwyl Fab Duw:" Col. i. 13. Rhoddir iddynt y "fraint i fod yn feibion i Dduw." Y mae ganddynt y prawf gorfawr hwn o gariad tuag atynt, eu bod yn cael eu galw yn "feibion i Dduw:" Ioan i. 12; 1 Ioan iii. 1. A chadarnheir y cyfnewidiad yn ddifrifol yn y nef ac ar y ddaear. Y mae cyfraith santaidd Duw a'i briodoleddau dwyfol yn cymmeradwyo y trefniant, canys gogoneddir hwynt yn anfeidrol gan y prynedigaeth trwy ba un y derbyniwn y mabwysiad: gwel Gal. iv. 4, 5. Symudwyd pob rhwystr cyfreithiol ar ffordd y weith-

red hon o ffafr benarglwyddol pan lefarodd ein Gwaredwr "Gorphenwyd," y gogwyddodd Ei ben, ac y bu farw!

6. *Profir mabwysiad gan y meddiant o Ysbryd mabwysiad.* Meddianna holl feibion a merched mabwysiedig Duw, i raddau mwy neu lai, yr Ysbryd hwn. Wrth Ysbryd y mabwysiad y deallwn Ysbryd Glân Duw yn tystiolaethu yn eneidiau credinwyr i wirionedd eu maboliaeth. Efe ydyw Ysbryd y mabwysiad, am mai Efe sydd yn cynnyrchu ysbryd mabaidd ynom, ac yn ein dysgu i lefain, Abba, Dad. "Ni all neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu, eithr trwy yr Ysbryd Glân," Cor. xii. 3; ac am hyny, ni all neb alw Duw yn Dduw cyfammod a Thad yn Nghrist, ond trwy yr un Ysbryd. Yr holl rasusau a brofant ein mabwysiad, a weithredir ynom trwy Ei ddylanwadau Ef. Argraffa ar ein cymmeriadau nodweddion y ddelw ddwyfol, ysbrydola ni ag ymddiried mabaidd, ac â pharch a chariad mabaidd, a galluoga ni i deimlo ffaith ogoneddus ein symudiad i deulu prynedig Jehofah. Felly y mae yr Ysbryd Glân, yn Ei weithrediadau mwyaf ar eneidiau credinwyr, yn arbenigol yn Ysbryd y mabwysiad. Ymddengys hyn yn fwy cyflawn yn ein pennod nesaf ar SANTEIDDHAD.

Darlunir yr Ysbryd Glân, fel Ysbryd y mabwysiad fel y canlyn:—"Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw. Canys ni dderbyniasoch ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn; eithr derbyniasoch Ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain Abba Dad. Y mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw:" Rhuf. viii. 14 16. Dysgwn oddiwrth yr adnodau hyn, fod gan y rhai a waredir oddiwrth gaethiwed deddfol, ac a arweinir gan yr Ysbryd bendigedig i lwybrau ufudd-dod santaidd, a chymmundeb mabaidd â Duw, yn y ffeithiau yma, brawf o'u maboliaeth, â pha un y mae eu hymwybyddiaeth oleuedig yn foddlawn. Ac y mae yn y geiriau hyn, hefyd, gyfeiriad prydferth at y ffaith, nad yw y rhagorfraint hon yn gyfyngedig i ddynion o unrhyw genedl neillduol, eithr y mwynhëir hi gan *gredinwyr pob gwlad dan y nefoedd.* "Yr ydym yn llefain Abba (*abba-áv* ffurf estynedig yr Hebraeg *ab*) Dad (*patèr*, y gair Groeg am dad); h.y.

y mae i'r *Iuddew* a'r *Cenedlddyn* y fraint o annerch Duw fel hyn. Yn mhob iaith a thafodiaith, annerchir Jehofah dan yr enw hwn. Gall pawb credinwyr, pa iaith bynag a ddefnyddiant alw Duw eu TAD yn Nghrist! Defnyddiodd ein Harglwydd Ei Hun yr ad-ddywediad yma o'r gair, yn iaith yr Iuddew a'r Cenedlddyn yn Ei ing yn yr ardd. "Abba, Dad, pob peth sydd bosibl i Ti," &c. Fel yma, fel Gwaredwr yr Iuddew a'r Groegwr, yr annerchodd "Ei Dduw Ef a'n Duw ninau, Ei Dad Ef a'n Tad ninau," yn iaith y ddau: Marc xiv. 36; Ioan xx. 17.

"Ac o herwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd Duw Ysbryd Ei Fab i'ch calonau chwi, yn llefain Abba, Dad:" Gal. iv. 6. Dyfynir yr adnod hon weithiau i brofi tragywyddolrwydd mabwysiad. Amlwg yw fodd bynag, nad yw yn dysgu athrawiaeth o'r fath. Yn unig, cadarnha fod y credinwyr yn Galatia am eu bod yn feibion Duw, gan hyny yn meddu Ysbryd y mabwysiad. Ni ddywed y frawddeg, "*o herwydd eich bod yn feibion*," ddim o barthed i'r *modd* y daethant felly. Cyfeiria yn unig at y *ffaith* heb egluro *pa fodd* y dygwyd hyny oddiamgylch. Ond penderfyna y cyd-destun y pwynt hyny, canys hysbysa ni fod Cristionogion Galatia wedi derbyn y mabwysiad trwy waith prynedigol ein Harglwydd Iesu Grist. Ac yn y bennod flaenorol dywed yr Apostol yn bendant:—"Chwi oll ydych blant i Dduw trwy (*dia*) ffydd yn Nghrist Iesu:" Gal. iii. 26. Pan dderbyniwn ni y Gwaredwr, yr ydym yn cael y rhagorfraint ogoneddus hon—"dyfod yn feibion i Dduw:" Ioan i. 12.

7 *Dilynir mabwysiad gan fwynhad o ragorfreintiau lawer, a phwysig. Mwynha holl feibion a merched mabwysiedig Jehofah y bendithion canlynol:—*

*a. Perthynas agos â Duw.* Y mae y berthynas a hanfoda rhyngddynt a Jehofah yn agosach nâ'r un hono a ddeillia o *greadigaeth.* Fel *dynion,* y mae i bawb bodau dynol "un Tad," ac y maent yn "hiliogaeth Duw:" Mal. ii. 10; Act. xvii. 29. Ond y mae y berthynas dadol a hanfoda rhwng Jehofah a chredinwyr yn Nghrist yn neillduol ac arbenig. Dygir hwynt yn agosach at Dduw nag hyd y nod angelion y nefoedd: Dad. v. 11. Y mae y mabwysiad hwn yn fwy gogoneddus nâ'r un hwnw i ba

un y derbynid yr Iuddewon *fel y cyfryw*, "y rhai sydd Israeliaid, eiddo y rhai yw y mabwysiad:" Rhuf. ix. 4; h.y. neillduad *cenedlaethol* i'r mwynhad o berthynas neillduol â Duw. Mabwysiad efengylaidd sydd berthynas "NAD YW O WAED," h. y. nid o ddisgyniad cnawdol o rhieni neillduol Ioan i. 13. Y mae yn ffrwyth genedigaeth oddi uchod. Y mae yn un o'r bendithion a gyfrana Mab Duw i bawb ydynt yn fywydol un ag Ef.

*b. Y mwynhad rhagoraf o'r ffafr ddwyfol.* Nid oes neb o greaduriaid Duw mor ddedwydd a'i blant mabwysiedig o'r hil ddynol. Mewn perlewyg o syndod santaidd at orddigonedd y daioni dwyfol tuag at y fath wrthryfelwyr prynedig, y dywed yr Apostol anwyl, "GWELWCH pa fath gariad a roes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn feibion i Dduw: Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn:" 1 Ioan iii. 1, 2. Llefara yr Hollalluog Ei hun am y cyfryw bersonau fel *tlysau y cyfanfyd*, "A byddant eiddof Fi, medd Arglwydd y lluoedd y dydd y gwnelwyf briodoledd (trysor neillduol, neu dlysau,"—Margin): Mal. iii. 17. Pentyra eu Tad nefol arnynt hwy arwyddion o'i ffafr neillduol. Portha hwynt â'i law, tywysa hwynt â'i gynghor, dysga hwynt trwy Ei Ysbryd, a diogela hwynt trwy Ei allu Ei hun. Gweina engyl iddynt, a gwneir i bob peth gydweithio er eu daioni.

*c. Dyfodfa wastadol i bresenoldeb eu Tad.* "Trwy Iesu y mae iddynt ddyfodfa mewn un Ysbryd at y Tad:" Eph. ii. 18. Yn eu dynesiadau at yr orsedd Dragywyddol llefant Abba, Dad. Ymneshant "fel plant anwyl." "Y mae iddynt hyfdra, a dyfodfa mewn hyder trwy ffydd Iesu:" Eph. iii. 12. Gallant bob amser "fyned at orseddfaingc y gras:" Heb. iv. 16. Gallant dywallt eu calon yn ddiattal wrth draed eu Tad. Nid oes ganddynt ddim dirgelion ger Ei fron Ef. Dywedant wrtho holl gynnwysiad eu calon. Medrant ddangos y swmbwl a ddoluria ddirgelaf a dyfnaf yn eu mynwes o flaen Ei lygad. Y mae cariad Tad yn bwrw allan ofn, ac yn eu gwroli hwynt.

*ch. Cydffurfiad â delw Duw yn Nghrist.* Braint holl blant Jehofah ydyw cael eu gwneuthur yn debyg i'w Tad. "Oblegid y rhai a ragwybu, a ragluniodd Efe i fod yn

un ffurf â delw Ei Fab Ef, fel y byddai Efe yn gyntafanedig yn mhlith brodyr lawer:" Rhuf. viii 29. Ac y mae y Mab yn "ddisgleirdeb gogoniant y Tad, ac yn wir lun Ei berson Ef:" Heb. i. 3. Felly trwy fod yn un ffurf â delw y Mab, dygwn ddelw y Tad. Gwelwn y ddelw yma *hyd y nod yn awr.* Canys "pob un aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod, oblegid y mae Ei had ef yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu, am ei eni ef o Dduw:" 1 Ioan iii. 9. Ond nid yw cydffurfiad y credadyn â Duw yn y bywyd hwn ond anmherffaith, "ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso Efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn Ei weled Ef megis ag y mae:" iii. 2. Yn ei sefyllfa derfynol bydd i debygolrwydd y sant i Grist ymestyn i'w gorff yr un cystal â'r enaid. Am hyny, "ninau y rhai sydd genym flaenffrwyth yr Ysbryd; yr ydym ninau ein hunain hefyd yn ocheineidio ynom ein hunain, gan ddysgwyl y *mabwysiad,* sef prynedigaeth ein corph," pryd y cyfnewidir ein corph gwael ni fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorph gogoneddus Ef:" Rhuf. viii. 23; Phil. iii. 21. Ac yna bydd *dadguddiad* y mabwysiad yn gyflawn, a dwy elfen ein dynoliaeth brynedig wedi eu gwneuthur yn gyffelyb i ddynoliaeth ein Harglwydd.

"Yn Rhuf. viii. 23, *uìothesian apekdechômenoi,* 'gan ddysgwyl y mabwysiad,' ymddengys y gair blaenaf (*uìothesian,* mabwysiad) fod yn cael ei ddefnyddio mewn ystyr wahanol i'r hyn a ddug yn *adnod* 15*fed;* ac fod yn golygu *perffeithiad* y weithred a nodir yno, yn mha olygiad y tybir ei fod yn gymhwysiadol at y seremoni ddyblyg yn mhlith y Rhufeiniaid. Yr oedd y *naill* yn weithred neillduol rhwng y partïon; ac os nad oedd y person a fabwysiedid eisoes yn gaethwas i'r mabwysiadwr, yr oedd y trefniad hwn yn cynnwys ei *bryniad oddiwrth ei rieni,* pan yn alluadwy. Yn y dull yma y prynwyd Caius a Lucius oddiwrth eu tad Agrippa cyn eu mabwysiadu gan Augustus. *Y llall* ydoedd y gydnabyddiaeth gyhoeddus o'r weithred ar ran y mabwysiadwr, pryd y cydnabyddid ac y cyhoeddid y person mabwysiedig yn ddifrifol fel ei fab. Rhaid fod grym a phriodoldeb y cyfryw gyfeiriad mewn Epistol at y Rhufeiniaid yn dra sicr. *Kitto's Bib. Cyclo. v. I. p.* 75.

*d, Etifeddiaeth ogoneddus.* Holl blant mabwysiedig Duw ydynt Ei etifeddion. Nid i rai y rhoddir yr etifeddiaeth, eithr i bawb. Canys os "ydym blant, yna etifeddion; etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ:" Rhuf. viii. 17. Yr unig hawlfraint o gyntafanedigaeth yn nheulu y prynedigion, ydyw hono a wna y Gwaredwr y cyntafanedig (benaeth) yn mhlith brodyr lawer, yn etifedd holl fendithion gras a chadwedigaeth, a'r holl Eglwys yn "gyd-etifeddion ag ef" o'r etifeddiaeth fawr hon. Y mae *Pen* y teulu yn etifeddu y deyrnas, a phob aelod o'r teulu yn Ei hetifeddu *ynddo Ef.* "Y mae pob peth yn eiddoch chwi; a chwithau yn eiddo Crist; a Christ yn eiddo Duw:" 1 Cor. iii. 21–23. Yn Nghrist Iesu y maent hwy wedi cael etifeddiaeth: Eph. i. 11. Ac, â'r etifeddiaeth yma wedi ei phenderfynu i bawb, a phob un ohonynt, y mae y rhai ydynt etto yn y corff yn cael eu "gwneuthur yn GYMHWYS i gael rhan o'r etifeddiaeth y mae y saint yn y goleuni eisoes wedi ei derbyn: Col. i 12. Nid yw ond *un* teulu, pa un bynag ai yn y nef ai ar y ddaear y ceir ei aelodau: Eph. iii. 15. Y mae yr etifeddiaeth yn eiddo pob un ohonynt, pa un bynag a ydynt mewn gwir feddiant ohoni, neu yn dysgwyl clywed llef eu brawd hynaf yn dywedyd, "Ewch i mewn i lawenydd eich Harglwydd." Y maent oll wedi eu "hadgenedlu i etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd iddynt:" 1 Pedr i. 4.

---

## PENNOD XI.

### SANTEIDDHAD.

YN nesaf yn nhrefn dadblygiad y saif y fendith o santeiddhad.

1. *Wrth santeiddhad y deallir, naill ai y gallu effeithiol trwy yr hwn y santeiddir y credinwyr, neu ynte y sefyllfa o santeiddrwydd.* Yn yr ystyr flaenaf, defnyddir ef yn ffugyrol, yr achos yn cael ei roddi am yr effaith; yn yr olaf, arddengys y sefyllfa y mae gras Duw, yr achos, yn ei chynnyrchu. Yn yr ystyr olaf y defnyddir y gair fwyaf cyffredin yn yr Ysgrythyr Santaidd, ac yn yr ystyr yma

y cawn ei ddefnyddio yn y bennod hon. Y meddylddrych gwreiddiol a gyflwynir gan y *termau* a ddefnyddir yn yr Hen Destament a'r Newydd i ddysgrifio y fendith hon, ydyw *neillduad o wasanaeth cyffredin i rhyw ddyben dwyfol.* Yn y modd hwn y santeiddid (neillduid) y Lefiaiaid i fod yn offeiriaid, a holl wisgoedd a dodrefn addoliadol y deml oeddynt santaidd i'r Arglwydd. Yn y modd hwn hefyd, y santeiddiodd (cyssegrodd) y Cyfryngwr Ei hun i fod yn "iawn dros ein pechodau ni:" Ioan xv. 11, 19. Santeiddhad yn ddechreuol sydd gyflwyniad i wasanaeth Jehofah. Fel y cymhwysir ef at ddyn, rhaid deall y *term*, fodd bynag, yn gysson â'i ddealltwriaeth, ei gyfrifoldeb, a'i lygredd naturiol. Yn y cyfryw achos, mae yn sicr ei fod yn dysgrifio *cyfnewidiad moesol,* trwy yr hwn y purir holl gynneddfau yr enaid a'r galluoedd corfforol. Trwy gyfnewidiad trylwyr y galon, a darostyngiad yr enaid i Dduw, yn unig y gellir gwneuthur dyn yn santaidd. Yr ymdebygiad graddol hwn mewn meddwl, cymmeriad, a bywyd i ewyllys a delw Jehofah, ydyw yr hyn a feddyliwn wrth santeiddhad. "Ymadnewyddiad ysbryd ein meddwl" ydyw. "Rhoddi ein aelodau yn weision i gyfiawnder, i santeiddrwydd." Bod "wedi ein rhyddhau oddiwrth bechod, a'n gwneuthur yn weision i Dduw, a chael ein ffrwyth yn santeiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragwyddol:" Eph. iv. 23; Rhuf. iv. 19, 22.

Santeiddrwydd gweithredwyr moesol ydyw cydffurfiad eu natur, eu cymmeriad a'u hymarweddiad â chyfraith eu Gwneuthurwr; a santeiddhad ydyw cynnyrchiad y cydffurfiad hwn. "Canys hyn yw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi." "Canys ni alwodd Duw nyni i aflendid, ond i sancteiddrwydd:" 1 Thess. iv. 3, 7. Santeiddrwydd Jehofah yw y *rheswm* pam y dylem ni fod yn santaidd, "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf Fi:" 1 Pedr i. 16. Y *cynllun* i ba un y dylai ein santeiddrwydd ni fod yn debyg: "Byddwch chwi gan hyny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith:" Matt. v. 48. "Megis y mae y neb a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd yn sanctaidd yn mhob ymarweddiad:" 1 Pedr i. 15. Fel yma, perffeithrwydd anfeidrol cymmeriad Jehofah yw *cymhellydd* a *rheol* ein

santeiddhad. Dylem fod yn santaidd *am* fod Duw yn santaidd, ac *megis* y mae yn santaidd.

2. *Y mae santeiddhad yn ffrwyth arfaethiad penarglwyddol a graslawn y Tad mewn etholedigaeth.* I'r gwirionedd yma dug Apostol y Cenedloedd y dystiolaeth benderfynol a ganlyn :—"Oblegid i Dduw o'r dechreuad eich hethol chwi i iachawdwriaeth, trwy sancteiddiad yr Ysbryd, a ffydd i'r gwirionedd :" 2 Thess. ii. 13. Dysgwn oddiwrth hyn fod yr holl foddion rheidiol i'n hiachawdwriaeth, yn nghyd â "sancteiddiad yr Ysbryd," yn gymmaint o bwnc yr arfaethiad Dwyfol â iachawdwriaeth ei hun.

Dengys Apostol yr enwaediad yr un peth, "Etholedigion yn ol rhagwybodaeth Duw Dad, trwy sancteiddiad yr Ysbryd, i ufudd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist :" 1 Pedr i. 2. Y mae y brif-ffordd i'r nefoedd yn ffordd o santeiddrwydd, ac y mae yr holl etholedigion wedi eu dewis i gyrhaedd y wlad ddedwydd hono drwy y ffordd freiniol hon. Arfaethwyd hwynt yn gymmaint i *santeiddrwydd* ag i *ogoniant.*

3. *Y mae santeiddhad yn cael ei sicrhau trwy waith cyfryngol Iesu.* Mewn cyfeiriad at y ffaith hon y dywed yr Apostol, fod "Crist wedi ei wneuthur i ni gan Dduw yn *ddoethineb* ac yn *sancteiddrwydd* :" 1 Cor. i. 30, yn gystal ag yn gyfiawnder ac yn brynedigaeth. Y ddoethineb a oleua, a'r santeiddhad sydd yn puro, a dderbyniwn ni oddiwrth Iesu, mor *wirioneddol* a'r cyfiawnder sydd yn cyfiawnhau, a'r brynedigaeth derfynol gawn fwynhau ddydd yr adgyfodiad a gogoniant perffeithiedig. Y mae yn wrthun fodd bynag, i siarad am santeiddhad fel yn *gyfrifedig.* Ni ellir yn ol natur pethau gyfrif nodweddion moesol. Gallem yr un cystal siarad am *ddoethineb* cyfrifedig ac am *santeiddhad* cyfrifedig. Y cyfiawnder cyfreithiol a'n cyfiawnha ger bron Duw yw cyfiawnder Crist Ei Hun, yr hwn a gyfrifir yn raslawn i ni ; ond y santeiddhad a adnewydda ein natur, ac a'n cymhwysa yn foesol i'r nefoedd, sydd amlwg yn gyfnewidiad a weithredwyd *ynom.* Y mae santeiddhad o'r Gwaredwr, am fod dyfodiad yr Ysbryd santeiddiol yn ganlyniad dedwydd Ei iawn a'i eiriolaeth. Hyd nes y gorphenwyd gwaith y Mab, nis gallasai yr Ysbryd ddyfod yn nghyflawnder Ei ddylanwadau graslawn :

Ioan vii. 39; xvi. 7. Y mae eiriolaeth yr Arglwydd Iesu Grist yn y nefoedd yn wystl parhaus o bresenoldeb y Dyddanydd gyda yr Eglwys ar y ddaear: Ioan xvi. 16, 17. Am hyny, y mae yr Ysbryd santeiddiol yn arbenigol "yn Ysbryd Crist:" Rhuf. viii. 9.

4. *Y mae santeiddhad yn waith neillduol yr Ysbryd Glân.* Megis ag y cynnyrcha Efe eginyn cyntaf bywyd dwyfol yn enaid dyn, felly y *dadblyga* ac yr addfeda ef. Y mae yn gwylio prenau cyfiawnder y rhai a blanodd Efe, rhag na fyddo i un ystorm eu diwreiddio, eithr fel y "ffrwythont etto yn eu henaint:" Salm xcii. 12–15. Megis ag y dechreua Efe y gwaith, felly y dug ef yn mlaen hyd ddydd Iesu Grist: Phil. i. 6. Am hyny gelwir santeiddhad yn arbenigol yn "*sancteiddiad yr Ysbryd*:" Gwel 1 Pedr i. 2; 2 Thess. ii. 13. Yr holl rasusau y rhai yn un a gyfansoddant y cymmeriad Cristionogol ydynt "ffrwythau yr Ysbryd:" Gal. v. 22. Trwy yr Ysbryd y mae credinwyr yn "marweiddio gweithredoedd y corph:" Rhuf. viii. 13. Holl blant Duw a arweinir gan yr Ysbryd Glân i lwybrau profiad dedwydd a buchedd santaidd; "Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw:" Rhuf. viii. 14. Felly, trwy y cyfan, santeiddhad ydyw Ei waith gogoneddus Ef.

5. *Y mae santeiddhad yn cael ei hyrwyddo gan foddion priodol.* Yn mlaenaf yn mhlith y rhai hyn y saif *Gair Duw*, gyda ei athrawiaethau santaidd, ei addewidion goruchel, ei ddadguddiedigaethau graslawn, ei orchymmynion pur, ei siamplau anogaethol, a'i argymhellion attaliadol. "Trwy y rhai hyn" (yn offerynol) yr ydym yn dyfod "yn gyfranogion o'r dduwiol anian:" 2 Pedr i. 4. Yr ydym i "chwenychu didwyll laeth y gair, fel y cynnyddom trwyddo ef· 1 Pedr ii. 2. Gweddïodd Iesu am i ni gael ein santeiddio trwy air Duw: Ioan xvii. 17. Y mae y gwirionedd hwnw yn *gyfaddas* i hyrwyddo ein cynnydd yn y bywyd dwyfol, ac yn cael ei ddefnyddio mewn gwirionedd gan y Dyddanydd Tragywyddol i gyflawnu y dyben graslawn hwn. "Gair Ei ras" yw "yr hwn (yn offerynol) a all ein hadeiladu, a rhoddi i ni etifeddiaeth yn mhlith yr holl rai a sancteiddiwyd:" Act. xx. 32. Yn chwanegol at y Gair, y mae yr holl *foddion gras ereill, cy-*

*hoeddus a dirgelaidd*, y rhai ydynt fel cynnifer o bibellau aur i drosglwyddo olew dylanwad dwyfol i lusern y Cristion. Y mae cymmundeb y saint a chymdeithas yr Eglwys yn gynnorthwyon pwysig i'r gwaith da hwn. "Y rhai a blanwyd yn nhŷ yr Arglwydd" ydynt y rhai "a flodeuant yn nghynteddoedd ein Duw:" Salm xcii. 13. Nid ydym i "esgeuluso ein cyd-gynnulliad ein hunain megis y mae arfer rhai:" Heb. x. 25.

Hefyd, y *mae holl arweiniadau ragluniaeth ddoeth a graslawn*, ac yn neillduol dysgyblaeth cystudd. Trwy y rhai hyn y gweithreda Ysbryd Duw, gan ein diddyfnu oddiwrth ein ffolinebau, a'n cadarnhau yn ein cariad at gyfiawnder a gwirionedd. Y mae trallod santeiddiol yn offerynol er daioni, yr hwn nis gallwn ei hebgor. Y mae dagrau yn fynych yn foddion gras. Am hyny, "trwy lawer o orthrymderau y mae yn RHAID i ni fyned i deyrnas Dduw:" Act. xiv. 22. "Ein byr ysgafn gystudd ni, sydd yn odidog ragorol yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant:" 2 Cor. iv. 17. Y mae ein trigfanau yn y goleuni yn barod i ni, ac wedi bod felly er "seiliad y byd:" Matt. xxv. 34. Ond nid ydym etto wedi ein haddfedu iddynt; a thrwy ddysgyblaeth trialon y dygir y perffeithiad dymunol hwn yn mlaen. Y mae symbylau yr anialwch yn ein cymhwyso, trwy ras i orphwysfa Canaan.

6. *Y mae santeiddhad i'w wahaniaethu oddiwrth ailenedigaeth, dychweliad, a chyfiawnhad.* Ni osodwyd y gwahaniaeth hwn erioed yn eglurach a grymusach nag yn y dyfyniad canlynol:—"*Ailenedigaeth* ydyw *cynnyrchiad* yr egwyddor fewnol o grefydd, h. y. y bywyd ysbrydol; *dychweliad* ydyw y gweithrediad cyntaf; *santeiddhad*, yw parhad, gweithgarwch, ac iachusrwydd y bywyd hwnw.

Perthyna *cyfiawnhad* i sefyllfa yr enaid, mewn perthynas i gyfraith a phenderfyniadau cyfreithiol Duw a'r Barnwr Tragywyddol. Perthyna *santeiddhad* i'r egwyddorion ymwybyddol a lywodraethant benderfyniadau ymarferol y meddwl. Y mae cyfiawnhad yn weithred a gymmer le unwaith ac yn anniddymadwy, ac ni ellir chwanegu ati na thynu oddiwrthi. Y mae santeiddhad yn SEFYLLFA gynnyddol, agored i raddau. Cyfiawnhad sydd weithred o *garedigrwydd* dwyfol, unol â *chyfiawnder*, a seiliedig ar

gyfrwngwriaeth yr Arglwydd Iesu Grist. Y mae santeiddhad yn waith y *gallu* dwyfol ar y galluoedd argraffiadwy a rhesymol. Cyfiawnhad sydd weithred a gyflawnir *drosom;* santeiddhad sydd weithrediad a gyflawnir *ynom.* Cyfansodda cyfiawnhad yr *hawlfraint* i wynfydedigrwydd; santeiddhad ydyw y gweithrediad (*process*) o *gymhwysiad* iddo. Y mae pawb credinwyr wedi eu *cyfiawnhau* yn gwbl, yn gyfartal, a thragywyddol; ond eu santeiddhad a fodola mewn amrywiaeth annghyfartal iawn mewn ffurf a gradd."—*Dr. Pye Smith's First Lines, p.* 604. O na fuasai ein holl dduwinyddion diweddar mor eglur ar y materion mawrion hyn ag oedd ysgrifenydd parchus y darn uchod!

7. *Y mae santeiddhad yn waith cynnyddol.* Y mae yn yn alluog i gynnydd. I'r agwedd bwysig yma o'r cyfnewidiad dedwydd hwn, dug yr Ysgrythyrau dystiolaeth gyflawn a phenderfynol. Hysbysant ni fod "llwybr y cyfiawn fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwyfwy hyd ganol dydd:" Diar. iv. 18. "A'r glan ei ddwylaw a chwanega gryfder:" Job xvii. 9. Ni "a newidir i'r unrhyw ddelw (delw Crist) o ogoniant i ogoniant, (o radd lai i un fwy o debygolrwydd), megis gan Ysbryd yr Arglwydd:" 2 Cor. iii. 18. Pob cangen "a ddygo ffrwyth, y mae Efe yn ei glanhau, fel y dygo fwy o ffrwyth:" Ioan xv. 2. Y mae credinwyr yn "cynnyddu" yn Nghrist: Eph. iv. 15. Am hyny, cynghorir pawb proffeswyr i "gynnyddu mewn gras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist," ac i "ymlanhau oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw:" 2 Pedr iii. 18; 2 Cor. vii. 1.

Yn mhellach, y mae yr holl ffugyrau a ddefnyddir i ddysgrifio gyrfa y Cristion yn cyfleu y meddylddrych o *gynnydd.* Cymharir ef i gynnydd y corff dynol. Y mae credinwyr yn nghyntaf yn "blant bychain," yna yn "wyr ieuaingc," ac wedi hyny "tadau yn Nghrist:" 1 Ioan ii. 12–15. Gras yn eu calonau a weithia fel surdoes nes suro y cwbl: Matt xiii. 33. Y mae fel tyfiant yr had, "yn gyntaf yn eginyn, ar ol hyny y dywysen, yna yr ŷd yn llawn yn y dywysen:" Marc iv. 26–29. Taith ydyw, yn yr hon yr â y sant o "nerth i nerth, nes ymddangos

ger bron Duw yn Sion:" Salm lxxxiv 7. Gyrfa ydyw sydd raid iddo ei "rhedeg trwy amynedd:" Heb. xii. 1, 2. Yn awr, y mae yr holl ffugyrau hyn ac ereill o nodwedd gyffelyb, yn awgrymu fod y bywyd dwyfol yn yr enaid dynol yn alluog i gynnydd. Plenir eginyn bywyd cyflawn yn yr ailenedigaeth; ymegir dadblygiad graddol yr eginyn hwnw mewn santeiddrwydd cynnyddol. Dywedir fod Cristionogion yn cynnyddu yn y grasusau neillduol a gyfansoddant gymmeriad dyn Duw; megis mewn ffydd, cariad, a gweithredoedd da: 2 Thess. i. 3; Phil. i. 9; Heb. x. 24. Fe'u cynghorir fel yma, "Gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd, rinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth; ac at wybodaeth gymmedrolder; ac at gymmedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb; ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol, gariad:" 2 Pedr i. 5–7.

Ac y mae y cyfryw ddysgrifiadau o'r bywyd dwyfol yn *cytuno ag athroniaeth y meddwl a'r cymmeriad dynol;* canys cryfheir holl arferion y meddwl trwy ymarferiad. Tueddiadau y meddwl pu'n a'i da ynte drwg a wneir yn gryfach yn eu dylanwad trwy foddhad mynych. Yr hwn a rodia gyda Duw a ddaw yn fwy tebyg i Dduw; a meithriniad beunyddiol o serchiadau, chwaeth, ac ymarferion santaidd a duwiolfrydig a'u gwna yn rymusach. Prawf y ffaith fod santeiddhad yn gynnyddol nad yw yn *gyfrifedig.* Pe yn gyfrifedig, byddai yn *gyflawn ar unwaith;* ond dengys y ffaith o'i gynnyddolrwydd ei fod yn gyfnewidiad a weithredir ynom.

8. *Ymestyna santeiddhad, hyd y nod yn y bywyd hwn, i'r holl natur a'r cymmeriad.* Santeiddiad yr holl ddyn ydyw, yn holl alluoedd ei gorff a'i enaid. Dylanwada ar yr holl "ysbryd, enaid, a chorph:" 1 Thess. v. 23. Effeithia y galon, cyssegra y corff, ac adnewydda y meddwl: 1 Thess. iii. 13; Rhuf. xii. 1, 2. Nid rhyw fymryn o'r dyn a santeiddia yr Ysbryd Glân, ond yr *holl ddyn.* Y mae santeiddhad credinwyr yn gyflawn o ran ei *helaethder,* er yn y bywyd hwn, yn anmherffaith yn ei *radd.*

*Y mae yn diddyfnu dyn oddiwrth gariad at bob pechod.* "Croeshoelia ein hen ddyn ni gyda Christ er mwyn dirymu (holl) corph pechod, fel rhag llaw na wasanaethom

bechod:" Rhuf. vi. 6. Dýd heibio yr hen ddyn a'i chwantau twyllodrus:" Eph. iv. 22. Croeshoelia y cnawd, â'i wŷniau, a'i chwantau: Gal. v. 24. Tŷr ymaith y pechod parod sydd anwyl gan ein natur lygredig, fel llaw ddehau neu lygad dehau: Matt. v. 29, 30. Y mae santeiddhad yn cynnwys gwarediad rhag gormes pob pechod, canys ni châ un pechod arglwyddiaethu ar y rhai hyny nad ydynt dan y ddeddf, eithr dan ras: Rhuf. vi. 14. *Cynnyrcha gariad at bob santeiddrwydd.* Dysga ddyn i "gyfrif *holl* orchymmynion Duw yn uniawn am *bob* peth:" Salm cxix. 128; ac i feddu parch *ymarferol* at bob un ohonynt, adn. 6. Gwna ni yn "*fyw* i Dduw." Y mae y rhai santeiddiedig nid yn unig wedi eu "rhyddhau oddiwrth (allu) pechod," eithr gwneir hwy yn "weision i Dduw," ac y mae eu "ffrwyth iddynt yn sancteiddrwydd:" Rhuf. vi. 11, 22. Nid yn unig dýd heibio yr "hen ddyn, eithr adnewydda ni yn holl ysbryd ein meddwl, a gwisga y dyn newydd yr hwn a grëwyd yn ol delw Duw, mewn cyfiawnder a gwir santeiddrwydd:" Eph. iv. 23, 24. Felly y mae santeiddhad yn waith cyflawn, yn ymestyn i'n holl gynneddfau, hyd yr ymwrthodiad o bob pechod, ac i'r ymestyniad at bob rhinwedd.

Y mae hyn fodd bynag, yn beth tra gwahanol i *berffeithrwydd dibechod,* yr hyn ni ellir ddywedyd am unrhyw gredadyn hyd yr eiliad y gesyd i lawr gorff pechod a marwolaeth, a thrwy weithrediad terfynol o allu Ysbryd Duw, y purir ef oddiwrth weddillion olaf llygredd mewnol. Rhaid ei wneuthur yn berffaith santaidd cyn ei dderbyniad i'r nefoedd, canys "nid â i mewn iddi DDIM aflan:" Dad. xxi. 27. Ond cyhyd ag y dyga gorff pechod a marwolaeth, efe a ocheneidia, yn llwythog: 2 Cor. v. 4. *Ar yr eiliad* gan hyny, y gadawa yr ysbryd prynedig y corff, cymmer ei suddiad olaf yn y ffynon agorwyd i bechod ac aflendid, a chyfyd yn ddifai i sefyll gerbron yr orsedd-fainc:" Dad. xiv. 5. Gynau cymmeriad y Cristion y pryd hyny a olchir ac a génir yn berffaith a thragywyddol wyn, yn ngwaed yr Oen:" Dad. vii. 14. Marwolaeth y corff, trwy allu yr Ysbryd Glân, a berffeithia fywyd gwell y Cristion. Wrth osod i lawr ein marwoldeb, canwn yn iach yn dragywyddol i bob llygredd moesol. *Yn awr,* y "mae y

cnawd yn chwenychu yn erbyn yr ysbryd, a'r ysbryd yn erbyn y cnawd: a'r rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, fel na allwn wneuthur beth bynag a ewyllysiwn:" Gal. v. 17. "Os dywedwn (ni gredinwyr) nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom:" 1 Ioan i. 8. "Canys nid oes (hyd y nod) dyn cyfiawn ar y ddaear a wna ddaioni, ac ni phecha:" Preg. vii. 20. Hawdd gan hyny y gallwn ddyweyd gyda'r Salmydd, "yr ydwyf yn gweled diwedd ar bob perffeithrwydd ond (*canys*) dy orchymmyn Di sydd dra eang:" cxix. 96. Rhydd y frawddeg olaf yn yr adnod uchod, y rheswm am yr honiad a gynnwysir yn y flaenaf. Gwelodd Dafydd ddiwedd ar bob ymffrost dynol o berffeithrwydd, trwy yr un gweithrediad ag y gwelodd eangder, ysbrydolrwydd, ac anhyblygedd y rheol ddwyfol o ddyledswydd. *A'i fesur wrth y safon yma,* pwy fedr honi perffeithrwydd?

Hollol gyffelyb oedd y gweithrediad meddyliol trwy ba un yr aeth yr Apostol Paul, a'r hwn a ddysgrifiodd efe mor effeithiol yn Rhuf. vii. Yr un goleuad meddyliol a'i dysgodd fod y ddeddf yn santaidd, ac ysbrydol, a chyfiawn, a da, a'i hargyhoeddodd ei fod yn "gnawdol, wedi ei werthu dan bechod:" adn. 12—14. Y syniad am berffeithrwydd a ddelir gan dduwinyddion Arminaidd, a gyfyd yn unig oddiar *feddylddrychau diffygiol am rheol dyledswydd.* Ni laesodd Crist ofynion y ddeddf; ni wnaeth ei gorchymmynion yn llai ysbrydol neu gynnwysfawr; eithr yn hytrach eglurodd a chadarnhaodd y ddwy nodwedd yma yn y ddeddf ddwyfol gydag eglurder ac awdurdod tra rhagorol. Ystyried y darllenydd y bregeth ar y mynydd, yn neillduol y rhan hyny ohoni a gofnodir yn Matt. v., er prawf o'r mynegiad yma. *Pwy a hona berffeithrwydd yn ngolwg moeswersi Iesu Grist?* Ni chyfarfu yr ysgrifenydd erioed etto ag un Armin duwiolfrydig a feiddiodd wneuthur hyny pan ar ei luniau mewn gweddi. Yn mhob achos clywodd y cyfryw frodyr yn eu deisyfiadau, yn dywedyd wrth Jehofah pa mor *an*mherffaith y teimlent eu hunain eu bod. Yn y cyfryw addefiadau eu profiad a'u hymwybyddiaeth grefyddol oedd yn llefaru, ac nid eu credo. Weithiau y mae y galon yn iawn pan y mae y pen yn gyfeiliornus; er mai y

y mae gwaethaf y modd, y siarad sydd wir fynychaf, weithiau y mae y pen yn iawn pryd y mae y galon yn gyfeiliornus.

9. *Y mae santeiddhad yn hollol hanfodol er prawf o'n hundeb â Christ, ac i'n gogoniant dyfodol.* Canys "od oes neb heb Ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eiddo Ef." Wrth ei ffrwyth yr adnabyddir y pren. Fel y dygwn ffrwyth santeiddrwydd y gogoneddir ein Tad, ac y'n *profir* yn ddysgyblion i Iesu: Rhuf. viii. 9; Matt. vii. 16—20; Ioan xv. 8. A dim ond fel yr ydym yn santaidd y mae genym un prawf ein bod yn wir etifeddion etifeddiaeth y saint (y rhai santaidd) yn y goleuni. Canys fel yr ysgrifenwyd—"Heb sancteiddrwydd, ni chaiff neb weled yr Arglwydd," (Heb. xii. 14.) tra, "Gwyn eu byd y rhai pur o galon; canys hwy a welant Dduw:" Matt. v. 8. "Y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megis y mae yntau yn bur:" 1 Ioan iii. 3. "Ac nid â i mewn iddi (y nefoedd) ddim aflan:" Dad. xxi. 27. Y fath bwys ydyw i gredinwyr gan hyny fod "mewn ymddygiad fel y gweddai i santeiddrwydd:" Tit. ii. 3. Fel yma yn unig y *profant* eu meddiant o undeb bywydol â'r Arglwydd, ac o obaith da am anfarwoldeb a gogoniant! 1 Ioan iii. 3.

10. *Y mae santeiddhad efengylaidd yn rhywbeth uwch, mwy urddasol a phur, nâ moesoldeb y diailenedig yn unig.* Y mae yn uwch yn ei *ffynonell*; canys santeiddhad trwy Ysbryd Duw ydyw: 2 Thess. ii. 13; 1 Pedr i. 2. Yn ei *gymhellydd;* canys y mae cariad Crist yn cymhell y credadyn 2 Cor. v. 14. Yn ei *reol;* canys gair y Goruchaf yw ei arweinydd anffaeledig:" cxix. 105. Yn ei *eangder;* canys cyrhaedda hyd wraidd yr holl gymmeriad a'r ymarweddiad: Eph. iv. 23. Yn ei *wynfydigrwydd presenol;* canys yn annhebyg i ufudd-dod deddfol y di-ailenedig, y mae yn iau esmwyth ac yn faich ysgafn: Matt. xi. 28—30. Ac yn ei *ganlyniadau tragywyddol;* canys tra y gorfydd y moesolydd, yr hwn sydd yn amgylchynu ei ei hun â gwreichion tân o'i gynneuad ei hun, orwedd lawr mewn gofid (Esa. l. 11), caiff y gwir santeiddiedig glywed y croesawiad dedwydd, "Dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd:" Matt. xxv. 21. Gwirionedd gwerthfawr a gogoneddus ydyw er gwaethaf ei holl ffaeleddau, fod y

"Cyfiawn yn rhagori ar ei gymmydog:" Diar. xii. 26.

11. *Cymmeradwya Jehofah yn nghyntaf ein personau yn Nghrist, ac yna ein gweithredoedd ynddo Ef.* Rhaid i'n holl aberthau gael eu cyflwyno trwy gyfryngwriaeth ein Harchoffeiriad mawr. Am hyny, ni ddichon un gwaith o eiddo credadyn feddu dim teilyngdod *ynddo ei hun*, na theilyngu gwobr fel o *ddyled.* Y mae cymmeradwyaeth ein llafur a'n rhinweddau anmherffaith ni yn ddyledus i ras Duw yn Nghrist Iesu. Gwobr y Cristion sydd o *ffafr rhad*, nid o *deilyngdod.* Gan mai "Duw sydd yn gweithio ynom ewyllysio a gweithredu yn ol Ei ewyllys da Ef," y mae yn sicr, oddiwrth natur yr achos, nas gallwn byth gyflwyno yr hyn sydd ynddo ei hun yn *ffrwyth gras* fel *sail teilyngdod.* Nis gallwn ddadleu gyda Jehofah, yr hyn a rydd yn rhad, fel yn rhoddi un hawl i ni o wobr o *ddyled.* Heblaw hyn, "megis bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau," a thrwy iawn ein Harglwydd yn unig y gellir ein cymmeradwyo. Nis gall gweithredoedd anmherffaith byth fod yn haeddiannol ynddynt eu hunain yn ngolwg Duw Anfeidrol Santaidd.

## PENNOD XII.
### CADWRAETH Y SAINT.

ATHRAWIAETH ogoneddus arall o eiddo yr Ysgrythyr Santaidd ydyw y sicrwydd o barhad pawb gwir gredinwyr i ogoniant tragywyddol, adnabyddus yn gyffredin yn ein plith wrth yr enw *parhad y saint hyd y diwedd.* Gellir edrych ar yr athrawiaeth hon mewn dwy agwedd, a'i gosod i lawr mewn dwy ffordd. *Mewn perthynas â Duw*, y sicrwydd y rhydd i'r holl ailenedigion y gras angenrheidiol i'w tueddu a'u galluogi i ddal allan hyd y diwedd, ydyw. Yn yr ystyr yma, gellir ei galw yn *gadwedigaeth* neu *gadwraeth*, mewn cyfeiriad at yr *achos effeithiol* a weithreda yn nghynnyrchiad yr effaith. *Mewn perthynas â chredinwyr* sicrwydd o'u parhad yn ffordd bywyd hyd derfyniad eu gyrfa ydyw. Yn yr ystyr yma, gellir ei galw yn *ddyfalbarhad*, a'r meddylddrych a arddengys ydyw *sicrwydd yr effaith.* Ni waeth pa ffurf a fabwysiadwn. Y mae sicrwydd yr achos yn cynnwys sicrwydd yr effaith; a *vice versâ.* Os gwir yw y rhydd yr Hollalluog i bob sant

ras i ddyfal-barhau; yna, y mae yn llawn mor wir, y gwna pob sant ddyfal-barhau. Ac os ffaith yw dyfal-barhad pob sant, eglur yw y bydd i'r gras angenrheidiol i'r cyfryw effaith gael ei roddi. *Cadwraeth* gan hyny a berthyn i Dduw, yr achos effeithiol; *dyfal-barhad* a berthyna i fuchedd credinwyr, a'r effaith a gynnyrchir. Cedwir y saint gan Dduw, ac o ganlyniad, ni thynant byth yn ol i golledigaeth. "Trwy allu Duw, cadwedig ydynt, trwy ffydd i iachawdwriaeth:" 1 Pedr i. 5.

Y mae genym yn y bennod hon i chwilio i sicrwydd cadwedigaeth derfynol pawb ydynt mewn gwirionedd wedi dyfod yn un â Christ Iesu. Ai gwir yw, na fetha un o'r rhai a aned drachefn o Ysbryd Duw, a chyrhaedd y nefoedd mewn diogelwch? A rydd Jehofah yn mhob achos i'r Cristion didwyll yr holl ras angenrheidiol i'w gadwraeth? Ac a ddyfal-barha y Cristion mewn canlyniad yn ddiffael hyd y diwedd? Ceir gweled, wrth fyned rhagom, mai casgliad rhesymegol a hanfodol llawer a brofwyd yn barod mewn adranau blaenorol, ydyw yr athrawiaeth a amddiffynir yn y benod hon. Athrawiaethau gras, fel yr udgyrn arian dan y gyfraith ydynt oll yn unwedd. Y mae y prawf o un mewn rhai ystyron yn brawf ohonynt oll.

1. *Profir sicrwydd dyfal-barhad pawb credinwyr oddiwrth eu hetholiad tragywyddol â phenarglwyddol i gadwedigaeth gyflawn.* Ni chawn ail adrodd yr hyn a ystyriwyd yn helaeth genym yn barod yn y bennod ar ETHOLEDIGAETH. Bydd y darllenydd, fodd bynag, mor garedig ag ail ddarllen y rhan hono o'r gwaith hwn mewn cyssylltiad â'r adran bresenol. Os mai y golygiad Calfinaidd o athrawiaeth etholedigaeth ydyw yr un iawn, yna, y mae yr athrawiaeth o ddyfal-barhad yn ddiammheu yn wirionedd. Canlyna y casgliad gan rym anhyblyg rhesymeg anocheladwy. Os etholodd Duw eu bobl i fwynhad sicr o gadwedigaeth berffaith, yna, y mae yn eglur y cyrhaeddant bob un y fendith yma, a'r holl fendithion rheidiol er cyrhaeddiad y cyfryw berffeithiad a gyfrenir. Am hyny, ymddengys cywirdeb ein nodiad, mai athrawiaeth etholedigaeth ydyw Thermopylae y ddadl Arminaidd a Chalfinaidd, tud. 140. "Duw o'r dechreuad a'ch etholodd chwi i IACHAWDWRIAETH trwy sancteiddiad yr Ys-

bryd, a ffydd i'r gwirionedd, i'r hyn y galwodd Efe chwi trwy ein hefengyl ni, i feddiannu gogoniant ein Harglwydd Iesu Grist:" 2 Thess. ii. 13, 14. Sicrha etholedigaeth benarglwyddol santeiddhad, ffydd yn y gwirionedd, galwedigaeth trwy yr efengyl, a chyrhaeddiad rhan yn ngogoniant Iesu Grist. Y mae y cwbl yn anwahanadwy unedig fel dolenau mewn un gadwyn ogoneddus. Dysgir yr un gwirionedd mawr yn y geiriau nodedig hyn—"Ac ni a wyddom fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw; sef i'r rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth Ef. Oblegid y rhai a ragwybu, a ragluniodd Efe hefyd i fod yn unffurf â delw ei Fab Ef, fel y byddai Efe yn gyntaf-anedig yn mhlith brodyr lawer. A'r rhai a ragluniodd Efe, y rhai hyny hefyd a alwodd Efe, a'r rhai a alwodd Efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhaodd Efe, a'r rhai a gyfiawnhaodd Efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd Efe:" Rhuf. viii. 28–30. Y mae bwriad Duw o ras mewn arfaeth yn diogelu yr holl ganlyniadau dedwydd a arddangosir yma. Y mae dewisiad Jehofah o'i bobl i gadwedigaeth yn gwarantu nid yn unig y canlyniad gogoneddus hyny, eithr yr holl raddau canolog rheidiol er ei gyrhaeddiad. "A'r cenhedloedd pan glywsant, a fu lawen ganddynt, ac a ogoneddasant air yr Arglwydd; a chynnifer ag oedd wedi eu hordeino i fywyd tragwyddol, a gredasant:" Act xiii. 48. Yr oeddynt wedi eu hordeinio yn nghynghorau Duw i fywyd tragywyddol yn ei holl gyflawnder, ac er eu derbyniad o'r fendith yma, tywyswyd hwy gan yr Ysbryd Glân i gredu yr efengyl. "Megis yr etholodd Efe ni ynddo Ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeius ger ei fron Ef mewn cariad. Wedi iddo ein rhagluniaethu ni i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo Ei hun, yn ol boddlonrwydd ei ewyllys Ef. Er mawl gogoniant ei ras Ef, trwy yr hwn y gwnaeth ni yn gymmeradwy yn yr Anwylyd:" Eph. i. 4–6. Y mae arfaeth Jehofah yn diogelu i'w holl etholedigion eu cyflwyniad terfynol gerbron yr orsedd, yn "sanctaidd a difeius mewn cariad." Maent i fod yn gofgolofnau tragywyddol, "er mawl gogoniant ei ras Ef." Ac yn yr adnodau dilynol dengys yr Apostol fod y boddlonrwydd yma a ragluniaethodd Jehofah ynddo Ei hun, yn sicrwydd o *grynhôad yn nghyd yr holl eth-*

*oledigion yn y nefoedd* (adn. 10); o gyflawniad yr hyn y mae ganddynt ernes yn seliad presenol yr Ysbryd Glân: adn. 11–14. Yn fyr, os dewiswyd yr holl etholedigion i gadwedigaeth, fe'n cedwir, a hyn yw dywedyd mewn geiriau ereill, y dyfal-barhant yn eu gyrfa Gristionogol hyd y diwedd.

2. *Y mae perffeithrwydd anfeidrol "y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu" yn wystl o gadwedigeeth derfynol pawb a ymddiriedant ynddi.* Y mae pawb a gredant yn Iesu yn un ag Ef. Rhoddwyd hwynt iddo yn nghyfammod y prynedigaeth cyn bod y bydoedd, i'w hachub trwy Ei gyfrwngwriaeth. Dyma eiriau ein Harglwydd, "Fy Nhad i, yr hwn a'u rhoddes (y defaid) i mi, sydd fwy nâ phawb: ac nis gall neb eu dwyn hwynt allan o law Fy Nhad i." "Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i Mi, a ddaw attaf Fi: a'r hwn a ddêl attaf Fi, nis bwriaf ef allan ddim. A hyn yw ewyllys yr hwn a'm hanfonodd I, o'r cwbl a roddes Efe i Mi, na chollwn ddim ohono, eithr bod i Mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf." "Rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo, y rhoddai Efe iddynt fywyd tragwyddol." "Mi a eglurais Dy enw i'r dynion a roddaist i mi allan o'r byd, eiddot Ti oeddynt a Thi a'u rhoddaist hwynt i Mi:" Ioan x. 29; vi. 37–40; xvii. 2, 6. Pe syrthiai ymaith i golledigaeth rhyw rai o'r rhai a roddasid i Grist, dymchwelid bwriad y Tad yn eu rhoddiad i'r Arglwydd. Ond "Cynghor Jehofah a saif, a'i holl ewyllys a wna:" Esa xlvi. 10. Am hyny, ni ellir colli un o'r rhai a roddasid i'r Mab; rhaid iddynt oll dderbyn bywyd tragywyddol, ac y mae hyn yn gyfystyr a dyweyd y dyfal-barhant hyd y diwedd.

Y mae yr ystyriaeth yma yn derbyn grym chwanegol oddiwrth y ffaith fod gwaith Crist, ammod mawr y cyfammod, wedi ei orphen, a'i gyhoeddi yn berffaith gan gyfiawnder tragywyddol. Medr Iesu yn awr hysbysu gydag hyfder anmhetrusol: y "Mae Fy nefaid I yn gwrando Fy llais I; a Mi a'u hadwaen hwynt, a hwy a'm canlynant I, a Minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol; ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw I:" Ioan x. 27, 28. Yn mreichiau tyner, ond Hollalluog Iesu y maent yn ddiogel. Ni fedr un gallu ar y ddaear nac yn

uffern eu rhwygo o'i freichiau bendigedig. Y mae gwaed, cyfiawnder, a gras eu Harglwydd yn gaerfa dragywyddol rhyngddynt a cholledigaeth. "Ni chyfrgollant byth." Y prawf a roddir gan brynedigaeth Crist a berffeithir gan y ffaith fod pawb credinwyr trwy ffydd ddwyfol-blanedig, yn fywydol unedig â'u Harglwydd, a'u bod felly yn arbenigol a phrofiadol un ag Ef. Y mae "Crist yn trigo trwy ffydd yn eu calonau:" Eph. iii. 17. Ac nid yw yr undeb bywydol yma i'w ddystrywio byth, canys ni chaiff dim eu "gwahanu oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd:" Rhuf. viii. 38, 39. Y maent yn Nghrist, ac ynddo yn *dragywydd.* Ni all dim derfynu yr unoldeb santaidd yma! Ac y mae Ei fywyd Ef yn gwarantu yr eiddynt hwy; canys fel hyn yr ymresymodd:— "Canys byw wyf Fi, a byw fyddwch chwithau hefyd:" Ioan xiv. 19. Ni ellir byth gan hyny, ddiddymu eu rhan hwy yn haeddiant eu Harglwydd, a'r bendithion a ddiogela. Rhaid fydd i "werthfawr waed Crist," sefyll byth fel tarian iddynt rhag digofaint Duw yn erbyn pechod: 1 Ioan i. 7. Parhant i "fynegu rinweddau yr hwn a'u galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni Ef:" 1 Pedr i. 9. Rhaid eu "prynu oddiwrth bob anwiredd," a chant eu cyflwyno yn y diwedd i'w Harglwydd yn "eglwys ogoneddus, heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw, ond yn sanctaidd a difeius:" Eph. v. 27. Y mae eu rhan yn ngwaith iawnol Emmanuel, gyda ei haeddiannau anfeidrol a digyfnewid, yn diogelu y perffeithiad yma, ac yn ernes digonol o sicrwydd eu parhad hyd y diwedd!

3. *Y mae eiriolaeth barhaus ac effeithiol Iesu yn sicrhau diogelwch pawb a gânt rhan ynddo.* Y mae Iesu "yn byw bob amser i eiriol trosom ni:" Heb. viii. 25; Rhuf. viii. 34. Y mae yr eiriolaeth yma yn *ddiddarfod.* Clywir hyawdledd santaidd gwaed y taenelliad yn wastadol tufewn i'r llen. Ac y mae eiriolaeth ein Harglwydd yn llwyddiannus *bob amser.* "Gwrendy y Tad y Mab bob amser:" Ioan xi. 42. Ni ddichon byth eiriol yn ofer. Yn awr, un o'r bendithion am ba un yr eiriol yr Eiriolwr tragywyddol lwyddiannus yma, ydyw cadwraeth a dyfal-barhad pawb credinwyr hyd eu gogoniant tragywyddol. A ganlyn

ydynt y *termau* yn y rhai y llafara ein Harglwydd dros Ei holl Eglwys. "Y Tad Santeiddiol, cadw hwynt trwy Dy enw, y rhai a roddaist i Mi; fel y byddont un, megis ninau." "Nid wyf yn gweddio ar i Ti eu cymmeryd hwynt allan o'r byd, eithr ar i Ti eu cadw hwynt rhag y drwg." "Ac nid wyf yn gweddïo dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai hefyd a gredant ynof Fi, trwy eu hymadrodd hwynt; fel y byddont oll yn un." "Y Tad, y rhai a roddaist i Mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf Fi, fod ohonynt hwythau hefyd gyda Myfi; fel y gwelont Fy ngogoniant a roddaist i Mi: oblegid Ti a'm ceraist cyn seiliad y byd:" Ioan xvii. 11, 15, 20, 21, 24. Yn awr, gan fod y Gwaredwr yn eiriol bob amser; dros bob credadyn; yn eiriol am i bawb gael eu "cadw," eu "santeiddio," a'u cadw i weled gogoniant eu Harglwydd yn y nefoedd; a chan fod Ei eiriolaeth yn wastadol effeithiol, y mae yn canlyn, y cedwir pob credadyn rhag colledigaeth trwy y drwg sydd yn y byd, y santeiddir hwy trwy wirionedd Duw, ac y cyrhaeddant ogoniant mewn diogelwch.

4. *Dygir yn mlaen waith yr Ysbryd yn eneidiau y saint bob amser i berffeithrwydd.* Y mae gwir waith gras yn yr enaid yn awr yn ernes o ogoniant dyfodol. "Yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant:" Salm lxxxiv. 11. "Wedi i chwi gredu, y'ch seliwyd trwy Lân Ysbryd yr addewid; yr hwn yw ernes (*àrrabōn*) ein hetifeddiaeth ni, hyd bryniad y pwrcas, i fawl ei ogoniant Ef:" Eph. i. 13, 14. Gras presenol yw gwystl trugaredd o nefoedd ddyfodol. Fe'i rhoddir fel gwystl y bydd i ni yn y diwedd brynedigaeth gyflawn. Trwy ras y "cadarnheir credinwyr yn Nghrist," y "selïr" hwy, ac y mae ganddynt "ernes o'r nefoedd yn eu calonau:" 2 Cor. i. 21, 22. "Selia" yr Ysbryd Glân hwy er diogelwch a sicrwydd "hyd ddydd prynedigaeth:" Eph. iv. 30; ac yn y dydd mawreddog hwnw, ni cheir un sêl wedi ei thori, nac un enaid seliedig ar goll. Y mae dylanwadau y Dyddanydd yr hwn a rydd Crist, yn mhawb a'u derbyniant, "yn ffynon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragwyddol:" Ioan iv. 14. Ni pheidiant ddylifo un amser. Canlynant bob amser mewn bywyd tragywyddol. *Cyfyd dwfr yn wastad i'w lefel ei hun;* felly y gwna gras Duw mewn eneidiau dynol. Gan fod y

dylanwad yn dyfod o'r nefoedd, ac yn nefol yn ei dueddiadau, ni phalla byth a tharddu fyny nes cyrhaeddo y nefoedd. Gweithreda achosion bob amser yn gysson â'u natur. Bydd i waith yr Ysbryd yn yr enaid gadw dyn rhag byw a marw mewn pechod; canys "Pob un a aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod; oblegid y mae ei had ef yn AROS ynddo (all dim ddistrywio yr egwyddor ddwyfol yma), ac ni all efe bechu, am ei eni ef o Dduw:" 1 Ioan iii. 9. Y mae *ffynonellau* y bywyd yma tu allan i ni, ac yn Nghrist,—gan hyny y mae yn *ddiogel.* Ein "bywyd a guddiwyd (er ei gadwraeth mwy effeithiol) gyd â Christ yn Nuw:" ac y mae yn berffaith sicr gan hyny, "Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yr ymddangoswn ninau hefyd gyd ag Ef mewn gogoniant:" Col. iii. 3, 4. Ni fydd un yn eisiau: ca pawb a feddiannasant fywyd ysbrydol ar y ddaear, gyfranogi o ogoniant eu Harglwydd yn y dydd olaf. Y cyfryw ydyw tystiolaeth unweddol yr Ysgrythyrau Santaidd i anninystriwioldeb y bywyd o dduwioldeb yn eneidiau saint Duw.

5. *Cynnwysa yr Ysgrythyr Santaidd lawer o addewidion gwerthfawr y bydd i'r holl ras angenrheidiol er galluogi y credadyn i ddyfal barhau, gael ei roddi.* Fel yma yr annercha Jehofah Ei bobl: "Fy nhrugaredd ni chilia oddi wrthyt, a chyfammod Fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd sydd yn trugarhau wrthyt." "A hwy a fyddant yn bobl i Mi, a minau a fyddaf yn Dduw iddynt hwythau. A Mi a roddaf iddynt un galon ac un ffordd, *i'm hofni byth*, er lles iddynt ac i'w meibion ar eu hol. A Mi a wnaf â hwynt gyfammod tragywyddol, na thrôaf oddi wrthynt heb wneuthur lles iddynt; a Mi a osodaf Fy *ofn yn eu* calonau, fel *na chiliont oddi wrthyf*:" Esa. liv. 10; Jer. xxxii. 38—40. Dywed duwinyddion Arminaidd wrthym, fod ein parhad mewn gras yn ddibynol ar ein ffyddlondeb i ras a dderbyniwyd yn barod. Dysga yr adnodau uchod fel arall. Y mae y golygiad Arminaidd ar y pwynt yma yn groes i ffeithiau yr achos; oblegid yn y lle cyntaf, *effaith gras dwyfol ydyw ein ffyddlondeb ei hun*, fel y cyffesa pawb Cristionogion duwiolfrydig ar eu gliniau bob dydd. Ond nis dichon yr hyn sydd yn effaith gras ei hun fod yn achos o ras; canys ni all dim fod yr un pryd yn achos ac yn

effaith o'r un peth. Pa hyd y byddem ni ffyddlon pe wedi ein gadael i ni ein hunain? Ow! nid am awr. Hwynthwy yn unig a gedwir yn dda, y rhai a geidw yr Arglwydd. Heblaw hyny, yn yr ail le, *cadw ein ffyddlondeb ydyw y gwir beth* a sicrha yr addewid. Pe na sicrha hyn, ni sicrhäi *ddim*. Hyn, gan hyny, ydyw prif bwnc yr addewid. Ynddi y dywed Duw wrth gredinwyr, y "rhydd iddynt un galon ac un ffordd i'w ofni Ef BYTH," ac y "gosodai Ei ofn yn eu calonau yn y fath fodd, fel na CHILIONT oddi wrtho Ef." Felly nid yw cyflawniad yr addewid yma yn ddibynol ar eu ffyddlondeb hwy, ond y mae eu ffyddlondeb hwy yn cael ei sicrhau gan yr addewid. Yn *offerynol*, "safant trwy ffydd:" Rhuf. xi. 20; ond y mae ffydd ei hun yn "rhodd Duw," ac yn "ffrwyth yr Ysbryd:" Eph. ii. 8; Gal. v. 22. Am hyny, y maent "trwy allu Duw yn gadwedig trwy ffydd i iachawdwriaeth:" 1 Pedr i. 5. "Y mae cadarn sail Duw yn sefyll, a chanddi y sel hon, Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo Ef:" 2 Tim. ii. 19. Cawn am hyny iaith hyderus yr Apostol, "Gan fod yn hyderus yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da, ei orphen (*épitelései*) hyd ddydd Iesu Grist:" Phil. i. 6. Nid oedd ganddo ddim ammheuaeth na orphenai Jehofah Ei waith graslawn yn achos pob dyn oedd Ef wedi ei wir ddychwelyd, ac y perffeithiai yn y diwedd y dyn hwnw yn nydd Iesu Grist.

Am hyny, pan ddygir llestr trugaredd at Grist trwy ffydd ac edifeirwch, gorfoledda yr angelion yn ei achos, fel pe byddai eisoes gyda hwynt gerbron yr orsedd-fainc: Luc xv. 10. Gwyddant fod ei *gadwedigaeth yn y diwedd yn gwbl sicr*, canant gan hyny gân buddugoliaeth, fel pe byddai y gelyn diweddaf wedi ei gyfarfod a'i orchfygu.

6. *Y mae y gwrth-ddadleuon a ddygir yn gyffredin yn erbyn yr athrawiaeth hon yn hawdd eu hateb yn foddhaol.* Cawn nodi ac ateb yn fyr y prif rai.

*a. Dywedir gan rai fod tuedd foesol yr athrawiaeth yma yn ddrwg.* Cyhuddir hi o gefnogi dynion mewn pechod. Y mae yn eglur fodd bynag, fod hyn yn gyhuddiad annghyfiawn. Canys y mae dyfal-barhad y saint yn ddyfal-barhad mewn *santeiddrwydd*. Felly, mewn bod yn santaidd yn unig y gallwn wybod ein bod yn dyfal-barhau,

a dim ond trwy ddyfal-barhau y gallwn brofi ein hunain yn bobl yr Arglwydd. Y mae y dyn a barhao i fyw mewn pechod yn ngnysgod yr athrawiaeth ogoneddus a amddiffynir yn y bennod hon, yn sicr yn Antinomiad o'r fath waethaf, ac o bydd efe byw a marw yn y sefyllfa hon, bydd ei "ddamnedigaeth yn gyfiawn :" Rhuf. iii. 8. Nid ydym yn dal y gall gwir gredadyn ymdreiglo mewn pechod, ac etto fod yn gadwedig; eithr yr ydym yn dal nas gall yr hwn sydd wedi ei wir eni o Dduw ymdreiglo fel hyn mewn pechod, canys y "mae Ei had Ef yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu, am ei eni ef o Dduw :" 1 Ioan iii. 9.

Y mae yr athrawiaeth dan ystyriaeth ond edrych arni yn briodol yn annogaeth nerthol i ymgyssegriad a santeiddrwydd. Apëlia at reddfau *(instincts)* ardderchocaf y galon adnewyddiedig. Dengys i ni pa mor gyfoethog y mae Duw wedi darparu ar gyfer ein rheidiau ysbrydol, a pha mor ddyledus gan hyny ydym iddo Ef. Yn lle ufudd-dod deddfol, anogedig gan deimlad o anniogelwch, cymhella ymostyngiad llawen a chalonog i holl ewyllys Duw, fel cydnabyddiaeth addasol o ddigonedd Ei ddaioni. Y mae gobaith bob amser yn gymhelliad cryfach nag ofn, a'r gyfundrefn hono a gyflenwa y *cymhellion* pwysicaf i santeiddrwydd a raid yn wastad fod yn fwyaf cyfeillgar i'n santeiddrwydd. Nid digon yw dyweyd wrth ddyn am wneyd hyn yma neu hyn accw, rhaid i chwi ysgogi ffynonellau gweithrediad o'i fewn ef, a dwyn ei galon gyda eich gofynion. A Jehofah a'n cadarnha yn Nghrist, fel, wedi ein hysgogi â diolchgarwch am drugaredd mor annhraethadwy, y byddwn fyw byth er Ei ogoniant. Hyn yma ydyw rhesymeg ymarferol y Testament Newydd, "I Dduw y byddo y diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist. AM HYNY, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr, a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol; a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd :" 1 Cor. xv. 57, 58.

*b. Dywedir fod y sicrwydd o barhad pawb credinwyr hyd y diwedd yn groes i ffaith.* Dywedir i Dafydd wrthgilio pan syrthiodd yn achos Uriah a Bathseba. Ei fod yn wrthgiliwr ofnadwy yn yr amgylchiad hyny, ni wada

neb, ond i'r bywyd dwyfol ymgolli yn hollol a wrthbrofir gan ei edifeirwch a'i ffydd ddilynol. Y mae yr un peth yn wir am wadiad Pedr. Ond y mae dagrau chwerwon a gwrolder dilynol yr Apostol hwnw yn tystio gwirioneddolrwydd ei adferiad. Eglur yw, mai tystiolaeth Solomon wrth farw i'w adferiad oddiwrth ei gwymp dychrynllyd, yw Llyfr y Pregethwr. Ysgrifenodd yr edifarydd oedranus y llyfr hwnw ar ol ei adferiad oddiwrth ei ymarferiaeth beryglus a drygionus â ffolineb. Nid oes hanes am un gwir sant wedi llwyr wrthgilio wedi ei gofnodi yn yr Ysgrythyr; ond efallai y dywedir wrthym fod llawer o broffeswyr yn ein dydd ni yn gwrthgilio, ac yn marw mewn pechod. Diammheu fod proffeswyr lawer yn gwneuthur felly, ond ni wna hyn ond profi na anwyd hwy drachefn erioed yn wirioneddol. Nid yw y cyfryw achosion yn gwrthbrofi parhad pawb o'r saint hyd y diwedd; amlygant yn unig ein bod ni yn gamsyniol yn fynych yn ein barn yn nerbyniad aelodau i'n heglwysi. Y mae awdurdod ysbrydoledig wedi egluro y cyfryw achosion: "Oddi wrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt o honom ni: *canys pe buasent o honom ni, hwy a aroshasent gyda ni:* eithr hyn a fu fel yr eglurid nad ydynt hwy oll o honom ni:" 1 Ioan ii. 19. Iaith yw hon nas gellir ei chamddeall. Dylai benderfynu am byth y ddadl ar y pwnc mawr yma. Wrth bawb o'r cyfryw wrthgilwyr y dyweda Iesu yn y dydd diweddaf, "NIS ADNABUM chwi erioed" fel Fy saint I, hyd y nod pan brophwydasoch ac y gwnaethoch wyrthiau yn fy enw I. "Ewch ymaith oddi wrthyf, chwi weithredwyr anwiredd:" Matt. vii. 22, 23. Y mae gwrthgiliad oddiwrth broffes yn beth tra gwahanol i ddinystr hollol a therfynol y bywyd dwyfol mewn gwir sant. Ow! cymmer y blaenaf le yn rhy fynych, ond y diweddaf, nid byth.

c. *Dywedir fod yr Ysgrythyrau mewn llawer man yn cymmeryd yn ganiatâol y posiblrwydd o golledigaeth dragywyddol credinwyr.* Yn mlaenaf yn mhlith y cyfryw adnodau meddir, y saif: Heb. vi. 4–12. Y mae gwir eglurhad yr adnodau hyny, fodd bynag, yn amlwg. Yr achos osodir gerbron ydyw dyn a argyhoeddwyd o wirionedd Cristionogaeth, ac a brofodd rhai teimladau dedwydd yn ei

ddychweliad tybiedig, ac wedi derbyn hyd y nod ddoniau gwyrthiol yr Ysbryd Glân, ac wedi teimlo i ryw fesur nerth gair Duw a dychrynfëydd barn dragywyddol; ond ar ol hyny a wrthgiliodd, a ymunodd â gelynion yr Eglwys, a gadarnhaodd groeshoeliad ein Harglwydd fel gweithred gyfiawn; ac a'i herlidiodd Ef yn mhersonau Ei aelodau. I'r cyfryw nid oedd gobaith. Mai nid dyn gwir ailenedig yw y cymmeriad a ddysgrifir sydd amlwg. Cymharir ef i ddaear sydd yn "dwyn drain a mieri, agos i felldith, diwedd yr hon yw, ei llosgi: adn. 7, 8. Yn mhellach, nid oes un cyfeiriad yn adn. 4, 5. at na ffydd, nac edifeirwch, na chariad, nac at un nodwedd wir santaidd. Ac yn olaf, yn adn. 9fed, llefara yr Apostol am "bethau *gwell*" a "phethau yn nglŷn wrth iachawdwriaeth," fel pe awgrymai *nad* oedd y pethau a nododd yn flaenorol bob amser "yn nglŷn wrth iachawdwriaeth."

Hollol gyferbyniol ydyw iaith 2 Pedr ii. 20. "Canys os, wedi iddynt ddianc oddi wrth halogedigaeth y byd," &c. Yr achos a dybir ydyw diwygiad *allanol,* yn ganlyniedig gan syrthiad i sefyllfa waeth nag erioed. Felly gyda Luc viii. 13: Y cymmeriadau a ddysgrifir yno ydynt bersonau yr effeithir arnynt dros amser, ac a feddant ryw lawenydd gau, ond heb wreiddyn y mater, y rhai wedi'n, a giliant yn ol o'r byd. Felly gyda 1 Tim. i. 19, 20. Hymeneus, Alexander, ac ereill, a wnaethant unwaith broffes o ffydd a chydwybod dda, ond hwy a syrthiasant oddiwrth eu sicrwydd, ac a esgymmunwyd o aelodiaeth Eglwysig. Nid oes un rheswm i gasglu iddynt erioed fod yn wir ailenedig. Yr oedd fod Paul yn "cosbi ei gorff," gan ei "ddwyn yn gaeth," rhag iddo fod ei "hun yn annghymmeradwy," (1 Cor. ix. 27), yn eglureb o'i wyliadwriaeth dduwiol ohono ei hun, ac o'r ffaith, na ddichon un gwir sant byth ŵyrdroi athrawiaethau gras i benrhyddid. Yn Heb. x. 38, 39: y mae "Tynnu yn ol i golledigaeth" yn ddiammheu yn wrthgiliad oddiwrth broffes a diwygiad yn unig, canys dywedir am y rhai a wir gyfiawnhawyd eu bod yn credu i "gadwedigaeth yr enaid." Cadarnheir y golygiad yma trwy gyfeiriad at Hab. ii. 3, 4, o'r rhai y mae yr adnodau yn yr Hebreaid yn ddifyniad.

Pan ddywed Iesu yn Dad. iii, 5, na fydd i enw yr hwn

sydd yn gorchfygu gael ei ddileu allan o lyfr y bywyd, eithr y bydd iddo gael ei gyffesu gerbron y Tad a'i angelion santaidd, golyga yn ddiammheu yn unig ein sicrhau ni na fydd i *amgylchiadau dydd y farn ddim ond cadarnhau yr hyn y mae gras wedi ei wneuthur yn barod.* Nid yw y cwestiwn o bosiblrwydd eu gwrthgiliad *yn y bywyd hwn,* hyd y nod yn cael cyfeirio ato; canys at dynged y rhai sydd yn gorchfygu y mae y cyfeiriad. Y maent hwy i'w cydnabod gerbron cyfanfyd cynnulliedig, ac i'w cadarnhau yn dragywyddol yn y meddiant o fywyd mewn gogoniant.

Pan ddywedodd Moses, "Ac yn awr os maddeui eu pechod,—ac os amgen, dilëa fi, attolwg, allan o'th lyfr a ysgrifenaist:" atebodd yr Arglwydd, "Pwy bynnag a bechodd i'm herbyn, hwnw a ddilëaf allan o'm llyfr; Exod. xxxii. 32 33; y llyfr a fwriedir yn ddiau yw *llyfr y rhai byw.* Boddlon oedd Moses i farw, fel y gwaredid Israel. Crybwyllir am y llyfr hwn yn Salm lxix. 28: "Dilëer hwynt o lyfr y rhai byw." Gall y darllenydd gymharu hefyd, Gen. vii. 4 (darlleniad ymyl y ddalen); Deut. ix. 14; xxix. 20; Salm cix. 13,

*ch. Rhybuddir credinwyr yn fynych yn Ngair Duw, rhag gwrthgiliad.* Y rhai a dybiant eu bod yn sefyll ydynt i edrych na syrthiont: 1 Cor. x. 12. Y maent i wylied arnynt eu hunain a'u syniadau, ac i aros yn y gwirionedd fel y cadwer hwynt: 1 Tim iv. 16. Y maent i ddal yn well ar y pethau a glywsant, rhag iddynt un amser eu gollwng hwy i golli: Heb. ii. 1. Gwragedd duwiol a adgofir mai dim ond pan y gwelont yn dda y gallant brofi eu hunain yn ferched i Sarah: 1 Pedr iii. 6. Cynghorir y saint i fod yn ffyddlon hyd angau, fel y derbyniont goron y bywyd (Dad. ii. 10); dal yr hyn sydd ganddynt hyd oni ddelo Crist (adn. 25); fel na ddygo neb eu coron (iii. 11). Eglwysi wedi ymadael â'u cariad cyntaf a orchymmynir i edifarhau, a gwneuthur eu gweithredoedd cyntaf, rhag symud eu canhwyllbren allan o'i lle: Dad. ii. 4, 5.

Cynghorion o'r fath hyn i ffyddlondeb ydynt un moddion trwy yr hyn y galluogir saint i ddyfal barhau. Ceidw Jehofah Ei bobl mewn modd cysson â'u natur. Y mae saint yn fodau rhesymol, a chyfrifol, yn cael eu dylanwadu gan gymhellion, a'u llywodraethu gan ddeddfau priodol.

Nid peiriannau ydynt, eithr gweithredwyr personol. Y mae eu dyfal-barhad mewn santeiddrwydd yn ddyfal-barhad goleuedig, ewyllysgar, a chalonog. Nid achos o nerth a gorfodiaeth anianyddol ydyw, eithr *darbwylliaeth foesol ac effeithiol.* Ewyllysgar ydynt yn nydd nerth Duw. "Gweithiant allan eu hiachawdwriaeth eu hunain trwy ofn a dychryn; CANYS (*gár* geiryn achosiadol.) Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da Ef:" Phil. ii. 12, 13. Ac un o'r offerynau trwy ba un y cynnyrcha yr Ysbryd Glân mewn credinwyr yr *ewyllys* i ddyfal-barhau a'r *weithred* o ddyfal-barhad ydyw y gwir gynghor a ddefnyddia duwinyddion Arminaidd i brofi posiblrwydd eu syrthiad ymaith. Y cyfryw resymiadau pwysig ydynt; y fugeilffon â'r hon y ceidw y Bugail Ei ddefaid rhag myned ar gyfeiliorn.

*d. Y mae y frawddeg, syrthio oddiwrth ras, yn cael ei defnyddio yn yr Ysgrythyrau.* Diammheu y cyfarfyddwn â'r geiriau yma mewn dwy engraifft. "Gan edrych yn ddyfal na bo neb yn pallu (*ŭsterŏ,* darlleniad ymyl ddalenol, *cwympo*, er y dewisiwn yn hytrach yr hyn a roddir yn y testun) oddi wrth ras Duw:" Heb. xii. 15. "Chwi a aethoch yn ddifudd oddi wrth Grist, y rhai ydych yn (ceisio) ymgyfiawnhau yn y ddeddf: chwi a syrthiasoch ymaith oddi wrth ras:" Gal. v. 4. Yn y ddwy adnod yma defnyddir gras Duw yn ddiau yn drawsenwol am yr efengyl a'i dadguddia. Y mae y Testament Newydd yn orlawn o ddefnyddiadau cyffelyb o'r frawddeg. Fel yma "ymddangosodd gras Duw (yr efengyl a ddadguddia y gras hyny) gan ein dysgu ni," &c.: Tit. ii. 11, 12. Anfonodd Pedr ei lythyr at yr eglwysi yn Asia Leiaf, y rhai a sylfaenwyd gan Paul, gyda Silfanus (Silas) cydymaith Paul, i dystio iddynt fod Paul ac yntau yn pregethu yr un athrawiaeth, gan eu hysbysu mai "gwir ras Duw," (h. y. gwir efengyl gras Duw) a dderbyniasant, yn yr hwn yr oeddynt yn sefyll: 1 Pedr v. 12. Yn Gal. v. 4, ni ddywed Paul ond yn unig fod y proffeswr a gofleidia athrawiaeth cyfiawnhad trwy y ddeddf, yn ymwrthod â'r holl efengyl; gan fod y ddwy drefn yn hollol annghymmodadwy. Yn Heb. xii. 15, rhybuddir proffeswyr rhag eu *dyfod yn fyr* o ymostyngiad profiadol ac ymarferol i ddysgeidiaeth santaidd

efengyl gras Jehofah. Ni chyffyrddir â pharhad hyd y diwedd y gwir saint, gan y naill nâ'r llall o'r testunau uchod.

*dd. Y mae gwrthodiad y genedl Iuddewig, ac Iuddewon unigol fel y cyfryw, yn cael ei ddyfynu yn fynych yn ein herbyn.* Y mae yn eglur fodd bynag, nad yw y cyfeiriad yn berthynasol i'r ddadl. Nid oedd yr Iuddewon yn genedl o saint, yn yr ystyr efengylaidd. Yr oeddynt yn blant Abraham yn ol y cnawd, ond nid oedd y rhan fwyaf ohonynt ei had ysbrydol ef. Nid yw eu gwrthodiad hwy fel pobl yn dal un berthynas â'r pwnc ger ein bron.

Ac felly o barthed i adnodau lawer yn y rhai yr ymresyma y prophwydi â'r bobl yn *unigol*; fel, er engraifft, yn Eseciel xviii. 25—32, lle y cyfarfyddwn â geiriau fel yma: "Pan ddychwelo y cyfiawn oddi wrth ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd, a marw ynddynt; am ei anwiredd a wnaeth y bydd efe marw." Y mae cyferiad yn y geiriau yma yn ddiau "*at gyfiawnder allanol a gwladyddol y cyfammod Iuddewig*," (*Pye Smith's First Lines, p.* 611), yr hwn allasai Iuddew ei golli, ac felly wneuthur ei hun yn agored i'r barnau cyhoeddedig yn erbyn y cyfryw droseddwr. Ond mae y saint â rhan mewn gwell cyfammod, seiliedig ar "addewidion gwell." Y maent yn un â Iesu Grist, ac ni ellir byth eu gwahanu oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd ynddo Ef: Rhuf. viii. 38, 39. Dywed eu Pen gogoneddus am danynt hwy,—"Yr wyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol, ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw I:" Ioan x. 28. Deil y Tad tragywyddol hwy yn ngafael Ei gariad anfeidrol, tragywyddol, a digyfnewid (adn. 29); a gwarantir y bydd i'r Ysbryd Glân, yr hwn a ddechreuodd ynddynt y gwaith da, ei orphen hyd ddydd Iesu Grist:" Phil. i. 6. Fel yma diogelir eu prynedigaeth derfynol a chyflawn gan "rhaff deircainc," yr hon ni ellir byth ei thori: Preg iv. 12. Ni oddef Brenin dwyfol y cyfanfyd byth i'w drysor-ystafell gael ei thori yn agored; ni chaniatâ iddo Ei Hun gael Ei ysbeilio o ddim o dlysau Ei goron; rhaid iddynt ddysgleirio yn dragywydd yn Ei goron freiniol. Ni cha y byd, y cnawd, na'r diafol Ei ymddifadu o un o'r gemau anmhrisiadwy yma. "Byddant eiddof Fi, medd Arglwydd y Lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd:" Mal. iii. 17.

# PENNOD XIII.

## GOGONIANT DYFODOL Y CREDADYN.

Y MAE genym yn y bennod hon i ddilyn hanes prynedigaeth i'r byd tragywyddol. Ein dyledswydd blesurus ydyw bwrw golwg ar addysgiadau duwinyddiaeth Gristionogol yn eu perthynas â thynged *derfynol* y gwaredigion. Ac yn

I. CAWN YSTYRIED Y SANT YN Y SEFYLLFA GANOLOG NEU DDIGORFFEDIG. Ein hamcan fydd casglu y dystiolaeth Ysgrythyrol ar y pwnc yma, heb gyrchu, oddieithr er cael eglurebau cyfochrol, at ymresymiad arddansoddol neu olygiannol yn unig.

1. *Bydd y sefyllfa ganolog (intermediate) yn un o fodolaeth ymwybyddol.* Y mae y ddadl oddiwrth gyfatebiaeth er prawf o'r gosodiad yma yn cael ei gweithio allan yn rhagorol gan Esgob Butler yn ei bennod ar fywyd dyfodol. Yn y darn ymresymiadol rhyfeddol hwnw, profa yr ysgrifenydd yn eglur, "nas gallwn rhesymu *oddiwrth reswm y* peth fod angau yn ddinystr gweithredwyr byw, am na wyddom o gwbl beth ydyw angau ei hun, ond yn unig rhai o'i effeithiau, megis dattodiad cnawd, croen, ac esgyrn." Efe a ddengys i'r gwrthwyneb, "Nad oes dim yn sicrach nâ nad yw *rheswm y peth* yn dangos i ni DDIM cyssylltiad rhwng angau a dinystr gweithredwyr byw:" *Croly's Ed. pp.* 18, 19, *&c.* Ceisir gan y darllenydd nad yw wedi llwyr feistroli pob graddeg yn ymresymiad y bennod hono yn y Gyfatebiaeth, i wneuthur hyny cyn myned rhagddo gyda ein hadran hon.

Ond y ddadl gyfatebiaethol, yr hon "ni rydd un sail i feddwl y bydd dattodiad y corff hwn yn ddinystr ein galluoedd myfyriol *presenol* hyn, fel y bydd i'n galluoedd teimladol," *(Analogy p.* 29); ond i'r gwrthwyneb, a'i gwna yn *hollol debygol,* y "dichon i angau yn *uniongyrchol,* yn nghwrs naturiol pethau, ein gosod mewn sefyllfa o fywyd uwch ac ëangach, fel y gwna ein genedigaeth; sefyllfa yn yr hon y dichon i'n cynneddfau, a chylch ein hamgyffrediaeth a'n gweithrediad, fod yn llawer mwy nag yn bresenol," *(Analogy, pp.* 32, 33); a *brofir* gan ddadguddiedigaethau y gair Dwyfol.

Nad yw yr enaid yn cysgu, neu yn hanfodi mewn sefyllfa anymwybyddol, yn ystod y sefyllfa wahanedig [sydd

amlwg oddiwrth y tystiolaethau canlynol: "Am hyny yr ydym yn hyderus bob amser, ac yn gwybod, tra yr ydym yn gartrefol yn y corph, ein bod oddi cartref oddi wrth yr Arglwydd: yr ydym yn hŷf, ac yn gweled yn dda yn hytrach fod oddi cartref o'r corph, a chartrefu gyda'r Arglwydd:" 2 Cor. v. 6-8. Llefara yr Apostol yn y geiriau yma am Y DYN, neu o leiaf y rhan hono o'i natur a ymlawenha yn mhresenoldeb Crist, fel rhyw beth ar wahan oddiwrth y corff, yn alluog i fodoli mewn sefyllfa wahaneddig oddiwrtho, ac wedi ei thynghedu i fwynhau cymmundeb â'r Arglwydd yn y gyfryw sefyllfa wahanedig. Sefyllfa hefyd i'w chwenychu yn hytrach nâ'r bresenol, hyd y nod gan Gristion ac Apostol, yr hyn a brawf y bydd yn sefyllfa o weithgarwch a mwynhad; canys ni allai Paul santaidd, ymroddgar, ac egniol byth ddewis anymwybyddiaeth ac annheimladrwydd o flaen llafurio dros Grist. "Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw. Ac os byw fyddaf yn y cnawd, hyn yw ffrwyth fy llafur: a pha beth a ddewisaf, nis gwn. Canys y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeu-tu; gan fod genyf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw. Eithr aros yn y cnawd sydd fwy angenrheidiol o'ch plegid chwi:" Phil. i. 21–24. Y mae yr un sylwadau yn gymhwysiadol i'r adnodau hyn, ac i'r rhai a ddyfynwyd uchod. Dysgwyliai Paul ddechreu ar fwynhad ymwybyddol o bresenoldeb ei Feistr cán gynted ag yr ymadawai ei enaid â'r corff. Buasai ei arosiad yn y cnawd yn fuddiol i'r Eglwysi, eithr *oedai* hyny ei ddedwyddwch perffaith ef, yr hyn fodd bynag ni fuasai yn bod, os cysgu y mae y saint hyd yr adgyfodiad, a deffroi yr un pryd i ddedwyddwch. Yn ol y dyb hono, ni chollasai yr Apostol un mynydyn o ogoniant trwy aros yn y cnawd hyd seiniad udgorn Duw! "Chwi a ddaethoch at ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd:" Heb. xii. 23. Y mae y cyfeiriad yma yn ddiau at y saint ymadawedig, y rhai o barthed i'w purdeb a'u gwynfydedigrwydd ddywedir eu bod wedi eu perffeithio. Awgryma hyn yn eglur fod yr ysbrydoedd yma yn mwynhau bodolaeth *ymwybyddol.* "Mi a welais dan yr allor eneidiau y rhai a laddesid am air Duw ac am y dystiolaeth oedd ganddynt, a hwy a lefasant â llef uchel, gan ddywedyd," &c.: Dad. vi. 9, 10.

Nid ydym yn aros i egluro y geiriau hyn yn gyflawn. Yn unig dyfynwn hwynt yma fel yn dysgu, fod eneidiau y saint lladdedig yma yn mwynhau bodoldeb ymwybyddol ar ol eu merthyrdod. Gallent annerch Jehofah mewn iaith addolgar.

"Gwnewch i chwi gyfeillion o'r mammon anghyfiawn, fel, pan fo eisiau arnoch, y'ch derbyniant i'r tragwyddol bebyll:" Luc xvi. 9. Croesawir saint pan yn meirw i'r nefoedd. Dechreuant yn union ar eu gwynfydedigrwydd ymwybyddol. "Maent ger bron gorseddfaingc Duw, ac yn Ei wasanaethu Ef ddydd a nos yn Ei deml:" Dad. vii. 15. "Huna eu cyrff yn yr Iesu," h.y., dan Ei ofal, â'u hadgyfodiad yn sicredig trwy Ei waith iawnol; ond y mae eu heneidiau yn absenol o'u cyrff maluriol, ac yn bresenol *gyda'r* Arglwydd. "Felly y rhai a hunasant (o ran y corff) yn yr Iesu, a ddwg Duw hefyd (o ran eu heneidiau disgynol a pherffeithiedig) gyd ag Ef." Yr "Arglwydd Iesu Grist a ddaw gyda â'i holl saint" (gogoneddedig): 1 Thess. iv. 14; iii. 13.

Pa fodd y bodola yr enaid mewn sefyllfa wahanedig nis gwyddom. Y mae hyn yn ddirgelwch a adawwn i'w ddehongli gan ein profiad ein hunain. Y mae fodd bynag, amryw arddangosion, rhai yn neillduol o ddarganfyddiad diweddar, y rhai a ymddangosant fod braidd yn profi posiblrwydd gweithrediad yr enaid heb gymhorth y peiriannau synwyr. Dylai bywhad rhyfeddol y cynneddfau ysbrydol, a welwn yn fynych mewn saint pan yn meirw, pan fyddo yr enaid ar ddiosg ymaith y corff, pan mewn gwirionedd y byddo yr undeb rhwng y ddau ar gael ei dori, gryfhau ein ffydd yn rhesymoldeb dadguddiad yr Ysgrythyr o sefyllfa wahanedig.

2. *Bydd y sefyllfa wahanedig yn un ddedwydd.* Nid yn unig bydd yn sefyllfa o fodoldeb ymwybyddol, eithr o fodoldeb ymwybyddol dedwydd. Y mae i'w chwenychu yn hytrach nag aros yn y corff: 2 Cor. v. 1. Y mae yn elw mawr (Phil. i. 21); lawer gwell nag hyd y nod y bywyd Cristionogol yn y byd hwn (adn. 23); ac ynddi hi o ran eu heneidiau y gwneir y cyfiawnion yn berffaith: Heb. xii. 23. Preswylio mewn tragywyddol bebyll ydyw: Luc xvi. 9. Cael ein dwyn gan angelion i fynwes Abraham

ydyw: xvi. 22. Am y rhai sydd yn y sefyllfa hono y dywedir, "O herwydd hyny y MAENT (nid a *gânt* fod ar ol yr adgyfodiad) gerbron gorsedd-faingc Duw, ac yn Ei wasanaethu Ef ddydd a nos yn Ei deml: a'r hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-faingc a drig yn eu plith hwynt. Ni fydd arnynt na newyn mwyach, na syched mwyach; ac ni ddisgyn arnynt na'r haul, na dim gwres, oblegid yr Oen, yr Hwn sydd yn nghanol yr orsedd-faingc, a'u bugeilia hwynt, ac a'u harwain at ffynonau bywiol o ddyfroedd: a Duw a sych ymaith bob deigr oddi wrth eu llygaid hwynt:" Dad. vii. 15–17.

3. *Etto bydd y sefyllfa hon yn un ddysgwyliadol.* Yn y sefyllfa wahanedig, dim ond rhan o'n dynoliaeth sydd yn ogoneddedig. Y mae yr enaid, neu yr ysbryd, gyda Duw yr hwn a'i rhoes ef, (Preg. xii. 7), tra mae'r corff wedi ei adael i falurio yn y bedd. Ond rhaid prynu yr *holl* ddyn. Bu Crist farw er cadwedigaeth ein *holl* natur. Prynodd trwy Ei farwolaeth ddirprwyol y corff a'r enaid. A rhaid iddo gael mwynhau yr olygfa o berffeithiad terfynol pob sant, cyn y gwelo holl ffrwyth llafur Ei enaid, a chael Ei ddiwallu. Fel y mae dyn wedi ei gyfansoddi, nis gall efe yn ddiau gyrhaedd eithafnod ei wynfydedigrwydd, hyd nes y bydd ei holl natur wedi ei chydffurfio â delw y Dyn, Crist Iesu. "Ni ddyrchafodd Dafydd i'r nefoedd," *(o ran ei gorff*, Act. ii. 24), fel y dyrchafodd ei Arglwydd a'i Feistr. Y mae yr eneidiau yn y sefyllfa wahanedig, heb eu harwisgo etto â chorff ysbrydoledig yr adgyfodiad, yn yr hwn y maent yn y diwedd i artrefu: 2 Cor. v. 1–4. Ac y mae eu bod heb eu harwisgo fel yma yn dyniad yn ol ar eu dedwyddwch; am hyny yr Apostol Paul a ddywed, "Yn yr hyn nid ŷm yn chwenych ein diosg, ond ein harwisgo, fel y llyngcer yr hyn sydd farwol gan fywyd:" 2 Cor. v. 4. Y mae gwahaniad enaid a chorff yn effaith *ddygwyddiadol* syrthiad dyn. Nid oedd yn nghyfansoddiad gwreiddiol natur dyn un ddarpariaeth ar gyfer y fath gyflafan. Gan y ffurfiwyd dyn yn weithredydd deallol corfforedig, nis dichon ddyfod byth yn *ddyn perffaith* hyd nes yr ail gorffori ef. Am hyny rhaid i'r sefyllfa wahanedig o hyd fod yn un o "ddysgwyliad am y mabwysiad, sef prynedigaeth ein corff:" Rhuf. viii. 23. Canys nid hyd oni "ddarffo i'r llygr-

adwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb, y bydd i'r ymadrodd a ysgrifenwyd" gael ei wireddu, "Angau a lyngcwyd mewn buddugoliaeth:" 1 Cor. xv. 54. Yna, wedi i'r bedd dywallt allan ei gynnwysiad, a phob enaid gogoneddedig gael ei arwisgo â'i gorff yn yr adgyfodiad, bydd yr Eglwys yn abl i floeddio, "O angau, pa le mae dy golyn? O fedd, pa le mae dy fuddugoliaeth:" adn. 55. Patriarchiaid, a phrophwydi, ac apostolion a ddysgwyliant yn dduwiolfrydig am wawriad dydd *perffeithiad* eu prynedigaeth. Gyda llawenydd y disgynant gyda eu Harglwydd i gael eu harwisgo â'u tŷ nefol.

4. *Lle y saint yn y sefyllfa wahanedig yw y nefoedd.* Nid ydynt yn bodoli mewn unrhyw GYFRYNGLE, neu diriogaeth ganolog, yr hon nid yw nef na daear. Maent yn "mynwes Abraham" brawddeg Iuddewig am y nefoedd. Wedi eu derbyn i'r "tragywyddol bebyll." Yn Mharadwys: Luc xvi. 22, 9; xxiii. 43. Y maent "gerbron gorsedd-fainc Duw, ac yn Ei wasanaethu Ef ddydd a nos yn Ei deml:" Dad. vii. 15. Yn "cartrefu gyda'r Arglwydd:" 2 Cor. v. 8, a Phil. i. 23, ac y mae Efe yn y nefoedd yn ddiau. Am hyny, pan ddisgyno Efe o'r nefoedd yn y dydd olaf, bydd i ysbrydoedd y cyrff a hunasant ynddo Ef, ddisgyn gydag Ef: 1 Thess. iv. 14.

Rhaid i ysbrydoedd neu eneidiau meidrol gael lle i breswylio (*locus habitandi*). Rhaid fod y nefoedd, preswylfa y cyfryw fodau, yn lle. Nis gallwn wahanu y meddylddrych o *le* oddiwrth eneidiau meidrol mwy nag y gallwn oddiwrth *gyrff* meidrol. Duw yn unig sydd yn mhob man. Ond pa le mae y byd dysglaer hwnw, nis gwyddom. Yn mha barth o gyfanfyd Jehofah, anmhosibl ydyw i ni sicrhau hyd nes y cyrhaeddom ei wastadedd dedwydd, ac ymgymmysgu â'i gymdeithas. Rhaid i ni aros am y wybodaeth yma, hyd oni roddo profiad hi i ni.

5. *Ni rydd y sefyllfa wahanedig un ffordd o adferiad i'r rhai ydynt yn meirw mewn cyflwr o ddyeithrwch oddiwrth Dduw.* Eglur yw mai dychymmygion ydyw y *Patristic Limbus Patrum*, a *Limbus Infantum*, yn nghyd â Phurdan Eglwys Rufain, seiliedig ar *lygriadau* testunau yr Ysgrythyr. I ddisgyniad tybiedig Crist i uffern, a'i

rhyddhad o'r eneidiau carcharedig yno, nid oes un sail yn yr Ysgrythyr. Dysgrifia Col. ii. 15, y fuddugoliaeth ennillodd Iesu yn y weithred o farw, fel y profa yr adnod flaenorol, y 14eg yn eglur ("gan ei hoelio wrth y groes"). Nid yw Matt. xii. 32, yn awgrymu y maddeuir *un* pechod "yn y byd a ddaw," ffurf gref o osod allan na faddeuir *byth* y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glân yn unig ydyw. Act. ii 31, yn unig a esyd allan na adawwyd enaid dynol ein Harglwydd yn arosol yn sefyllfa yr ysbrydoedd gwahanedig *(Hades)*, "ac nas gwelodd Ei gnawd Ef lygredigaeth." Eph. iv. 9, yn ddiau a gyfeiria at gladdedigaeth ac adgyfodiad ein Harglwydd. 1 Pedr iii. 18–20, yn unig a ddywedant i Grist trwy yr Ysbryd yn mherson Ei was Noah, fyned a phregethu i'r cyn-ddiluwiaid, y rhai, pan ysgrifenodd Pedr ei epistol oeddynt yn ngharchar uffern, gyda phawb pechaduriaid diras ereill, yn aros barn y dydd diweddaf: 1 Pedr iv. 6, a hysbysa i'r efengyl gael ei phregethu mewn oesau blaenorol i ddynion y rhai oeddynt yn feirw pan ysgrifenodd Pedr,—fel y buasai iddynt fyw bywyd santaidd, ysbrydol ei natur, a rheoledig gan ewyllys Duw, tra darfu i'r byd eu collfarnu a'u herlid yn ystod eu preswyliad yn y corff.

II. Y RADD NESAF YN NGOGONIANT DYFODOL Y CREDADYN FYDD ADGYFODIAD EI GORFF.

O barthed i'r athrawiaeth oruchel ond dirgelaidd hon, dadguddia yr Ysgrythyrau Santaidd y ffeithiau canlynol:—

1. *Bydd i adgyfodiad saint a phechaduriaid gymmeryd lle yr un pryd.* Dysgir hyn yn eglur a diammheuol mewn adnodau lawer, megis er engraifft y rhai canlynol:—Dywedir i ni yn Ioan v. 28, 29, y "caiff *pawb* ar sydd yn y beddau glywed lleferydd *Mab y Dyn*," *yr un awr, neu amser*, ac y "deuant allan, y rhai wnaethant dda, i adgyfodiad bywyd; ond y rhai a wnaethant ddrwg, i adgyfodiad barn." Yn Dad. xx. 12–15, cawn y meirw wedi eu cyfodi oll, ac yn cael eu barnu yr un amser, y rhai a ysgrifenwyd yn llyfr y bywyd (os amgen paham yr agorwyd y llyfr hwnw) a'r rhai ni chafwyd wedi eu hysgrifenu ynddo. Yn 1 Cor. xv. 52, darllenwn, "yr udgorn a gân, a'r MEIRW a gyfodir," nid meirw un dosparth yn unig, eithr y meirw yn gyffredinol. A dysgodd yr Athraw ei Hun ni, yn Matt.

xxv. 31–46, y bydd iddo yn y dydd diweddaf, wedi eu hadgyfodi yn nghyntaf, farnu *pawb yn nghyd;* eu didoli hwynt oddiwrth eu gilydd, megis y didola bugail y defaid oddiwrth y geifr; yr hyn a brawf na fu dim didoliad barnedigol o'r fath yn flaenorol; ac fel effaith trefniadau yr *un cyfnod hwnw*, y "rhai melldigedig a ânt i gospedigaeth dragwyddol, ond y rhai cyfiawn i fywyd tragwyddol."

Yr adnodau sydd wedi arwain rhai esbonwyr i osod cyfwng o fil o flynyddoedd rhwng adgyfodiad credinwyr ac annghredinwyr ydynt y rhai canlynol:—Dad. xx. 4–6, lle y darllenwn am '*adgyfodiad cyntaf.*" Iaith ffugyrol yw hon fodd bynag, a rhaid ei deall fel yn golygu adgyfodiad *ysbrydol.* Yn ystod y mil blynyddoedd yma, cyfodir i fyny ddynion dros yr holl ddaear, yn fywiedig gan sel ac ymwadiad yr apostolion a'r merthyron. Bydd i wroniaid hen amseroedd yr Eglwys, megis, fyw drosodd drachefn, mewn personau o ysbryd cyffelyb, y rhai a addurnant gyfnod y milflwyddiant. Megis y gelwir Ioan Fedyddiwr yn Elias (Mal. iv. 5, cymharedig â Matt. xi. 14), nid am ei fod felly yn yr ystyr lythyrenol, yn yr hon y deallai yr Iuddewon y brophwydoliaeth (Ioan i. 21); eithr am ei fod yn fywiedig gan "ysbryd a nerth Elias:" Luc i. 17. Ar yr un egwyddor, y rhaid i ni ddehongli gweledigaeth dyffryn yr esgyrn sychion, yn Ezec. xxxvii. yr hon yn ddiau a fwriadwyd yn brophwydoliaeth o'r diwygiad gwladyddol a chrefyddol oedd i gymmeryd lle yn mhlith y bobl Iuddewig. Nid oedd un adgyfodiad llythyrenol *o'r un* personau i gymmeryd lle, ond yr oedd y *genedl* i'w hadferyd i fwy nâ'i gallu a'i phurdeb blaenorol. Cymhared y darllenydd adnodau yr 11 a'r 14eg â'r 21 a'r 28ain er prawf sicr o wirionedd y sylw yma. Felly mae'n eglur nad yw Dad. xx. 4 i'w deall am adgyfodiad *yr un* personau, eithr am gyfodiad moesol ac ysbrydol ereill o'r un nodweddiad. Y mae yn weladwy, nad ydym yn cael yn yr adnod yma y naill na'r llall o'r brawddegau—*adgyfodiad y corff* nag *adgyfodiad y meirw.* Cymhared y darllenydd hi ag adn. yr 11–15, o'r un bennod, lle, y pwnc yn ddiau yw, adgyfodiad cyffredinol a llythyrenol y *meirw oll,* a gwel ar unwaith oddiwrth arddull gwahanol y dysgrifiad, nad yw y ddau adgyfodiad o'r un natur. Y 5ed adnod a'n hysbysa yn

unig, na fydd adgyfodiad cyffelyb o ddynion bywiedig gan ysbryd *gelyniaethol i'r Eglwys*, hyd tua diwedd neu derfyniad y mil blynyddoedd.

Yr adnod arall a ddyfynir yn gyffredin i brofi y bydd dau adgyfodiad llythyrenol o'r meirw, yw 1 Thess. iv. 16. "A'r meirw yn Nghrist a gyfodant yn gyntaf." Profa y cyd-destun fodd bynag, nad yw y geiriau yma yn dysgu dim athrawiaeth o'r fath a dau adgyfodiad llythyrenol o'r meirw. Yr Apostol yn unig a ddywed, na fydd i'r saint fyddant byw yn nyfodiad yr Arglwydd, rhagflaenu y rhai a hunasant (adn. 15); oblegid pan ddisgyna yr Arglwydd, y meirw yn Nghrist a gyfodant yn nghyntaf (adn. 16), " "yna ninau y rhai byw, y rhai a adawwyd, a gipir i fyny gyda hwynt yn y cymmylau, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr: ac felly y byddwn yn wastadol gyd â'r Arglwydd:" adn. 17eg. Ni wneir cymmaint â chyffwrdd â'r cwestiwn o gyntaf ac ail adgyfodiad.

2. *Nid creadigaeth fydd y cyfnewidiad hwn, eithr adgyfodiad.* Gall y darllenydd droi i 1 Cor xv. 42–54, er cadarnhad i'r sylw yma. Bydd yr adgyfodiad yn rhyw fodd yn adffurfiad o'r hen gorff. Ohono ef y dadblygir y corff newydd. Nid creadigaeth yn hollol fydd, eithr adffurfiad. Pa fodd y gwneir hyn nis gwyddom. Tybia rhai arddansoddwyr, ac yn mhlith ereill, Samuel Drew, yn ei "*Identity and Resurrection of the Human Body*," y cedwir hedyn yn achos pob un rhag dinystr yn y bedd, neu rhag ymdebygiad i unrhyw gorff byw cyfluniol arall; ac mae yr hedyn yma fydd gwreiddyn neu sail corff yr adgyfodiad, gan gadw fel hyn y cyfnewidiad rhag bod, yn yr ystyr helaethaf, yn greadigaeth. Dyfynir y ffugyr hedyn a'r corff a roddir iddo, ddefnyddir gan yr Apostol yn I Cor. xv. 35–38, gyda grym mawr er cadarnhad i'r golygiad yma.

Gellir cael eglureb hefyd oddiwrth y cyfnewidiadau o dan ba rai yr â llawer o greaduriaid; megis er engraifft y lindys (*Caterpillar*), yr hwn a ymnewidia i chwileryn, ac yna i bryf adeiniog prydferth; a'r creadur etto yr un, mewn ryw ffordd ddirgelaidd, trwy yr holl ddadblygiadau hyn. Yn y cyfryw achos ni ddywedai neb fod y pryf adeiniog yn greadigaeth newydd, eithr adffurfiad. Y mae fferylliaeth,

ac yn neillduol fferylliaeth cyrff anifeilig, yn dechreu taflu peth goleuni ar athrawiaeth yr Ysgrythyr o adgyfodiad; a gwna fwy etto, yn ddiammheu yn y cyfeiriad hwn. Yn y cyfamser erys yr adgyfodiad yn hollol yn athrawiaeth dadguddiad, er yn cael ei chadarnhau a'i hegluro gan amryw arddangosion cyfatebiaethol.

3. *Bydd y cyfnewidiad a effeithir yn y corff dynol gan yr adgyfodiad yn drwyadl.* Y tebygolrwydd yw y bydd y cyfnewidad mor gyflawn â'r un a effeithir yn y gronyn (1 Cor. xv. 37), a ymddadblyga i'r eginyn a'r dywysen; neu yr un a effeithir yn nghorff y chwileryn pan dröir ef i eilir (*butterfly*). Dysgrifia yr Ysgrythyrau, mewn gwirionedd, y cyfnewidiad fel yn drwyadl ac yn gyflawn. "Nid y corff a fydd yr ydwyt yn ei hau." "Efe a hauir mewn llygredigaeth, ammharch, a gwendid, ac a gyfodir mewn anllygredigaeth, gogoniant a nerth. Efe a hauir yn gorff anianol, ac a gyfodir yn gorff ysbrydol:" 1 Cor. xv. 37—43. Beth all corff ysbrydol fod, nis gallwn ddirnad. Profiad yn unig eill egluro y dirgelwch hyny. Y mae un peth wedi ei *ddadguddio*, ni wneir ef o gig a gwaed, fel ein cyrff presenol, adn. 50; canys "ni ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw." Ni feithrinir corff yr adgyfodiad, fel yr eiddom ni yn awr: oblegid "ni fydd arnynt na newyn na syched mwyach:" Dad. vii. 16. Ni chynnyrchir y cyfryw gorff chwaith fel cyrff dynol yn awr. "Oblegid yn y nefoedd nid ydynt yn gwreicca nac yn gwra, eithr y maent fel angelion Duw:" Matt. xxii. 30. Ond mae y cyfnewidiadau hyn oll, a'u gosod yn nghyd, yn cynnwys yn eglur *ffurfnewidiad gwreiddiol.* Llywodraethir yr holl gyfnewidiadau o dan ba rhai yr â cyrff cyfluniol byw gan un egwyddor sylfaenol; yn mhob cyfnewidiad elfen, neu sefyllfa, rhoddir i'r anifail gorff *cyfaddas i'w ddullwedd newydd o fodolaeth.* Am hyny, pan symudir creadur a arferod fyw mewn dwfr, neu ymlusgo ar y ddaear, i elfen arall, dyweder, er engraifft yr awyr (fel yn achos y lindys yn cael ei droi i'r eilir), rhoddir iddo bob amser gyfluniad newydd hollol, cyfaddas i'w amgylchiadau newidiedig. Rhoddir iddo alluoedd nad oedd iddynt ddim yn atebol yn ei ffurfiad gwreiddiol.

Yn awr, rhwng ein cyrff presenol a'r sefyllfa nefol, y

mae annghydweddiad amlwg ac anorfodadwy: canys ebe yr Apostol "Ni DDICHON cig a gwaed eitifeddu teyrnas Dduw, ac nid yw llygredigaeth yn etifeddu anllygredigaeth:" 1 Cor. xv. 50. Gwelir yr angenrheidrwydd gan hyny, am gyfnewidiad o'r fath a ddadguddia yr Ysgrythyrau, i addasu ein cyrff i'r byd nefol. Bydd rhaid i ni wrth gyrff ysbrydol i'n cymhwyso i'r sefyllfa ysbrydol hyny: adn. 44. Rhaid i'r corff a'r sefyllfa fod yn atebol i'w gilydd.

4. *Y cynllun o gorff y credadyn yn yr adgyfodiad, fydd corff gogoneddus Crist.* Yn ei ddadl yn nghylch adgyfodiad y *corff*, dywed yr Apostol: "Ac megis y dygasom ddelw y daearol (Adda), ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol (yr ail Adda):" 1 Cor. xv. 49. "Yr Arglwydd Iesu Grist a drawsffurfia *(metaschēmatisei)* gorff ein hymddarostyngiad, fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus Ef," neu Ei gorff gogoneddedig: Phil. iii. 21. "Pan ymddangoso Efe, byddwn gyffelyb iddo:" 1 Ioan iii. 2. Bydd corff gogoneddedig ein Harglwydd, felly, yn arlun o gyrff yr holl saint yn yr adgyfodiad. Ond pa mor ogoneddus a mawreddog ydyw y corff hwnw, pwy fedr ddywedyd? Nid y corff yn yr hwn yr ymddangosodd ein Harglwydd i'w ddysgyblion ar ol Ei adgyfodiad ond cyn Ei esgyniad, oedd, canys nid oedd wedi Ei ogoneddu etto: Ioan xx. 17. Y corff hwnw a welodd Stephan ar ei ferthyrdod oedd, "yn eistedd ar ddeheulaw Duw: Act. vii. 56, gwelediigaeth o ba nn a darawodd yr anwyl Ioan fel un marw, gan arswyd a rhyfeddod: Dad. i. 17. Gwel tud. 218. Pan gydffurfir y credadyn fel yma â delw Crist yn nwy elfen Ei natur, bydd ei debygolrwydd yn gyflawn; a phryd y cymmer y trawsffurfiad yma le yn yr holl saint, bydd pryngaeth yr eglwys wedi ei pherffeithio:" Rhuf. viii. 23.

Adgyfodiad y Messiah yw *gwystl a sicrwydd* yn gystal â chynllun yr eiddom ni, "Eithr yn awr Crist a gyfodwyd oddiwrth y meirw, ac a wnaed yn flaenffrwyth y rhai a hunasant:" 1 Cor. xv. 20. "Eithr pob un yn ei drefn ei hun; y blaen-ffrwyth yw Crist, wedi hyny y rhai ydynt eiddo Crist, yn Ei adgyfodiad Ef: adn. 23. Ei adgyfodiad Ef oedd ysgub gyhwfan gyssegredig cynhauaf mawr adgyfodiad y meirw (Gwel hefyd Act. xvii. 31. a'r xxvi. 23), yn gwarantu cynnulliad y gweddill oll. Yn 2

Cor. v. 1—4, pwnc yr Apostol yw y corff adgyfodedig yma, ac nid y nefoedd. Y mae hyn yn eglur oddiwrth y ffaith y dywedir ei fod "o'r nef," ac 'yn y nefoedd" (adn. 2, a'r 4); eglur yw, gan hyny, nas gall fod yr un peth a'r nefoedd. Yn yr adnodau cymhwysiadol hyny, dywedir fod corff presenol y credadyn y "babell," yn "ddaearol," "a ddattodir," "yn llwythog" a "marwol." Ond bydd corff yr adgyfodiad yn "adeiliad gan Dduw," "tragywyddol," a'r "nefoedd" yn lle iddo Bydd "o'r nef" o ran y gallu trwy ba un y ffurfir ef; a phryd yr arwisga y credadyn ef, llyncir yr hyn sydd farwol gan fywyd. Bydd gweddill olaf y melldith cyntefig wedi myned.

5. *Effeithir yr adgyfodiad gan allu ein Harglwydd.* Ei leferydd Ef a gyfyd y meirw: Ioan v. 28, 29. Cyrff y saint a hunant yn Iesu: (1 Thess. iv. 14) h.y., dan Ei ofal ceidwadol; a'i allu Ef, a'u hadfer yn y dydd diweddaf. Dyma oeddynt ei eiriau mawreddog yn nyddiau Ei gnawd: "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd; yr hwn sydd yn credu ynof Fi, er iddo farw, a fydd byw; a phwy bynag sydd yn fyw, ac yn credu ynof Fi, ni bydd marw yn dragywydd:" Ioan xi. 25, 26. "Yr Arglwydd Iesu Grist a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel &c.: Phil. iii. 21. "Crist yw bywyd" ein cyrff a'n heneidiau: Col. iii. 4. Cedwir y fuddugoliaeth yma ar angau, i rasloni ail-ddyfodiad Emmanuel i farn. Y mae ar ei ben yn barod goronau lawer; ond hon fydd y ddiweddaf a ga addurno Ei deyrnasiad Cyfryngol. Hon fydd uchafnod Ei fuddugoliaeth. Pryd hyn bydd pob gelyn wedi ei ddarostwng. "Y gelyn diweddaf a ddinystrir yw yr angau:" 1 Cor. xv. 26. "Yna y bydd yr ymadrodd a ysgrifenwyd, Angau a lyngcwyd mewn buddugoliaeth:" adn. 54. Llyncir yr hyn sydd farwol gan fywyd: 2 Cor. v. 4. Bydd buddugoliaeth cariad a gallu Cyfryngol yn gyflawn—a bydd fel pe na fuasai un melldith wedi bod erioed.

6. *Canlynir yr adgyfodiad yn union gan y farn ddiweddaf.* Casglwn hyn oddiwrth Matt. xxv. 31—46, a Dad. xx. 11–15. Cyfodir y meirw i'w barnu. Ond dichon y gofynir paham y bydd yr *ail* farn hon, os yw yr ysbryd yn *angau* yn dychwelyd at Dduw, yr hwn a'i rhoes ef, ac yn union naill ai yn ddeddwydd neu ynte yn druenus? Atebwn

fel y byddo i'r farn gael ei chadarnhau yn gyhoeddus yn ngwyddfod cyfanfyd cynnulliedig; a chymmeryd effaith, ar y dyn *oll*, ar y *corff* yn gystal a'r *enaid*. Mewn atebiad i'r wrthddadl inffidelaidd, y bydd yn greulawn yn Nuw gyfodi cyrff dynion pechadurus, yn unig er dangos Ei gyfiawnder yn eu cospedigaeth, atebwn fod yr wrthddadl yma mewn effaith yn gwrthod, pob llywodraeth foesol; canys oni all Duw gospi troseddwyr yn ol eu haeddiant, yna ni all Efe weinyddu unrhyw lywodraeth foesol o gwbl, a rhaid gadael y cyfanfyd rhesymol heb gyfraith. Heblaw hyn, cofier yn wastad fod yr adgyfodiad, trwy drugaredd Duw yn yr efengyl, yn dyfod yn bosibilrwydd gogoniant difesur i ddynion. Eu hanedifeirwch a'u hanngrediniaeth hwy yn unig a'i trŷ yn ddrychineb ofnadwy. Gwel Ioan v. 29.

7. *Cymmer yr adgyfodiad le yn niwedd yr oruchwyliaeth bresenol.* Y mae pob goruchwyliaeth flaenorol wedi terfynu yn hon. Arwyddwyd hyn ar fynydd y gweddnewidiad, pan ymddangosodd Moses, rhoddwr y gyfraith, ac Elias ei hadferydd, i dalu gwarogaeth i Iesu Grist, ei chyflawnydd; a phan gyhoeddodd Jehofah, y Tad, i'r *holl oesoedd dyfodol*: "Hwn yw Fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd: gwrandewch arno Ef:" Matt. xvii. 5. Yr ydym yn awr wedi "*derbyn teyrnas ddisigl*" Heb. xii. 28; nid yw goruchwyliaeth trugaredd ddwyfol dan ba un yr ydym yn byw i'w bwrw heibio byth gan un arall fel y gwnaed a goruchwyliaeth Moses. Dyma y "dyddiau *diweddaf*, yn y rhai y llefarodd Duw wrthym ni yn Ei Fab, yr hwn a wnaeth Efe yn etifedd pob peth:" Heb. i. 1, 2. "Y dyddiau *diweddaf* yn y rhai y tywallta Ei Ysbryd ar bob cnawd:" Act ii. 17. Arnom ni "y daeth terfynau yr oesoedd (h.y., yr oruchwyliaeth ddiweddaf, neu y cyfnod a'r ffurf hono o weinyddiaeth ddwyfol, o dan yr hon y dirwynir i fyny amgylchiadau y byd—*Barnes*): 1 Cor. x. ii. Dechreuodd y dyddiau, neu yr oruchwyliaeth ddiweddaf, ar ddydd y Pentecost, a pharha hyd udganiad udgorn Duw.

Cyfnod dysglaer yn yr oruchwyliaeth hon yn unig fydd y milflwyddiant. Ni ddwg i mewn un elfen newydd yn llywodraethiad daear, neu Eglwys Dduw. Bydd yn rhan yn unig o'r dyddiau diweddaf, neu oruchwyliaeth yr efengyl. Ar ol y milflwyddiant y bydd yr adgyfodiad, nid o'i flaen.

Fel y gwelsom (tud. 290), un ffugyrol ac ysbrydol yw yr adgyfodiad cyntaf: Dad. xx. 4–6. Ni ddinystria angau, canys tua *diwedd y milflwyddiant* yr ydym yn cael y syrthiad ymaith diweddaf, yr ail frwydr fawr â Gog a Magog, a dinystr lluoedd gelynion Duw: Dad. xx. 7–9. Eglur yw mai ar ol y milflwyddiant y bydd adgyfodiad *cyrff* dynion, a llynciad angau mewn buddugoliaeth.

III. Deuwn yn awr i wneuthur ymchwiliad i ogoniant y credadyn yn ei sefyllfa derfynol a pherffeithiedig. Mewn eglurhad o'r pwnc goruchel yma, cawn yn unig gasglu yr hyspysrwydd y mae Jehofah wedi weled yn dda roddi.

1. *Caiff yr Eglwys ogoneddedig le mawreddog i breswylio.* Y mae y meddylddrych o le (fel y sylwasom yn barod o barthed i'r sefyllfa wahanedig), o angenrheidrwydd yn nglyn â bodau meidrol. Rhaid iddynt fyw yn rhyw le; ond *pa le* y bydd preswylfod dragwyddol y prynedigion, nis gwyddom. Diammheu y bydd yn fath o brif ddinas i'r cyfanfyd, lle y cynnalia Brenin y breninoedd Ei lys, ac yr arddengys Ei fawrwychedd breiniol. Yno y bydd Ei orsedd-fainc a'i deml: Dad. xxii. 3; a'r xxi. 22. Pa un a fydd yn gyfyngedig i un byd, neu ynte y cynnwysa fydoedd lawer yn ei thiriogaeth ëang a gwynfydedig, nid ydym yn gwybod. Darllenwn am "nefoedd newydd a daear newydd, yn y rhai y bydd cyfiawnder yn cartrefu:" 2 Pedr iii. 13, ar ol y golosgiad cyffredinol diweddaf; adn. 11, 12; oddiwrth yr hyn yr ymddengys yn debygol y bydd, y ddaear adnewyddedig, yn un parth, o ymerodraeth y prynedigion. "Yn nhŷ Fy Nhad," ebe Iesu, "y mae llawer o drigfannau: a phe amgen, Mi a ddywedaswn i chwi; yr wyf Fi yn myned i barottoi lle i chwi:" Ioan xiv. 2. Beth ydyw y trigfannau lawer hyny, a pha le y maent, chawn ni ddim gwybod hyd nes y cyrhaeddom hwynt. Un peth, fodd bynnag, a gasglwn oddiwrth yr holl gyfeiriadau Ysgrythyrol at y sefyllfa nefol, sef, *fod pob peth yn y byd dedwydd hwnw yn annirnadwy brydferth.* Dysgir hyn gan arwyddoniaeth *(symbology)* ysblenydd y Dadguddiad. Yno y mae pob peth all fod yn dramgwyddus i'r llygad, wedi ei symud, ac y mae pob golygfa allanol yn ogoneddus gan brydferthwch, ac yn gweini i'r

mwynhad uchelaf. Y mae y *lle* hwn yn deilwng o'r sefyllfa.

2. *Bydd pob credadyn wedi ei berffaith gydffurfio â delw ei Arglwydd.* Pan y bydd i ddwy elfen ei natur gael eu huno etto a'u gogoneddu, bydd y sant wedi ei wneuthur yn gwbl debyg i Iesu. "Anwylyd, yr awr hon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn; eithr ni a wyddom, pan ymddangoso Efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn Ei weled Ef megis ag y mae:" 1 Ioan iii. 2. Bydd Ei enw Ef yn ein talcenau:" Dad. xxii. 4. Bydd i'w gymmeriad gael ei adlewyrchu yn yr eiddom ni. Ei natur ddynol ddyrchafedig Ef fydd y cynllun yn ol pa un y cydffurfir yn dragywyddol yr eiddom ni. Byddwn debyg i'n Harglwydd mewn corff, enaid, a chymmeriad. Y mae dynoliaeth yn mherson y Crist wedi cyrhaedd eithafnod ei hanrhydedd, fel y byddai i'r holl brynedigion gael eu dyrchafu i gyfranogiad o'i gogoniant.

3. *Bydd pob sant yn mwynhau cymmundeb uniongyrchol â "Duw yn Nghrist."* Dysga yr Ysgrythyrau y bydd i ni gael cymdeithasu yn dragwyddol â'r Tad a'r Ysbryd trwy y Mab. Ond Duwdod personol y Tad a'r Ysbryd, ni chawn byth ei weled. "Nid oherwydd gweled o neb y Tad." "Ni welodd neb Dduw (y Tad) erioed: yr uniganedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hyspysodd Ef." "Ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab, a'r hwn yr ewyllysio y Mab ei ddadguddio iddo." Efe ydyw y "Brenin anweledig." Mae yn "trigo yn y goleuni, ni ellir dyfod atto. Yr hwn nis gwelodd un dyn, ac NIS DICHON EI WELED: Ioan vi. 46; i. 18; Matt. xi. 27; 1 Tim. i. 17; vi. 16; a Ioan iv. 12.

Pan ddywed ein Harglwydd gan hyny, "Gwyn eu byd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw: (Matt. v. 8), rhaid i ni Ei ddeall fel yn golygu *y cânt weled Duw yn Nghrist.* Y mae yr Ysgrythyrau yn orlawn o ddysgrifiadau felly o'r nefoedd. Gwnaed y darllenydd ystyried yr engreifftiau canlynol: "Cartrefu gyda'r Arglwydd:" 2 Cor. v. 8; "A hwy a gânt weled ei wyneb Ef:" Dad. xxii. 4; "Bod gydâ Christ:" Phil. i. 23; "Fel lle yr wyf Fi, y byddwch chwithau hefyd:" Ioan xiv. 3; "Lle

yr wyf Fi, fod ohonynt hwythau hefyd gydâ Myfi, fel y gwelont Fy ngogoniant:" xvii. 24; "Ond, yna wyneb yn wyneb:" 1 Cor. xiii. 12; "Cawn ei weled Ef megis ag y mae:" 1 Ioan iii. 2; "Yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'r Oen, yw ei theml hi:" Dad. xxi. 22; "Gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen:" adn. 23; Gorsedd-faingc Duw a'r Oen a fydd ynddi hi, a'i weision Ef, &c.: xxii. 3. Am hyny, megis ag yn yr amseroedd Patriarchaidd, Moesenaidd, Prophwydoliaethol a Christionogol, yr holl amlygiadau o'r Duwdod oeddynt ymddangosiadau y Mab, felly y bydd hefyd yn y nefoedd. Cymdeithasir yn dragwyddol a'r Arglwydd Dduw Hollalluog trwy Ei Fab ymgnawdoledig.

4. *Bydd i bob un yn y nefoedd gael gwasanaeth santaidd a dedwydd.* Nid yw y byd dysglaer hwn yn artrefle segurdod. Nid lle i ddifaterwch breuddwydiol fydd y nefoedd; eithr bydd ein holl alluoedd prynedig mewn llawn waith yn ddiddiwedd. "A'i weision Ef a'i gwasanaethant Ef." "Ni fyddant yn gorphwys ddydd na nos." "Byddant gerbron gorsedd-faingc Duw, ac yn Ei wasanaethu Ef ddydd a nos yn Ei deml." "Canys ni bydd nos yno:" Dad. xxii. 3; iv. 8; vii. 15; xxi. 25. Ni fydd angen gorphwysdra arnom, canys byddwn yn ddyeithriaid i lygredd a gwendid. Ni ddichon llinellau a rhychiau henaint, byth ymddangos ar wynebpryd preswylydd y nefoedd. Mewn gogoniant, nis gall saint Duw wybod beth yw lluddiedigrwydd. Beth fydd gwasanaeth neillduol y nefoedd, nid ydym yn gwybod. Diau y bydd yn cynnwys y *myfyriol* a'r *gweithredol:* 1 Pedr i. 12; Dad. xxi. 3. Bydd y deall, y galon, y serchiadau, a holl gynneddfau y corff ysbrydol, mewn llawn waith yn wastadol yn ngwlad y gwynfydedigion. Mewn gwirionedd, bydd gwasanaeth yn ffynonell dedwyddwch. Yn yr ymarferiad priodol o'u galluoedd yn unig y gall creaduriaid fod yn ddedwydd. Y mae hyn yn wir am bob urdd a gradd, o'r pryf-undydd at y seraph. Yn yr ymgyflwyniad perffaith o'n holl gynneddfau i wasanaeth a gogoniant Duw y bydd i ni gyrhaedd pinacl ein gwynfydedigrwydd.

5. *Bydd i'n gwybodaeth o bob natur gael eu cynnyddu yn ddirfawr yn y nefoedd.* Cywirir holl gamsyniadau y

bywyd hwn. Yn mhresenoldeb y Gwirionedd ymgnawdoledig, bydd i bob anwiredd farw. Yn awr "o ran y gwyddom, (mae ein gwybodaeth yn gymmysgedig â chamsyniadau lawer) eithr pan ddelo yr hyn sydd berffaith, yna yr hyn sydd o ran a ddilëir. Pan oeddwn fachgen, fel bachgen y llefarwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen y meddyliwn : ond pan aethum yn ŵr, mi a rois heibio bethau bachgenaidd. Canys gweled yr ydym yn awr trwy ddrych, mewn dammeg; ond yna, wyneb yn wyneb: yn awr yr adwaen o ran; ond yna yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir:" 1 Cor. xiii. 9-12.

Ni ddaw ein gwybodaeth byth mor helaeth ag eiddo ein Creawdwr. Rhaid i greaduriaid meidrol fod yn feidrol byth yn eu priodoleddau, a'u gwybodaeth yr un modd. Ni ddichon un meddwl ond meddwl Duw gynnwys gwybodaeth annherfynol. Ond fe burir gwybodaeth credinwyr yn y nefoedd o bob camsyniadau. Yn yr ystyr yma, adnabyddant fel eu hadwaenir. Ac yn mhellach, fe'u cedwir yn effeithiol rhag camsyniadau dyfodol. Bydd eu holl gynnydd yn nghyfeiriad gwirionedd; ni chamddeallant un amser feddwl, ewyllys, neu weithredoedd Duw; ac fe nodweddir eu gwybodaeth gan gynnydd diddiwedd. "Yn mlaen!" fydd eu harwyddair tragywyddol. Byddant yn darganfod rhyw beth newydd yn barhaus yn noethineb, gogoniant, a gweithredoedd Duw, ac yn enwedigol yn eu cadwedigaeth eu hunain; a bydd yr adnabyddiaeth fythgynnyddol yma â'r Jehofah, yn elfen arall yn eu dedwyddwch, yr hwn fydd yn mwyhau yn dragywyddol.

6. *Bydd y saint gogoneddedig yn y nefoedd yn mwynhau pleserau cymdeithas ddyrchafedig.* Byddant yn adnabod y naill y llall, ac yn cydgymmuno mewn addoliad a gwasanaeth. "Deuant o'r dwyrain a'r gorllewin, ac a eisteddant gyd ag Abraham, ac Isaac, a Jacob yn nheyrnas nefoedd:" Matt. viii. 11. Y mae llawenydd y nefoedd yma yn cael ei gyffelybu i wledd gymdeithasol yn yr hon yr ymuna yr holl saint. "Chwi a ddaethoch at fyrddiwn o angelion, i gymmanfa a chynnulleidfa y rhai cyntafanedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, ac at ysbrydoedd y rhai cyfiawn y rhai a berffeithiwyd:" Heb. xii. 22, 23. Cyduna y darluniadau a roddir yn llyfr y Dadguddiad â'r

meddylddrych yma. Cawn yno ddysgrifiadau ysblenydd o addoliad unol. Arddangosir y côr fel yn canu yr un erfyneg *(litany)*. Yr un syniadau sydd yn bywiogi eu calonau, a'r un caniadau a ddylifant oddiar wefusau y prynedigion: gwel Dad. iv. 9–11; v. 8–14; vii. 9–12; xi. 15–18; xiv. 3; xv. 3–4; xix. 1–7.

Diammheu y bydd i bob llestr trugaredd gadw ei unaniaeth. Bydd amrywioldeb diderfyn yn mhreswylwyr y nefoedd, ond bydd yno, er y gwahaniaethau personol, unolrwydd cymdeithas. Ni rwystra dim berffeithrwydd y gymdeithas. Bydd y cwbl a niweidia ein mwynhad ni yn nghyfeillach ein gilydd ar y ddaear wedi darfod. Bydd yr holl fympwyon, tymherau drwg, ffyrdd gwyrgam, ac eiddigedd annghristionogol wedi eu rhoddi heibio. Byddwn oll yn ddifeius gerbron yr orsedd-fainc; a phan y canfyddwn yn y naill a'r llall ddelw berffaith ein Harglwydd, ni fydd dim tyniad yn ol ar wresogrwydd ein cariad at ein gilydd. Gwnaed dyn yn gymdeithasol, ac y mae yn ddibynol i raddau mawr ar ei gymdeithion am ei gysur. Poenir calonau dynion da yma, gan y drygioni a welant o'u hamgylch: gwel Salm cxix. 136. Ond yn y nefoedd, chawn ni ddim un elfen o'r fath chwerwder yn ein cwpan. Yn berffaith santaidd ein hunain, cawn ein cylchynu gan rai o'r un meddwl; ac mewn cymdeithas â hwynt cawn fwynhau ffynonell arall o ddedwyddwch.

7. *Uwchlaw y cwbl, caiff y prynedigion yn y nefoedd fwynhau y dedwyddwch o gyflawn ffafr Duw, ac unolrwydd mynwesol ag Ef.* Gan y bydd yr ystaen olaf o lygredd wedi diflannu, ni fydd dim i attal yr undeb yma. Pan y saif yr Eglwys yn ddifeius gerbron yr orsedd-faingc, bydd i'r Jehofah ei chofleidio yn dragywyddol yn Ei fynwes, a'i derbyn i'r gymdeithas agosaf ag Ef ei hun ag y mae yn bosibl i greadur ei mwynhau. EFE a sych ymaith bob deigryn oddi wrth ei llygaid," Dad. vii. 17; a phan y sych Efe ffynon galar, pwy a bair i'w dyfroedd ddylifo drachefn? Mor effeithiol y sychir POB deigryn, pan ymostynga Efe i gyflawnu y weithred hono o gariad. Y pryd hyny y bydd i weddïau y Gwaredwr gael eu cyflawn ateb: "A'r gogoniant a roddaist i Mi, a roddais iddynt hwy, fel y byddont un, megis yr ydym ni yn un.

Myfi ynddynt hwy, a Thithau ynof Fi; fel y byddont wedi eu perffeithio yn un: Ioan xvii. 22, 23. Yna y bydd "Duw oll yn oll:" 1 Cor. xv. 28. Bydd "Crist yn bob peth ac yn mhob peth," Col. iii. 11; a "chyflawnir ninau â holl gyflawnder Duw:" Eph. iii. 19. Llef uchel o'r nefoedd a gyhoedda, "Wele y mae pabell Duw gyd â dynion, ac Efe a drig gyd â hwynt, a hwy a fyddant bobl iddo Ef, a Duw ei hun a fydd gyd â hwynt, ac a fydd yn Dduw iddynt. Ac fe sych Duw ymaith bob deigr oddi wrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen ni bydd mwyach; oblegid y pethau cyntaf a aeth heibio:" Dad. xxi. 3, 4.

Yn y cyflawniad o hyn bydd i ni gael rhywbeth anfeidrol mwy gogoneddus nâ breuddwydion yr Holl-dduwiad *(Pantheist)*. Ni chollwn byth ein *hymwybyddiaeth bersonol* er y bydd Duw oll yn oll. Bydd i'n bodoldeb personol gael ei barhau, nid ei ddystrywio. Yn "moddlonrwydd Duw y bydd ein bywyd:" Salm xxx. 5. Cawn brofi yn Ei bresenoldeb "ddigonolrwydd llawenydd" ac "ar Ei ddeheulaw ddigrifwch yn dragywydd:" Salm xvi. 11.

8. *Bydd gogoniant a gwynfydedigrwydd y nefoedd yn dragywyddol yn ei barhad.* Darlunir gwynfydedigrwydd dyfodol y credadyn fel "etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig:" 1 Pedr i. 4. "A hon yw yr addewid a addawodd Efe i ni sef *bywyd tragywyddol*:" 1 Ioan ii. 25. "Yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw, sydd yn aros yn dragywydd:" ii. 17. Ei ran ddyfodol fydd "tragywyddol bwys gogoniant:" 2 Cor. iv. 17. Pan yn marw, derbynir ef i'r "tragywyddol bebyll:" Luc xvi. 9. "Y rhai cyfiawn a ânt i fywyd tragywyddol:" Matt. xxv. 46. Gwneir hwynt yn golofnau ansymudadwy yn nheml Duw, ac allan nid ânt mwyach: Dad. iii 12. Ni chyll coronau y nefoedd byth eu ceinder, na'i llawenydd ei felusder, na'i gwisgoedd eu caneidrwydd, nai'i gogoniannau eu dysgleirdeb, na'i chaniadau eu cynghanedd, na'i gwasanaeth ei ddyddordeb. Y mae tragywyddolrwydd yn argraffedig ar ei holl wynfydedigrwydd.

9. *Bydd y nefoedd yn cynnwys graddegau yn ngogoniant ei phreswylwyr.* Gogoniant yw y perffeithrwydd o

ras, a chan y canfyddwn arddangosiad o benarglwyddiaeth yn rhoddiad yr olaf, gallwn ddysgwyl yr unrhyw yn nghyfraniad y blaenaf. Nid yw Duw yn rhoddi i bawb yr un faint o ras: paham na all Efe ddangos yr un gwahaniaeth yn ngogoniant terfynol y prynedigion? Ffrwyth Ysbryd Duw yn unig ydyw GWIR weithredoedd da; "canys Duw sydd yn gweithio ynom ni ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da Ef:" Phil. ii. 13. Pan y mae Duw gan hyny, yn gwobrwyo yn raslawn dduwioldeb rhagorol rhai o'r saint â dysgleiriach coron nâ'r lleill, nid yw mewn effaith ond yn anrhydeddu Ei ras Ei Hun. Nid oes dim deddfoldeb yma. Y mae graddau mewn gras yn cynnwys o angenrheidrwydd raddau mewn gogoniant: canys dadblygiad a pherffeithiad y naill yn unig ydyw y llall. Y mae y cyssylltiad yn naturiol, hanfodol ac anocheladwy. Lle y rhydd Duw lawer o ras, rhydd ogoniant cyfatebol. Dysga dammeg y talentau yn Matt. xxv. 14—30 y gwirionedd yma yn eglur. Ymdrechion gwŷrog rhai esbonwyr i gyfyngu ei chymhwysiad at y milflwyddiant ydynt ddim ond ymgeision i osgoi ei nerth anwrthwynebadwy. Eglur yw ei bod yn gymhwysiadol at ddedfrydau y dydd diweddaf. O'r un dôn y mae iaith Luc xii 37, lle yr addewir anrhydedd neillduol i'r gweision hyny a geir yn effro pan ddêl eu Harglwydd. Yn Gal. vi. 7, 8, dywedir wrthym mai "beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fêd efe." Dywedir yn 1 Cor. iii 8, y "derbyn pob un ei briod wobr ei hun, yn ol ei lafur ei hun." Yn 2 Cor. ix. 6, dywedir "Yr hwn sydd yn hau yn brin, a fêd hefyd yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth, a fêd hefyd yn helaeth." "A'r doethion (margin, *athrawon)* a ddisgleiriant fel disgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a drôant lawer at gyfiawnder a fyddant fel sêr byth yn dragywydd:" Dan. xii. 3; cymharer â 1 Cor. iii. 13-15.

Diammheu y cymmer rhai o'r adnodau uchod eu hegluro fel yn cyfeirio yn mlaenaf at y wobr a fwynheir mewn cyssylltiad â llafur hunan-ymwadol ac ymroddiad rhagorol yn y byd hwn; ond y maent yn dysgu egwyddor gyffredin, gymhwysiadol at wobr y dyn da yn ei *chyfanrwydd.* Os gall Jehofah anrhydeddu a gwobrwyo sêl a santeiddrwydd neillduol yn y bywyd hwn, paham nad all Efe wneuthur

felly yn y bywyd dyfodol? Y mae yr Ysgrythyrau, mewn gwirionedd yn ein dysgu y *gwna* Efe felly. Nid yw dammeg y cyflogi gweithwyr, ar wahanol oriau, y rhai a *delir* oll yr un modd, (Matt. xx. 1-16) yn milwrio dim yn y mesur lleiaf yn erbyn athrawiaeth y gwahanol raddau mewn gogoniant. Y mae yr egwyddor a fwriedir ei hegluro trwy y ddammeg hono yn cael ei rhoddi yn ei dechreu a'i diwedd. "Ond llawer o'r rhai blaenaf a fyddant yn olaf, a'r olaf yn flaenaf:" Matt. xix. 30, a'r xx 16. Nid yw y cyfeiriad at y nefoedd o gwbl, canys yn sicr, fydd yno ddim grwgnach, nac ymddigio y naill wrth y llall. Ond yr egwyddor a fwriedai ein Harglwydd ei hegluro ydoedd, y byddai i'r troseddwyr gwaethaf, y *cenedloedd* yn gynnwysedig, ar eu hedifeirwch a'u ffydd gael eu derbyn i'r deyrnas yr hon y daeth Efe i'w gosod ar y ddaear, ac i gyfranogiad cyfartal ac uniongyrchol o'i holl ragorfreintiau. Yr oedd y cymmeriadau a fuont bellaf oddiwrth Dduw i gael eu derbyn, yn gystal â'r rhai oeddynt wedi bod fwyaf moesol. Publicanod, puteiniaid, a chenedloedd, y rhai a fuont fyw mewn esgeulusdod o bob peth cyssegredig, ydynt, ar eu hymarferiad o ffydd i gael eu derbyn. Fel yma, yr oedd y rhai olaf i ddyfod yn flaenaf. Ond y Phariseaid a'r Ysgrifenyddion, ac Iuddewon hunan-gyfiawn yn gyffredin a wrthryfelent yn erbyn y trefniad yma.

Hyn, debygwn ni, yw meddwl y ddammeg. Wrth egluro rhanau Ysgrythyrol o'r fath, rhaid i ni beidio bod yn orfanwl. Rhaid i amcan cyffredin eglurebau ffugyrol o wirionedd dwyfol ein boddloni. Gall fod yn anhawdd dehongli yn gyflawn y manylion; canys nid yw ffugyrau a dammegion ond *cysgodau* o athrawiaethau. Ynddynt hwy, rhaid i ni edrych am debygolrwydd, ac nid am unaniaeth.

# RHAN V.

## DUWINYDDIAETH YN EI PHERTHYNAS A CHYFANSODDIAD A DYSGYBLAETH EGLWYSI CRISTIONOGOL.

DEUWN yn awr i wneuthur ymchwiliad i lywodraeth eglwysig, yr hon a osodir i lawr yn y Testament Newydd. Fod Crist wedi rhoddi i ni lywodraeth eglwysig, yr hon sydd i gael ei dwyn yn mlaen gan yr eglwysi yn mhob oes, a ymddengys oddiwrth addysgiadau Ei Air. Yn y materion hyn, yr ydym i gadw pob peth ar a orchymmynodd Efe i ni bob amser hyd ddiwedd y byd: Matt. xxviii. 19, 20. Gan ein bod dan oruchwyliaeth ddiweddaf trugaredd ddwyfol, rhaid i ni ymlynu yn ffyddlon wrth ei holl osodiadau hyd nes y "gorphenir dirgelwch Duw:" Dat. x. 7. Yr oedd perffeithrwydd Crist yn Ei swydd brophwydoliaethol yn Ei rwymo i beidio gadael y gorchwyl o gynllunio cyfansoddiad i'w Eglwysi Ef i'n doethineb ni. Yr oedd dedwyddwch yr Eglwys yn hawlio bod doethineb ei Harglwydd yn trefnu y cyfreithiau yn ol pa rai yr oedd i gael ei llywodraethu; gan fod ei heffeithioldeb a'i llwyddiant yn rhwym o ymddibynu yn fawr ar gyfaddasrwydd y cyfryw. Os nad yw y Testament Newydd yn cynnwys un ffurf o lywodraeth eglwysig, yna rhaid ymwrthod â'r hen ddywediad, mai y "Beibl yn unig yw crefydd y Protestaniaid." Os oes gan yr Eglwys awdurdod i osod defodau a seremoniau, dylem ddychwelyd yn union i fynwes Eglwys Rhufain.

Ond y mae y Testament Newydd *wedi* rhoddi deddfau yn yr achos pwysig yma, ac y mae yn cynnwys cyfundrefn o lywodraeth eglwysig, yr hon sydd yn gweddu i ni i'w myfyrio yn ofalus, fel y byddo i'n heglwysi gael eu ffurfio yn ol y cynllun dadguddiedig. Y mae y *term ekklesia,* a ddefnyddir yn y Testament Newydd am eglwys, mewn Groeg clasurol yn dynodi *cynnulleidfa o'r dinasyddion wedi eu galw gan y cyhoeddwr (crier); y gynnulleidfa lywodraethol,* ar wahan oddiwrth *sullogos* neu gynnulleidfa.

Ei arwyddoccad gwreiddiol (fel y prawf tarddiad y gair o *ek* a *kaleô*) ydyw *cynnulleidfa wedi ei galw allan:* gwel Act xix. 39–41.

Yn y Testament Newydd y mae y gair hwn, *ekklesia* (eglwys), yn cael ei ddefnyddio mewn amrywiol ystyron. Yn ei gymhwysiad *ëangaf* dynoda yr holl etholedigion, enwau pa rai sydd yn ysgrifenedig yn y nefoedd, pa un ai yn y gogoniant, ynte ar y ddaear, neu heb eu geni y byddont. Yn yr ystyr hon y defnyddir ef yn yr adnodau canlynol: "Carodd Crist yr eglwys, a rhoddodd ei Hun drosti, fel y gosodai Efe hi yn eglwys ogoneddus iddo Ei hun:" Eph. v. 25–27. "Eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd Efe â'i briod waed:" Act. xx. 28. "Ar y graig hon yr adeiladaf Fy eglwys," &c.: Matt xvi. 18. Mewn adnodau fel hyn, y mae y gair yn cynnwys pawb a gredasant, sydd yn awr yn credu, ac a gredant etto hyd ddiwedd amser. Edrychir arnynt fel *un gynnulleidfa*, wedi eu neillduo oddiwrth bawb dynion trwy etholedigaeth, a phrynedigaeth ddwyfol. Nid oes un cyfeiriad at unrhyw gyfansoddiad neu ddysgyblaeth neillduol. Mewn rhai adnodau ereill, defnyddir y gair ychydig yn fwy cyfyngedig, gan ddynodi y corff cyffredinol o gredinwyr ydynt yn byw yn *yr un amser*, ac yn cyfranogi yn wirioneddol o gyflawnder Crist. Y mae yr adnodau canlynol yn engreifftiau o ddefnyddiad y *term* yn yr ystyr hon:—"Ac Efe yw Pen corph yr Eglwys:" Col. i. 18; "Am i mi erlid Eglwys Duw:" 1 Cor. xv. 9. Ond y mae y *term* yn cael ei ddefnyddio mewn ystyr gyfyngach etto. Dynoda yn fynych ryw frawdoliaeth neillduol o'r ffyddloniaid, wedi eu casglu yn nghyd i un cyfundeb ac yn cyfarfod mewn un lle. Y mae y cyfryw frawdoliaeth yn ol geiriadaeth y Testament Newydd, yn *eglwys.* Ac am gyfansoddiad a dysgyblaeth cyfundebau o'r natur yma, y mae genym ni i draethu yn y RHAN hon.

*Nid yw y term eglwys un amser yn yr efengyl yn cael ei gymhwyso at yr adeilad, yn yr hwn y byddo credinwyr yn ymgynnull.* Yn Act. xix. 37, y mae y frawddeg "ysbeilwyr temlau," yn cael ei thraethu yn y Roeg mewn un gair, *ierosúlous*, a dylai fod, *ysbeilwyr temlau paganaidd.* Nid yw y gair *ekklesia* yn yr adnod o gwbl, [yn y Roeg a'r

Gymmraeg]. Nid yw y *term* eglwys, pan ddefnyddir ef i ddarlunio cymdeithas Gristionogol, a phan y ceir ef yn y rhif unigol, byth yn cael ei gymhwyso at *nifer* o gyfundebau Cristionogol fel yn gynnulliadol, eithr at un gynuulleidfa yn unig, yn cyfarfod mewn un lle, yn fwy neu lai mynych. Pan fyddo mwy nag un gynnulleidfa yn cael eu golygu, cyfarfyddir yn wastad a'r ffurf luosog, *eglwysi*. Darllenwn am "yr eglwysi trwy holl Judea, a Galilea, a Samaria:" Act. ix. 31; "Yr eglwysi yn Syria a Cilicia:" xv. 41; "Holl eglwysi y cenhedloedd:" Rhuf. xvi. 4; "Eglwysi Galatia:" 1 Cor. xvi. 1; "Eglwysi Asia:" (leiaf) adn. 19; Eglwysi Macedonia:" 2 Cor. viii. 1; "Eglwysi Judea:" Gal. i. 22; Saith eglwys Asia:" Dat. i. 4–11. Felly y mae yn eglur nad yw yn Ysgrythyrol i siarad am Eglwys Loegr, neu Eglwys Scotland, neu Eglwys Ffrainc. Pe buasem ni yn byw yn amser yr apostolion, a phe buasai holl gymdeithasau y ffyddloniaid yn y wlad hon wedi eu sefydlu yn ol y cynllun apostolaidd, a phe gwnaethai Paul ein ffafrio ag epistol, cyfarwyddasai ef at *Eglwysi* Lloegr.

Dysgrifir y gwahanol gyfundebau oeddynt yn bod yn amser yr apostolion fel yma, "eglwysi Crist:" Rhuf. xvi. 16; "Eglwysi y saint:" 1 Cor. xiv. 33; "Eglwysi Duw:" 1 Thess. ii. 14; 1 Cor. xi. 16. Dywedir y pethau canlynol am danynt: iddynt gael eu cadarnhau trwy addysg Apostolaidd: Act. xv. 41; eu "hadeiladu, a'u bod yn rhodio yn ofn yr Arglwydd, ac yn nyddanwch yr Ysbryd Glân ac yn cael eu hamlhau:" ix. 31 "Cadarnhawyd hwynt yn y ffydd:" xvi. 5 Cydymdeimlent yn fawr dros les eu gilydd: xvi. 4–16; 1 Cor. xvi. 19. Yr oeddynt oll o dan un reol Apostolaidd *gyffredin*, 1 Cor. vii. 17; xi 16; xiv. 33, 34; xvii.; 2 Cor. xi. 28; ac yn aml yn gweithredu yn unol yn eu hymdrechion arianol, &c. dros achos Crist: 2 Cor. viii. 19–24. Yr oedd rhai o'r eglwysi hyn yn fawrion, ac ereill yn gymharol fychain. Nid oedd ganddynt ar y cyntaf o gwrs ddim lleoedd addoliad o'r eiddynt eu hunain, a chyfarfyddent lle y gallent. Cyfarfyddai llawer ohonynt mewn tai unigolion, megis tŷ Priscila ac Acwila, Rhuf. xvi. 5; 1 Cor. xvi. 19; a thai Nymphas a Philemon: Col iv. 15; Philem. 2 adn. Arfer-

ent ymgynnull mewn *un lle ;* yr oedd ganddynt adegau cys-i addoli, a byddent yn ymgynnull yn nghyd i wneyd hyny: gwel Act. ii. 1; iv. 31; vi. 2; xiv. 27; xv. 30; xxi. 22; 1 Cor. xi. 20; xiv. 23. Eglwys i Grist gan hyny, yw cynnulleidfa o wyr a gwragedd Cristiongol, yn arfer ymgynnull mewn un lle, i'r amrywiol ddybenion am ba rai y mae y cyfryw gymdeithasau yn bodoli.

---

## PENNOD I.

### AELODIAETH EGLWYSI Y TESTAMENT NEWYDD.

Wrth gychwyn, fe'n cyfarfyddir gyda'r ymholiad pwysig, *Pwy ddylent gael eu derbyn i aelodiaeth eglwysi Cristionogol?* Y mae hwn yn wir yn gwestiwn bywydol mewn duwinyddaeth eglwysig. A oes rhywbeth yn y Testament Newydd sydd yn gwarantu y derbyniad i'r eglwysi o bawb personau a anwyd o fewn rhyw derfynau daearyddol neillduol, ac a ddarostyngwyd i gyflawniadau gwladol, a defodol, heb un prawf o ddychweliad gwirioneddol at Dduw? Neu a yw y Testament Newydd yn gofyn prawf credadwy o ffydd ddidwyll yn Nghrist, ac edifeirwch tuag at Dduw, fel ammod derbyniad i eglwysi yr Arglwydd? Yn fyr, a ddylai eglwysi Cristionogol gael eu cyfansoddi yn unig o bersonau a roddant brawf eu bod yn bobl Gristionogol? Yn y bennod hon cawn brofi fod aelodiaeth yr eglwysi Apostolaidd yn gyfyngedig i bersonau a roddasant brawf credadwy o ffydd wirioneddol yn Nghrist, ac a wnaethant arddeliad o'r ffydd hon yn yr ordinhad o Fedydd.

I. Y MAE GENYM I BROFI FOD PROFION O DDYCHWELIAD AT DDUW YN OFYNOL MEWN TREFN I GAEL AELODIAETH YN YR EGLWYSI APOSTOLAIDD.

Y mae y dadleuon (*arguments*) o du y gosodiad hwn yn lluosog ac amrywiol. A dim ond braslun o bob un fyddwn yn alluog i roddi.

1. *Y siamplau o dderbyniad aelodau a gofnodir yn Actau yr Apostolion.* Pa fodd yr ymddygodd yr apostolion yn nerbyniad personau i'r eglwysi boreuol? Yn achos y chwanegiad cyntaf ar ol tywalltiad yr Ysbryd, yr ydym yn cael i'r rhai oll a dderbyniwyd, yn nghyntaf "dderbyn y Gair yn *ewyllysgar* :" Act. ii. 41. Ac o hyny yn mlaen

dywedir wrthym i'r "Arglwydd chwanegu beunydd at yr eglwys y rhai cadwedig," (*tous sôzomènous*) h. y. y *rhai hyny a ymddangosent fod yn bersonau cadwedig*, adn. 47. Yn mhellach, yn mlaen etto yn yr hanes ysbrydoledig hwn darllenwn, "A chwanegwyd atynt (yr eglwys yn Jerusalem) rai yn credu yn yr Arglwydd, lliaws o wŷr a gwragedd hefyd:" Act. v. 14. Y mae y dywediad hwn yn canlyn yn union yr hanes pruddaidd am Ananias a Sapphira, marwolaeth pa rai oedd yn ergyd ofnadwy ac yn cael ei amcanu gan Ben yr Eglwys yn erbyn pob rhagrith, ar ddechreuad Ei deyrnas ar y ddaear. Trwy yr ymweliad ofnadwy hwnw, amlygodd Iesu Ei eiddigedd dros burdeb cyfundeb Ei eglwysi. Atebodd yr amgylchiad ei ddyben bwriadedig, canys fe'n hysbysir "na feiddiai neb o'r *lleill* (rhai o gyfryw gymmeriad ag Ananias a Sapphira) ymgyssylltu â hwynt," ond "chwanegwyd atynt rai yn *credu* yn yr Arglwydd:" Act. v. 1-14. Ac felly trwy oll Actau yr Apostolion. Dim ond y rhai a ddaethant yn *ddysgyblion* addefedig Iesu Grist a ganiatëid i ymaelodi yn yr eglwysi boreuol.

2. *Yr arddull yn mha un yr annerchir aelodau yr eglwysi Apostolaidd yn yr Epistolau.* Y mae yr Epistolau yn wastad yn cymmeryd yn ganiatâol fod y personau a gyfansoddent yr eglwysi a annerchir, yn bobl Gristionogol. Felly yr annerchir aelodau yr eglwys yn Rhufain, fel rhai "anwyl gan Dduw, wedi eu galw i fod yn saint:" Rhuf. i. 7. Ysgrifenir at aelodau yr eglwys yn Corinth fel "rhai a sancteiddiwyd yn Nghrist Iesu, a alwwyd yn saint, ac fel yn galw ar enw yr Arglwydd Iesu Grist:" 1 Cor. i. 2. Cyfansoddid yr eglwys yn Ephesus o "saint a ffyddloniaid (dynion crediniol) yn Nghrist Iesu:" Eph. i. 1; yr eglwys yn Phillippi, o "saint yn Nghrist Iesu:" Phil. i. 1. Felly yr eglwysi yn Colossa a Thessalonica: Col. i. 2, a 1 Thess. i. 1. Pedr a annercha yr eglwysi at y rhai yr ysgrifenodd ef, fel yn gyfansoddedig o "etholedigion yn ol rhagwybodaeth Duw Dad, &c.:" 1 Pedr i. 2. A Judas a gyfenwa y rhai yr anfonodd efe ei epistol atynt, fel rhai a "sancteiddiwyd gan Dduw Dad, ac a gadwwyd yn Iesu Grist, ac a alwwyd:" Judas 1. Y mae y llythyrau Apostolaidd yn cydnabod yn ddiammheuol gymdeithasau o saint

yn y cyfundebau a annerchir. Awgrymant drwyddynt oll fod yr holl aelodau wedi gwneuthur proffes gredadwy o gariad at Grist a dychweliad at Dduw.

3. *Y gorchymmynion a roddir i'r Eglwysi i esgymmuno pawb aelodau annheilwng o'u cyfundeb.* Er yr holl ofal a gymmerwyd gan yr eglwysi apostolaidd, llwyddodd rhai personau twyllodrus a llygredig i ymwthio i'r gorlan gyssegredig. A oeddynt hwy i aros lle yr oeddynt, i lygru eu cyd-aelodau trwy eu heresiau a'u siamplau annuwiol? Nac oeddynt: yr oedd yr eglwysi i esgymmuno y cyfryw broffeswyr halogedig o'u cymdeithas. Yr oeddynt i "garthu allan yr hen lefain, fel y byddent does newydd:" 1 Cor. v. 7. "I dynu ymaith oddiwrth bob brawd a rodiai yn afreolus:" 2 Thess. iii. 6. Yr oeddynt i "draddodi y troseddwr i satan, i ddinystr y cnawd:" 1 Cor v. 5. I "fwrw ymaith y dyn drygionus hwnw o'u plith:" adn. 13. Fel yma, yr oeddynt i wylied yn ofalus dros burdeb eu cyfundeb. Y mae y meddylddrych o gymdeithas gymmysgedig, yn cael ei chyfansoddi o rhai cyfiawn a drygionus yn ddiwahaniaeth, yn hollol groes i ddysgyblaeth yr eglwysi Apostolaidd.

4. *Yr ymneillduad oddiwrth y byd y cynghorid aelodau yr eglwysi boreuol i'w gadw.* Yr oeddynt i edrych arnynt eu hunain "nid fel rhai o'r byd, megis nad oedd eu Harglwydd o'r byd:" Ioan xvii. 14. Yr oeddynt i fod yn "halen y ddaear," ac yn "oleuni y byd:" Matt. v. 13, 14. Yr oeddynt trwy eu bywyd santaidd a'u proffes feunyddiol o'u Ceidwad i ddylanwadu yn santaidd ar y lleill o'u cyd-ddynion. Gorchymmynid hwy i "ddyfod allan o'u canol, ac ymddidoli:" 2 Cor. vi. 87. Sicrheid hwy yn ddifrifol fod "cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw," ac fod pwy bynag gan hyny, a benderfynai fod yn gyfaill i'r byd yn elyn i Dduw: Iago iv. 4. Gorchymmynid hwy i beidio "ieuo yn annghymarus â'r rhai digred:" 2 Cor. vi. 14. A phan yn priodi, i briodi yn unig yn yr Arglwydd:" 1 Cor. vii. 39. Y mae yr angenrheidrwydd o ymneillduad oddiwrth y byd, yn egwyddor sydd yn rhedeg trwy y Testament Newydd. A allwn ni dybied y meddyliwyd i'r eglwysi i ymwrthod â'r egwyddor syfaenol hon; tra yr oedd proffeswyr yn unigol i ddyfod allan o'r

byd, ac i fod felly mewn ysbryd ac ymarferiad ar wahan oddiwrtho, fod yr eglwysi i beidio cydnabod y cyfryw wahaniaeth, ac i dderbyn y byd i'r eglwys, a thrwy hyny ddystrywio pob ffiniau *(barriers)* rhwng byd ac eglwys? Buasai cyfansoddiad felly yn angeuol i'r eglwysi fel cyfundebau gwahanol, ac yn gwbl annghydweddol â'r ymneillduad *personol* oddiwrth y byd a ofynid yn eu haelodau. Nis gall dim fod yn fwy hunan-brofedig nag y dylai eglwysi Crist gorffoli ynddynt eu hunain yr egwyddorion sylfaenol hyny sydd i lywodraethu y Cristion unigol. Ac megis ag y mae ymneillduad oddiwrth y byd yn ddyledswydd *hanfodol* ar y Cristion, rhaid ei fod felly ar y cymdeithasau Cristionogol a elwir yn eglwysi.

5. *Y dybenion i ba rhai y dywedir fod eglwysi Cristionogol yn bodoli.* Y mae dybenion eglwysi Cristionogol yn gyfryw na ellir eu cyflawnu gan neb ond credinwyr. Gan fod eglwysi yn cael eu sefydlu er cynnaliad a lledaeniad gwir dduwioldeb, gwnelai derbyniad dyn diras i'w cyfundeb, yn lle chwanegu at eu gallu i gyrhaedd dyben eu bodoldeb, ddwyn i mewn elfen gwendid ac aneffeithioldeb. Y mae pob eglwys i fod yn oleuni y byd o'i hamgylch; a wnelai derbyn i'w phlith ddyn y mae ei enaid yn llawn tywyllwch, eu goleuni yn fwy dysglaer? Y mae pob eglwys i fod yn halen y ddaear, a wnelai cymmysgu â'i chymmunwyr ddynion bydol ac ansantaidd, ei dylanwad yn fwy iachusol? Etto, y mae y *dyledswyddau* ofynir gan yr Ysgrythyr i'w cyflawnu gan aelodau eglwysig, a'r rhagorfreintiau y gwahoddir hwynt i'w mwynhau, yn gyfryw nas gellir eu cyflawnu na'u mwynhau ond gan gredinwyr: 1 Thess. v. 11. Yr un cystal y gallem ddwyn i mewn y corff marw i gymdeithas dynion byw, ag uno y pechadur sydd yn farw mewn camweddau a phechodau (fel y mae pawb wrth natur) ag eglwys o saint wedi eu geni oddi uchod! "Pa gyssondeb sydd rhwng Crist â Belial? neu pa ran sydd i gredadyn gyd ag annghredadyn?

Ond dichon y gofynir i ni gan y rhai sydd yn gwahaniaethu oddiwrthym ar y pwynt yma, a ydych chwi yn honi nad oes yn eich eglwysi chwi ddim dynion annychweledig? Atebwn: nad ydym yn honi y fath beth. Gwnawn ein goreu i wahaniaethu rhwng y cyfiawn a'r

drygionus wrth dderbyn ymgeiswyr; ond yr ydym yn cael profion mynych a phoenus nad yw ein barn ni yn y mater hwn yn anffaeledig. Modd bynag, pan ganfyddir y cyfryw gamsyniad, cywirir ef yn union trwy ddefnyddio y ddysgyblaeth ordeiniedig yn y Testament Newydd. Ond y mae hyn yn beth tra gwahanol i'r gyfundrefn hono, yr hon *o egwyddor* a dderbynia ddynion yn ddiwahaniaeth o fewn caerau yr hyn a elwir yn eglwys; yr hon a esyd i fyny ddefod genedlaethol a dderbyniwyd mewn babandod, yn lle adnewyddiad y galon gan ras dwyfol; yr hon sydd yn taflu lawr bob ffiniau rhwng Teyrnas Dduw ag eiddo satan; yr hon a ymgais at adgyfodiad ysbrydol y byd trwy lenwi yr Eglwys â dynion *meirw* mewn anwiredd; a geisia *oleuo* annuwiolion trwy orchuddio yr Eglwys â *thywyllwch;* ac a ymdrecha halltu y ddaear lygredig hon trwy ymddifadu yr halen o'i halltrwydd! Gall y cyfundrefnau hyn gynnyddu nifer yr rhai a *alwant* eu hunain yn Gristionogion, ond y maent y rhwystrau mwyaf aethus i lwyddiant gwir dduwioldeb. Trôant yn hytrach yr Eglwys i ysbryd y byd, nâ'r byd i Ysbryd Crist! Difwynant a gwywant obeithion ein hiliogaeth alaethus trwy wenwyno ac aneffeithioli y moddion ordeiniedig gan y nefoedd er ei rhyddfreiniad ysbrydol! Camarweiniant a dystrywiant eneidiau dynion trwy eu dysgu eu bod yn blant i Dduw, ac yn aelodau o Grist, a hwy etto yn eu pechodau!

6. *Cyfatebiaeth y Gynnulleidfa Iuddewig.* Dygir hyn yn mlaen yn gyffredin yn erbyn ein golygiadau ni; ond ni a'i trôwn ar ein gwrthwynebwyr, ac a ddaliwn ei bod yn rhoddi dadl gyfatebiaethol yn ein ffafr. Rhaid i ni edrych ar yr annghyfatebiaeth a'r gyfatebiaeth. Y mae yr annghyfatebiath rhwng y genedl Iuddewig ac eglwysi Cristionogol yn ddeublyg. Yn y lle cyntaf, ni leferir am y genedl Iuddewig un amser fel yn fwy nag *un* corff; tra y gelwir cymdeithasau o Gristionogion yn eglwysi. Yn yr ail le, nid oedd y genedl Iuddewig ond pobl neillduedig oddiwrth bawb ereill, i fod yn *geidwaid* gwirionedd dadguddiedig ar y ddaear; tra y mae eglwysi yn gymdeithasau o saint wedi eu cynnull yn nghyd i *ledaenu* teyrnas Crist yn mhlith dynion. Yr oedd y naill yn gyfundeb cenedlaethol, a'r lleill yn rhai ysbrydol. Genid dynion yn Iuddewon, ond

deuant yn Gristionogion trwy gael eu geni drachefn, neu oddi uchod.

Saif y gyfatebiaeth gan hyny fel yma: megis ag na dderbynid neb i'r eglwys Iuddewig ond y cyfryw a enid o rieni Iuddewig, disgynedig o linach Abraham, felly ni ddylid derbyn neb i eglwys Gristionogol ond rhai fyddont wedi ei geni o'r Ysbryd Glân. Saif yr enedigaeth newydd yn yr Eglwys Gristionogol yn yr un sefyllfa ag y gwnelai disgyniad naturiol o Abraham yn yr un Inddewig. "Yn Nghrist Iesu ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad, ond *creadigaeth newydd:*" Gal. vi. 15. Hon ydyw y rheol wrth ba un y mae eglwysi i gael eu llywodrrethu, a'u hawl i gael eu galw yn eglwysi *Cristionogol* i gael ei phenderfynu; canys chwanega yr Apostol yn union, "Cynifer ag a rodiant yn ol y rheol hon, tangnefedd arnynt, ac ar Israel Duw:" adn. 16. Y rhai hyny a dderbyniant y *greadigaeth newydd* ydynt Israel Ysbrydol Duw; ac nid oes neb ereill yn fwriadol i gael eu derbyn i eglwysi Crist. Hon sydd i fod eu *ddeddf ganonaidd* hyd ddiwedd amser. Wrth rheswm ni wna y ddadl hon un argraff ar y Pabydd neu y Pusead, y rhai a gredant fod bedydd yn ailenedigaeth, ac a ddaliant y gwneir babanod trwy fedydd [*taenelliad*] yn "aelodau o Grist, yn blant i Dduw, ac yn etifeddion teyrnas nefoedd." Ond bydd genym air i'w ddywedyd wrthynt hwy yn fuan.

II. Y MAE GENYM YN AWR I BROFI NA DDERBYNID NEB I'R EGLWYSI APOSTOLAIDD OND CREDINWYR BEDYDDIEDIG.

Y mae y profion o hyn lawn mor benderfynol â'r profion o'r angenrheidrwydd cyffredinol o ddychweliad. Y mae yr un mor eglur na dderbynid neb ond rhai *bedyddiedig* i'r eglwysi boreuol, ag ydyw na dderbynid neb ond *credinwyr.* Y mae hwn yn bwynt na wada neb a addefa y ddyledswydd *barhaus* o fedydd dwfr. Dichon yr ammheua y Crynwyr ein gosodiad, y rhai a wrthodant fedydd o gwbl; ond pawb sydd yn credu fod yr ordinhad hono o awdurdod sefydlog yn eglwysi y Gwaredwr, a addefant na dderbynid neb i'r eglwysi yn nyddiau yr Apostolion na ymostyngasent i'r ordinhad Apostolaidd hon. Profa hanesiaeth Eglwysig, fod bedydd, o'r oesau boreuaf yn mlaen hyd yr amser pre-

senol, wedi bod yn ammod aelodiaeth. Sylwa y darllenydd nad ydym hyd yma wedi cynnyg un farn o barthed i'r iawn ddull, neu ddeiliaid bedydd Cristionogol, ein hunig osodiad yn bresenol ydyw, fod rhyw fath o fedydd dwfr yn hanfodol er cael derbyniad i'r eglwysi. Y mae hyd y nod Apostol hyawdl *Cymmundeb Rhydd* yn gwneuthur yr addefiad canlynol:—

"Boddlon ydym i fyned un cam yn mhellach, a chyfaddef, y buasai yr hwn a argyhoeddwyd o ddwyfoldeb dechreuad Cristionogaeth trwy weinidogaeth yr Apostolion, ac a wrthodai gymmeryd ei fedyddio, yn cael ei attal yn gyfiawn yn y cyfnod hyny, i dderbyn o elfenau y cymmundeb."—*Hall's complete Works, Vol. ii. pp.* 57, 58. Addefa Mr. Hall hefyd, fod bedydd yn ol trefn *naturiol* yr ordinhadau Cristionogol yn sefyll yn flaenaf. "Cyn y gadawaf y pen hwn, rhaid i mi sylwi fod amddiffynwyr Cymmundeb Caeth, wrth sefyll dros yr hawl flaenorol a fedda bedydd i sylw y Cristion dychweledig, *yn concro heb wrthwynebydd.* Nis gwyddom am neb sydd yn dadleu dros y priodoldeb o gyfnewid *trefn naturiol yr ordinhadau Cristionogol,* lle y gellir ystyried y ddwy, hyny yw, lle y mae natur y ddwy yn cael eu deall a'u cyffesu yn eglur:" p. 66. Mai trefn naturiol yr ordinhadau, yw fod bedydd i flaenori holl ordinhadau ereill yr eglwys, ac nad oedd neb heb eu bod wedi eu bedyddio yn nghyntaf i gael eu derbyn yn amser yr Apostolion, i ragorfreintiau aelodiaeth eglwysig, yn ddau addefiad a ymddengys i ni yn benderfynol ar y cwestiwn. Gyda chynllun cyffredinol yr Apostolion o'n blaen, a natur yr achos yn addefedig o'n tu, eglur yw ein bod yn gweithredu yn gysson ag ewyllys ein Harglwydd mewn gofyn bedydd fel ammod derbyniad i eglwysi y Gwaredwr. Ac fod yr eglwysi Apostolaidd yn cael eu cyfansoddi yn unig o bersonau bedyddiedig a ymddengys oddiwrth yr ystyriaethau canlynol:—

1. *Iaith Commisiwn ein Harglwydd.* Commisiwn olaf y Gwaredwr i'w Apostolion a roddir fel yma yn Matthew: "Ewch gan hyny a dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy i *(eis)* enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân, gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymmynais i chwi. Ac wele, yr ydwyf Fi gyd â chwi bob amser

hyd ddiwedd y byd. Amen:" xxviii. 19, 20. Y peth cyntaf i'w wneyd oedd dysgyblu *(matheteusate)* y cenedloedd, yna eu bedyddio; ac yna eu dysgu i gadw holl osodiadau ereill crefydd Crist, megis Swper yr Arglwydd, ac amrywiol ordinhadau yr Eglwys. Rhydd Marc y commisiwn fel yma: "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob creadur. Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo a gondemnir:" xvi 15, 16. Cawn yr un drefn yma—pregethu, credu, a bedyddio. Cymmer y geiriau yn *ganiatâol*, fel mater o *angenrheidrwydd* y byddai i bawb a *gredent* gael eu bedyddio. Nid ydynt yn dysgu na fydd neb ond y rhai a fedyddir yn gadwedig, eithr y dylid bedyddio pawb credinwyr cadwedig. Ni chondemnir annghredinwyr am na fyddent wedi eu bedyddio, eithr am beidio credu, yr hyn sydd yn cynnwys nad oes i annghredinwyr ddim i'w wneuthur â bedydd. Ond cyssylltir credu a bedyddio fel yn perthyn yn naturiol a chyfagos i'w gilydd. Dyma yw "*trefn bennodedig y gosodiadau.*"—*Hall's Works, Vol. ii. p.* 47; ac ni fedr dim camsyniadau o'r eiddom ni, dim amgylchiadau newydd a ddichon gyfodi yn y byd cyfnewidiol hwn, noddi gŵyriad oddiwrth y ddeddf ganonaidd hon a berthyn i'r eglwysi. Profir dibyniad aelodiaeth eglwysig ar ymostyngiad blaenorol i fedydd oddiwrth awdurdod Crist, yr hwn a orchymmyn y naill fel rhagammod i'r llall. Ymestyna yr addewid a gyssylltir wrth y commisiwn hyd ddiwedd y byd, ac felly y rhaid i'r commisiwn ei hun. Gall yr eglwysi ddysgwyl cyflawniad yr addewid yn ol mesur eu ffyddlondeb i'r commisiwn. Ar ol ymgeision tra chywrain Mr. Hall i aneffeithioli ei dystiolaeth ar y cwestiwn mawr yma, erys y dystiolaeth heb ei niweidio; a rhaid i ni ddal mai yr hyn a addefa y dyn doniol hwnw fod "*trefn bennodedig y gosodiadau*" ddylai fod y drefn a gedwir genym ni. Beth yn chwaneg allwn ni ofyn fel awdurdod? Addefa Mr. Hall mai y "drefn *bennodedig*," y "drefn *naturiol*," a'r "drefn a *gedwid* yn gyffredinol" yn yr eglwysi Apostolaidd oedd gofyn bedydd fel ammod aelodiaeth. Yna, pa hawl a feddwn ni i osod yn lle hon drefn *an*naturiol, *an*mhennodedig, ac *an*apostolaidd?

2. *Arferiad gwastadol yr Apostolion.* Pa fodd y deall-

odd yr Apostolion gommisiwn eu Harglwydd ar ol iddynt dderbyn yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost, a chael eu cyflawn ddarparu i'w gwaith mawr? Gadawer i lyfr eu Gweithredoedd dystio. Yn mhob engraifft, cynghorid y dychweledig, can gynted ag y derbyniai Grist i'w galon trwy ffydd, i ymostwng i fedydd, a gwnai felly. Efelychwyd siampl y rhai a ddychwelwyd ar ddydd y Pentecost, blaenffrwyth tywalltiad y Dyddanydd, trwy yr holl gyfnod hwnw. "Yna y rhai a dderbyniasant Ei air Ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd, a chwanegwyd atynt y dwthwn hwnw yn nghylch tair mil o eneidiau. Ac yr oeddynt yn parhau yn athrawiaeth ac yn nghymdeithas yr Apostolion, ac yn tori bara, ac mewn gweddïau:" Act. ii. 41, 42. Yn yr hanes yma cawn *eglureb ymarferol* o gynnwysiad y commisiwn. Y drefn a gedwid oedd, yn nghyntaf, dychweliad, yna bedydd, yna chwanegiad at yr eglwys, a mwynhad o holl ragorfreintiau aelodiaeth. Ac felly yn mhob achos wedi hyny, can gynted ag y byddai i ddyn edifarhau a chredu, bedyddid ef; ac yna derbynid ef i eglwys Gristionogol, os byddai un o hyd cyrhaedd. Fel y sylwa Mr. Wenger, yn ei lyfryn rhagorol, "Athrawiaeth yr Eglwys," "Nis gellir derbyn i eglwys un person difedydd; ond nid yw pob person a fedyddir drwy hyny yn cael ei dderbyn i eglwys *leol*," tud. 168. Y mae achos yr Eunuch Ethiopaidd yn engraifft i'r pwynt. Yr oedd pawb a dderbynid i'r eglwysi Apostolaidd wedi eu bedyddio yn nghyntaf; er mewn rhai engreifftiau, ni dderbynid y rhai a fedyddiwyd i unrhyw eglwys neillduol yn uniongyrchol. Blaenorid aelodiaeth eglwysig yn wastadol gan fedydd, er na ddilynid bedydd yn mhob achos gan aelodiaeth eglwysig. Gan hyny, yr eglwysi a ofynant fedydd o flaen aelodiaeth, ydynt yn dilyn yn unig arferiad cofnodedig yr Apostolion.

3. *Y dull yn mha un yr annerchir yr aelodau yn y Llythyrau Apostolaidd.* Yn mhob engraifft, cymmer yr Epistolau yn ganiatâol fod y personau yr ysgrifenid atynt wedi eu bedyddio. Ni wneir gwahaniaeth. Cymmerir yn ganiatâol fod pawb yn ddieithriad wedi ymostwng i'r ordinhad santaidd. Yn Rhuf. vi. gosodir allan i'r holl eglwys ddadl nerthol dros santeiddrwydd, ar y tir eu bod wedi eu claddu gyda Christ yn y bedydd. Yr oedd yr

eglwys yn Corinth oll wedi eu bedyddio—rhai gan un athraw, a'r lleill gan un arall: 1 Cor. i. 12-16; ond yr oedd llawer ohonynt wedi profi mor ymbleidiol fel y diolchai Paul nad oedd ef wedi bedyddio ond ychydig ohonynt, "fel na ddywedai neb fedyddio ohono yn ei enw ei hun:" adn. 15. Yr oedd holl aelodau eglwysi Galatia wedi eu bedyddio i Grist, a thrwy hyny wedi gwisgo Crist: iii. 27. Yr oeddynt oll yn Ephesus nid yn unig wedi derbyn yr un Ysbryd, eithr wedi ymostwng i yr un bedydd: Eph. iv. 4. 5. Ceir dywediadau cyffelyb yn Col. ii. 12, a 1 Pedr iii. 21. Undodau yr Eglwys yn amser yr Apostolion oeddynt "Un corff, un Ysbryd, un gobaith, un Arglwydd (Iesu), un ffydd, un bedydd (mewn dwfr; canys crybwyllwyd yr un Ysbryd yn barod: adn. 4, 5; ac mewn cyfrifiad gofalus fel yma ni chyfrifai yr Apostol yr *un* peth ddwywaith), ac un Duw a Thad oll:" iv. 3-6. Amlwg yw gan hyny mai un o'r rhwymau â pha rhai y cyssylltid yn nghyd holl Gristionogion yr amseroedd hyny, ydoedd ymostyngiad cyffredin i'r ordinhad o fedydd. Yr oedd Bedydd y pryd hyny yn un o UNDODAU yr Eglwys; ac fe'i crybwyllir yn mhlith y pethau yr ydym i'w cadw yn ofalus, fel y gallom "*gadw yn ddyfal undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd*:" adn. 3. Oddiwrth yr hyn y mae yn canlyn nad yw rhoddi heibio bedydd fel ammod aelodiaeth yn ffordd fanteisiol i gadw unolrwydd cymdeithas Gristionogol, eithr i'w ddystrywio.

I'r un perwyl y mae geiriau 1 Cor. xii. 12-14, yn y rhai y rhesymai yr Apostol mewn amddiffyniad i undeb corff dirgeledig Crist ar y ddaear. Bloomfield, Doddridge, a Calvin, tywysog yr esbonwyr, gyda llawer o Faban-fedyddwyr enwog ereill, a addefant mai at yr ordinhad o fedydd y mae y cyfeiriad yn yr adnodau hyn. Meddwl yr Apostol yn ddiau ydyw, mai trwy yr Ysbryd Glân y tueddwyd holl ddychweledigion y cyfnod hyny i ymostwng i'r broffes o grefydd a wnaed yn y bedydd, y rhai trwy hyny a gawsant eu corffoli yn nghorff addefedig dysgyblion ein Harglwydd; tra wrth yfed o gwpan y cymmundeb yn ysbryd ffydd, y cryfheid y bywyd crefyddol yn eu heneidiau, yn barhaus. Yr oedd dau beth dan y gyfraith yn rheidiol er cael derbyniad i ragorfreintiau yr oruchwyl-

iaeth Foesenaidd, h.y. genedigaeth o rieni Iuddewig, a'r ddefod o enwaediad. O dan yr oruchwyliaeth newydd, y mae dau beth yn ofynol er cael aelodiaeth eglwysig, h.y. ailenedigaeth, neu enedigaeth oddi uchod, a bedydd. Yn amser yr Apostolion yr oedd holl aelodau yr eglwysi yn nghyntaf, yn marn cariad, wedi eu geni o'r Ysbryd, ac yna o ddyfroedd y bedydd: Ioan iii. 5.

Ond a yw hyn oll yn profi ein bod ni *yn awr i ofyn bedydd fel peth anhebgorol i aelodiaeth?* A yw y drefn bennodedig hon, y drefn naturiol, y drefn yma a gedwid gan yr Apostolion, yn rhyw ddeddf i ni? A ydym ni i arfer trefn groes i'r un a awdurdodid fel yma? Yna nis gall dim yn y Testament Newydd fod yn ddeddf i ni. Os nad yw pennodiad, na natur yr achos, na chynllun ysbrydoledig a gwastadol, nac hyd y nod y *rhai hyn oll yn nghyd* yn cyfansoddi deddf i'r eglwysi yn ein dyddiau ni, i ba le yr ydym i edrych am gyfarwyddyd o barthed i'w cyfansoddiad? Byddai yr un man i ni fod heb Actau yr Apostolion, heb yr Epistolau, ac heb Gommisiwn ein Harglwydd, mor bell o leiaf ag y perthynant i lywodraeth Eglwysig. Yn sicr y mae angen ar ein brodyr a resymant fel hyn i ailystyried eu rhesymeg, a'r canlyniadau i ba rai yr arweinia yn anocheladwy. Ond y maent hwy yn dra hoff o'r ddadl *tu quoque.* Gofynant i ni paham na chyfarchem y naill y llall yn ein heglwysi â'r "Cusan santaidd," *alias*, y "cusan cariad?" Rhuf. xvi. 16; 1 Cor. xvi. 20; 2 Cor. xiii. 12; 1 Thess. v. 26; 1 Pedr v. 14. A gofynant yn mhellach, paham na wnaem ni olchi traed ein gilydd? Ioan xiii. 14. I'r hyn yr atebwn, nas gall profi ein bod *ni* wedi gwyro oddiwrth arferiad Apostolaidd mewn mater bychan, eu cyfiawnhau hwy mewn ymadael ag egwyddor sylfaenol yn llywodraethiad yr eglwysi Apostolaidd—egwyddor bennodedig yn y Commisiwn, gydgordiol â natur yr achos, ac y gweithredid arni yn wastadol gan yr holl Apostolion ysbrydoledig, yn mhob eglwys a blanent, ac yn mhob chwanegiad a wnaed at bob un o'r cyfryw eglwysi. Eglur yw, nad yw cyfarchiad cyfeillgar a charuaidd, pa un a wneir ef trwy siglo llaw, neu ymgofleidio, neu gydio yr ên, neu gusanu, yn fater o lywodraethiad eglwysig, eithr yn arferiad cenedlaethol. A pha un a yw llettygarwch neu gariad

Cristionogol yn gofyn i mi olchi traed fy mrodyr a ymwelant â mi o bryd i bryd, a ymddibyna ar ba un a fyddant yn gwisgo esgidiau, sefyllfa y ffyrdd, gwres yr hîn, a'u hewyllys hwy yn y mater. Y mae llawer o'n heglwysi ar y Cyfandir yn cyfarch eu gilydd â chusan cariad. Yn ddiammheuol, y mae arnom ni yn ein heglwysi angen mwy o'r cyfeillgarwch caruaidd rhwng yr aelodau o bob gradd o gymdeithas, oedd yn ffynu yn amser yr Apostolion. O am fwy o gariad gwresog yn mhlith saint Duw.

Mewn perthynas i'r *dull yn mha un y ffurfid eglwysi o gredinwyr bedyddiedig* dywedir yn unig wrthym, eu bod yn derbyn eu gilydd: Rhuf. xiv. 1, xv. 7; h.y. caniatâent eu gilydd i gydnabod y naill y llall fel dysgyblion proffesedig Crist, wedi ymuno â'u gilydd yn gyfundeb santaidd er cynnal achos eu Harglwydd ar y ddaear. Chwanegid hwy at eu gilydd fel un gymdeithas, gan gyduno i gyfarfod yn yr un lle er lles ac adeiladaeth y naill a'r llall: Act. ii. 37–47; xi. 19–26; xiv. 21–23; xvi. 5, 40; xx. 7. Nid oes genym hanes am ddim gwasanaeth crefyddol neillduol yn cael ei gynnal ar sefydliad eglwysi newydd; ond yr oedd gweddi ac ympryd yn ddiau, y prif ddyledswyddau a gyflawnid, fel ar amryw achlysuron cyffelyb: Act. xiii 2, 3. Lled debyg hefyd, y rhoddid "deheulaw cymdeithas" fel arwydd o gydnabyddiaeth: Gal. ii. 9. Y mae y gwasanaeth a gynnelir genym ni ar achosion o'r fath yn llawer mwy llafurus nag eiddo yr amseroedd boreuol. O barthed i dderbyniad aelodau newydd i eglwysi oeddynt wedi eu sefydlu yn barod, y mae yn sicr fod yn rheidiol i'r eglwys neillduol â'r hon y byddai y dychweledig am ymuno, gael ei boddloni fod yr ymgeisydd yn wir gredadyn ac wedi ei fedyddio. Fel yma, pan oedd Paul yn "ceisio ymwasgu â'r" eglwys yn Jerusalem, ni chredai yr aelodau ar y cyntaf ei fod yn ddysgybl, ac nid cyn i Barnabas symud ymaith eu hammheuon y caniatâusant i'w dderbyn: Act. ix. 26–28. Ni wnai y dychweledig yn ei fedydd ond proffes yn unig o'i ffydd yn Nghrist, ni fyddai yn dewis unrhyw eglwys neillduol fel ei artref. Yr oedd ymuno ag eglwys, a'i mabwysiadu fel ei gyfundeb, yn weithred ganlynol a gwahanol. Gallai unrhyw bregethwr yr efengyl, pa un ai gweinidog ynte efengylydd, fedyddio y sawl a fynai; ond

fyddai y weithred hon ynddi ei hun *(ipso facto)* yn cyfansoddi y person bedyddiedig yn aelod o unrhyw eglwys neillduol. Fel y cawn weled yn y man, yr oedd yn ofynol i bob cyfundeb Cristionogol gael eu boddloni yn nheilyngdod y rhai a geisent dderbyniad i'w cymdeithas, ac mewn penderfynu y mater hwn yr oedd y lluaws dysgyblion yn pleidleisio.

Pa un a wnai yr ymgeisydd ryw gyffes mewn geiriau o'i ffydd *gerbron yr eglwys*, nid yw yn sicr. Yr adnodau yr ymorphwysir arnynt fel yn awdurdodi y rheidrwydd o'r cyfryw gyffesiad cyhoeddus, ydynt Rhuf. x. 8–10. Gallant fod yn *cynnwys* cyffesiad geiriol o'r fath mewn cyfarfod eglwysig, ond y maent yn cynnwys llawer iawn mwy nâ hyny. Yr ydym i gyffesu Crist yn mhob man a bob amser; a sicr yw na ddylem betruso gwneuthur y cyffesiad hwn yn mhresenoldeb ein brodyr Cristionogol. Y mae pob eglwys at ei rhyddid i fabwysiadu y mesurau a farno yn oreu er dyfod i benderfyniad boddhaol o barthed i dduwioldeb yr ymgeisydd. Pennodi dau frawd doeth fel cenadau oddiwrth yr eglwys (2 Cor. viii. 23) i ymweled ag ef, a gwneuthur ymholiadau yn nghylch ei rodiad moesol, ydyw yr arferiad a fabwysiedir fwyaf cyffredin yn ein plith ni (Bedyddwyr Seisnig), ac ymddengys mor addasol â dim ellir ddyfeisio. Mewn perthynas i dderbyniad aelodau o eglwysi Cristionogol ereill i gymmundeb achlysurol, neu aelodiaeth drosglwyddiedig, gwnaed hyn yn amser yr Apostolion fel yn ein plith ni, naill ai trwy lythyr cymmeradwyol, neu dystiolaeth eiriol dysgyblion adnabyddus. O'r olaf y mae genym engraifft yn Act. ix. 26–28, lle y gwnaeth tystiolaeth eiriol Barnabas sicrhau derbyniad Paul i gymdeithas â'r eglwys yn Jerusalem; o'r blaenaf cawn amgylchiad yn Act. xviii. 27, lle y cawn yr eglwys yn Ephesus yn ysgrifenu at yr eglwysi yn Achaia, gan annog y dysgyblion i dderbyn Apolos.

Rhydd trydydd Epistol Ioan at yr anwyl Gaius, un engraifft arall. Yr oedd Ioan wedi ysgrifenu drosto ei hun, ac y mae yn debygol dros yr eglwys yn Ephesus at yr eglwys o ba un yr oedd Gaius yn aelod, adn. 9, gan gynghori yr eglwys hono i dderbyn rhyw frodyr oeddynt allan ar daith genadol, adn. 7, 8; ond yr oedd yno un Diotre-

phes yn yr eglwys, gweithrediadau terfysglyd yr hwn oeddynt wedi cyffrôi llid hyd y nod yr Apostol caruaidd Ioan. Ni wnai y dyn yma, yr hwn hefyd, fel y mae gwaethaf y modd sydd iddo ddisgynyddion lawer, na derbyn y brodyr ei hun, na gadael i ereill wneuthur hyny, adn 10. Gall y darllenydd ddarllen yr oll o'r llythyr byr a hyfryd hwnw at Gaius, a ysgrifenwyd dan yr amgylchiadau hyn. Ein dyben yn galw sylw ato yma ydyw dangos yn unig, mai gweithred yr eglwys oedd derbyn personau i gymmundeb cysson neu achlysurol: gwel hefyd 2 Cor. iii. 1, yn nghyd â'r cyfeiriad at lythyrau cymmeradwyol.

## PENNOD II.

### CYNNULLEIDFAOLIAETH YR EGLWYSI APOSTOLAIDD.

Y MAE genym yn y bennod hon i wneuthur ymchwiliad i'r ffurf o lywodraeth oedd yn ffynu yn yr eglwysi Apostolaidd. Pa un ai esgobaethol, henaduriaethol, neu gynnulleidfaol ydoedd? Yn awr, mewn llyfr bychan fel hwn, nid oes genym ofod i ymchwiliad maith i hawliau y ffurfiau hyn. Gan gredu, fel yr ydym, mai y gynnulleidfaol ydyw yr unig un sydd a sail iddi yn yr Ysgrythyr, cyfeiriwn ein sylw yn benaf, at sefydliad yr awdurdod yma, gan gyfeirio yn awr ac yn y man at y ddwy arall wrth fyned rhagom. Os ydyw cynnulleidfaoliaeth o awdurdod ddwyfol, yna nis gall Esgobyddiaeth na Henaduriaeth fod felly, canys y mae y tair yn hollol wahanol yn eu hegwyddorion sylfaenol. Nis gallant *oll* fod o Dduw.

Wrth Gynnulleidfaoliaeth y golygwn lywodraethiad amgylchiadau pob eglwys trwy benderfyniad ei haelodau ei hun. Y mae y drefn hon yn honi hawl pob eglwys, trwy bleidlais rydd eu haelodau, i dderbyn neu wrthod ymgeiswyr am aelodiaeth; i ddiaelodi y rhai fyddont wedi dianrhydeddu eu proffes; i adferyd y cyfryw wrthgilwyr ar eu hedifeirwch; ac i ethol eu holl swyddogion; yn nghyd â rheolaeth pob mater arall perthynol i drefniad amgylchiadau yr eglwys.

1. *Cawn ystyried yn mlaenaf y profion a roddir yn Actau yr Apostolion.* Deilliodd y swydd Apostolaidd yn uniongyrchol oddiwrth Grist, ac yr oedd yn arbenig yn ei

natur a'i hawliau. Ei nodweddion neillduol oeddynt, gallu i dystio fel *llygaid-dystion* o adgyfodiad ein Harglwydd: Act. i. 21, 22; 1 Cor. xv. 8; gallu i gyflawnu gwyrthiau a rhoddi y gallu hwn i ereill: Act. viii. 15-17; x. 44; xix. 6; ysbrydoliaeth trwy yr Ysbryd Glân: Ioan xx. 22; Gal. i. 12, ac awdurdod cyffredinol yn yr eglwysi yn mhob oes, ac yn mhob gwlad: 1 Cor. vii. 17; xvi. 1; 2 Cor. xi. 28. Nid oedd yr Apostolion wedi eu galw yn gymmaint gan yr eglwysi, ag yn uniongyrchol gan Grist Ei Hun. Trwyddynt hwy y llefarai eu Harglwydd yn mhob mater perthynol i lywodraethiad Ei eglwysi.

Y weithred eglwysig gyntaf a gymmerodd le wedi esgyniad Iesu, oedd etholiad Matthias i lanw lle Judas. Yr oedd hon yn weithred ag y cymmerodd yr holl eglwys yn Jerusalem rhan ynddi: Act. i. 15-26. "Dywedir yma iddynt *hwy*, gan olygu y dysgyblion—y rhai a annerchir fel *gwyr a brodyr* (adn. 15, 16) osod dau gerbron. Gweddïasant hefyd, a bwriasant eu coelbrenau. Fel yma, darfu i'r lluaws dysgyblion, ac nid yr Apostolion yn unig, ethol Matthias yn lle Judas:" *Davidson's Ecclesiastical Polity, p.* 196.

Y ffaith nesaf i'w chrybwyll ydyw etholiad y diaconiaid cyntaf. Yr oedd hon yn ddiammheu yn weithred yr *holl* eglwys yn Jerusalem. "Y deuddeg a alwasant yn nghyd y *lluaws (to plēthos)* dysgyblion, ac a ddywedasant: Edrychwch yn eich plith eich hunain am seithwyr da eu gair, yn llawn o'r Ysbryd Glân a doethineb, y rhai a osodom ar hyn o orchwyl. A boddlawn fu yr ymadrodd gan yr *holl luaws;* a hwy (yr holl luaws) a etholasant Stephan, &c:" Act. vi. 2-5. Nis gall un beirniad teg wadu fod hwn yn etholiad a wnaed trwy bleidlais yr holl eglwys. Diau fod derbyniad Saul i gymdeithas â'r eglwys yn Jerusalem yn weithred y dysgyblion oll: Act. ix. 26—28. Teimlodd Pedr yn iawn iddo amddiffyn ei ymweliad â Chornelius a'i dŷ gerbron yr holl eglwys yn Jerusalem: Act. xi. 2-18. Unodd holl aelodau yr eglwys yn Antiochia i ddanfon cymhorth i'r brodyr yn Judea, trwy law Barnabas a Saul: Act. xi. 27-30, a'r xii. 25.

Neillduodd yr un eglwys Barnabas a Saul i'r gwaith y galwwyd hwynt iddo gan Dduw, ac wedi "ymprydio, a

gweddïo, a dodi eu dwylaw arnynt, gollyngasant hwy ymaith:" Act. xiii. 2, 3. Nid oedd ordeiniad gan yr Apostolion yn ymyraeth ag etholiad cyffredin: Cymharer Act. xiv. 23. ag Act. vi. 2–6. Adroddodd Paul a Barnabas y modd y cyflawnasant eu cenadaeth, wrth yr holl eglwys a'i hanfonodd hwy allan. Cynnullasant yr eglwys yn nghyd i'r dyben hwn: Act. xiv. 26–28. Derbyniodd yr holl eglwys yn Jerusalem y cenadau a anfonwyd atynt i ymgynghori yn nghylch y dychweledigion o blith y Cenedloedd, a chynnorthwyasant yn y ddadl: Act. xv. 4, cymharer ag adn. 12. A dewisodd yr holl eglwys, Judas a Silas yn ddygiedyddion eu penderfyniad i'r cyfundebau oeddynt wedi eu cynhyrfu gan y ddadl, adn. 22. Cymmeradwywyd y llythyr cymmeradwyol a ddygodd Apolos at eglwysi Achaia, gan yr holl frodyr yn Ephesus; ac fe'i hysgrifenwyd at y dysgyblion a gyfansoddent y cyfryw eglwysi: Act. xviii. 27. Y tro diweddaf yr aeth Paul i Jerusalem, adgofiwyd ef gan yr apostolion yno y daethai y lluaws dysgyblion yn nghyd (cymharer ag Act. vi. 2. a'r 5), "canys hwy a gânt glywed dy ddyfod di:" Act. xxi. 22; ac fe'i cynghorwyd i fabwysiadu ffordd o ymddwyn a fuasai o duedd i foddhau y lluaws oll: adn. 23, 24.

Y mae llyfr Actau yr Apostolion fel yma yn dwyn tystiolaeth ddiammheuol i gynnulleidfaoliaeth drylwyr yr eglwysi boreuol.

2. *Tystiolaeth y llythyrau Apostolaidd.* Yn yr Epistol at y Rhufeiniaid, cyfarfyddwn â'r cyfeiriadau canlynol at gynnulleidfaoliaeth bur yr eglwys hono: Cynghorir yr eglwys i dderbyn y rhai "sydd wan yn y ffydd," xiv. 1, yr hyn a ddengys y derbynid aelodau gan yr holl gyfundeb, ac nid gan yr henuriaid yn unig. Yr oedd yr aelodau yn derbyn eu gilydd ac yn rhybuddio eu gilydd, adn. xv. 7, 14; cynghorid hwy i dderbyn Phebe o eglwys Cenchrea, xvi. 2; yr oeddynt i graffu gyda cherydd eglwysig ar y rhai a barent annghydfod a rhwystrau yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgasant: adn. 17. Nid oes dim yn yr Epistol hwn nad yw yn cydweddu â'r ffurf o lywodraeth Eglwysig a amddiffynir genym.

Cynnwysa yr Epistol cyntaf at y Corinthiaid yr un nodweddion. Yr oedd esgymmundod y godinebwr trythyll

hwnw i fod yn weithred yr *holl eglwys*, pan wedi *ymgynnull yn nghyd* yn enw yr Arglwydd Iesu: v. 4. Yr oedd y frawdoliaeth hon i "garthu allan yr hen lefain" (trwy ddiaelodiad) fel y byddai eu cyfundeb yn bur: adn. 7. Yr oedd yr aelodau i wrthod pob cymdeithas â throseddwyr: adn. 11. Yr oeddynt i wneyd sylw o gymmeriad a bywyd eu gilydd, ac i farnu y rhai oeddynt o fewn eu cyfundeb: adn. 12. Yr oeddynt i ymuno yn y weithred sobr o "fwrw ymaith y dyn drygionus hwnw o'u plith;" adn. 13. Yr oedd y brodyr lleiaf parchus i gael eu dewis i benderfynu cwerylon yn nghylch materion bydol, yn hytrach nâ myned o flaen llys gwladol: vi. 4. Gwnaed cam â chynnulleidfaoliaeth yn yr eglwys hon, canys pan ddeuent yn nghyd yr oedd "amrafaelion yn eu mysg xi. 18; etto, ni ddywed Paul wrthynt am roddi heibio y *drefn*, eithr cynghora hwy i'w chadw mewn *ysbryd priodol;* oddiwrth yr hyn y gall gwrthwynebwyr diweddar i ryddid llafar a phleidlais yn eglwysi yr Arglwydd, ddysgu gwers fuddiol. *Nid yw camweinyddu cyfundrefn iawn yn ei chyfnewid i un ddrwg.*

Y mae yr ail Epistol at yr un eglwys yn cynnwys cyfeiriadau cyffelyb. Dywedir fod esgymmundod y troseddwr yn *gosp a weinyddwyd gan laweroedd, (upo tôn pleionôn)* ii. 6, yr hyn fel yr addefa Bloomfield a olyga "i'r gosp gael ei chario i weithrediad ganddynt oll." A chynghorir yr *un partïon*, y llaweroedd, yr holl aelodau, i *adferyd* y cyfryw droseddwr ar ei edifeirwch; i faddeu iddo; ac i gadarnhau eu cariad tuag ato ef: adn. 7–10. Cyfeiria yr Apostol yn y iii. 1, at lythyrau cymmeradwyol, yn cymmeradwyo personau i gymmundeb eglwysi ereill, fel wedi eu hawdurdodi yn rheolaidd gan aelodau yr eglwysi a'u rhoddent. Llefara am rhyw frawd, fel wedi ei *ddewis gan yr eglwysi* i gydymdaith ag ef i ddosparthu eu cyfraniadau i eglwysi anghenus: viii. 19. Llefara am frodyr ereill fel "cenadon yr eglwysi," a chymmeradwya hwynt i sylw y Corinthiaid ar y tir hyny: adn. 23, 24. Yn yr Epistol at y Galatiaid yr ydym yn cael Paul yn amlygu ei ddymuniad am i'r rhai a aflonyddent yr eglwys â gau athrawiaeth, fod wedi eu diaelodi o'i chymdeithas: v. 12; a chyfarwyddiadau yn cael eu rhoddi i aelodau ysbrydol yr

eglwys i ymdrechu dwyn pob brawd cyfeiliornus i edifeirwch: vi. 1. Yn yr Epistol at yr Ephesiaid, cynghorir holl aelodau yr eglwys i ymddarostwng i'w gilydd yn ofn Duw, fel gweriniaeth santaidd a chariadlawn: v. 21. Yr Epistol at y Philippiaid a gynnwysa eglureb brydferth o ofal tyner Paul am unoliaeth yr eglwys hono. Yr oedd yno ddwy chwaer, Euodias a Syntyche, wedi annghydweled ac mewn annghydfod. Atolyga yr Apostol arnynt i ymgymmodi, a chynghora y gweinidog llywodraethol (i. 1.) i gynnorthwyo y gwragedd da hyn i ddyfod etto i synied yr un peth yn yr Arglwydd: iv. 2, 3.

Cynnwysa yr Epistol at y Colossiaid gyfeiriad llon-gyfarchiadol at ymlyniad yr eglwys wrth y *drefn (taxis)* neu y ddysgyblaeth a ddwyfol sefydlwyd yn yr eglwysi. Cynghorir yr holl eglwys i ymwrthod â phawb a ddysgent auathrawiaeth, rhag iddynt eu hanreithio a'u twyllo am eu gwobr, ii. 8–18, yr hyn a ddengys yn eglur fod yr aelodau yn dewis eu hathrawon eu hunain, os amgen, paham y rhybuddir *hwy* o barthed i'r personau a ddylent wrandaw? Gorchymmynwyd darllen yr Epistol i'r holl aelodau ar ol ymgynnull ohonynt mewn cyfarfod eglwysig, ac yr oedd i'w ddarllen wedi hyny yn yr un modd gan yr eglwys yn Laodicea: iv. 16. Ac archwyd i'r holl eglwys ddywedyd wrth Archippus am edrych at ei weinidogaeth, adn. 17 yr hyn sydd yn profi fod holl weinidogion yr eglwysi yn ddarostyngedig i'w dysgyblaeth, ac nad oeddynt dan arolygiaeth unrhyw awdurdod tu allan iddynt. Yr oedd gallu gan yr eglwysi i rybuddio eu gweinidogion, i'w diswyddo, a'u diaelodi pan brofent eu hunain yn anffyddlon ac anniwygiadwy.

Gorchymmyna yr Epistol cyntaf at y Thessaloniaid yr holl aelodau i gynghori ac adeiladu eu gilydd, ac i adnabod yr un pryd, y rhai a'u llywodraethent yn yr Arglwydd: v. 11–13. Yr oeddynt i fod yn dangnefeddus yn eu plith eu hunain ac mewn lleoedd ereill: adn. 13. Yr oedd yr holl eglwys i rybuddio aelodau afreolus, yn gystal â dyddanu y gweiniaid: adn. 14. Ac yr oedd pob aelod i wylied yn ofalus rhag gau athrawiaeth yn y rhai a'u dysgent hwy. "Profwch bob peth, deliwch yr hyn sydd dda:" adn. 21. Yn yr ail Epistol at y Thessaloniaid, y mae yr holl aelodau

yn cael eu cynghori i ddal y traddodiadau a ddysgwyd iddynt gan yr Apostolion, pa un bynag ai trwy ymadrodd ai trwy epistol: ii. 15. Yn mhellach, gorchymmynir hwynt yn ddifrifol i "dynu ymaith (diaelodi) oddi wrth bob brawd fyddai yn rhodio yn afreolus," ac nid yn ol y traddodiad Apostolaidd: iii. 6. Yr oedd yr holl eglwys i ddangos ei hannghymmeradwyaeth i'r hwn na dderbyniai eirchion yr epistol; yr oeddynt i ymuno oll i'w gynghori: adn. 14, 15. Yn yr Epistol at yr Hebreaid, cawn fod y ddyledswydd o gyd-arolygiaeth yn cael ei chydnabod yn eglur. Yr oedd yr aelodau i gynghori eu gilydd, fel na ymgaledai neb ohonynt trwy dwyll pechod: iii. 13. Yr oeddynt i gydystyried eu gilydd, i annog eu gilydd i gariad a gweithredoedd da, a pheidio esgeuluso eu cydgynnulliad eu hunain: xi. 24, 25.

Pedr yn ei Epistol cyntaf a gynghora y rhai ieuainc i ddangos pob ymostyngiad a pharch dyledus i aelodau henaf yr eglwys, a gorchymmyna bawb i fod yn ostyngedig i'w gilydd, a bod wedi ymdrwsio oddi fewn â gostyngeiddrwydd: v. 5. Ioan, yn ei Epistol cyntaf, a orchymmyna aelodau yr eglwysi a annerchir, i beidio "credu pob ysbryd, eithr i brofi yr ysbrydion, ai o Dduw y maent; oblegid y mae gau brophwydi lawer wedi myned allan i'r byd:" iv. 1. Dyma brawf arall o allu aelodau yr eglwysi i osod yn eu swydd, neu ddiswyddo eu gweinidogion:—nid ar un egwyddor arall y buasai y fath gynghor â hwn yn briodol. Y mae trydydd Epistol Ioan yn cynnwys prawf eglur o gynnulleidfaoliaeth yr eglwysi Apostolaidd. I ba eglwys y perthynai Gaius, nid yw yn hysbys. Nid yw hyny fodd bynag o ddim pwys. Dyfynwn yr adnodau yn gyflawn:—"Mi a ysgrifenais at yr eglwys: eithr Dïotrephes, yr hwn sydd yn chwennych y blaen yn eu plith hwy, ni dderbyn ddim o honom. O herwydd hyn, os deuaf, mi a ddygaf ar gôf ei weithredoedd y mae efe yn eu gwneuthur, gan wag-siarad i'n herbyn â geiriau drygionus: ac heb fod yn foddlawn ar hyny, nid yw efe ei hun yn derbyn y brodyr; a'r rhai sydd yn ewyllysio, y mae yn eu gwahardd, ac yn eu bwrw allan o'r eglwys:" adn. 9, 10. Yma, yr oedd engraifft o *gamddefnyddiad* y ffurf gynnulleidfaol o lywodraeth eglwysig. Defnyddiodd Dïotrephes

y cyfleusderau o roddasai iddo, i gyfodi plaid yn yr eglwys er gwrthwynebu dylanwad yr Apostol Ioan. Er hyny ni roddwyd un gorchymmyn i roddi heibio y drefn, oblegid bod rhai dynion drygionus yn ei chamddefnyddio.

Y mae Epistol Judas yn cynnwys y cyfarwyddyd canlynol i'r eglwysi a annerchir ynddo; y mae y cyfeiriad yn ddiau at weinyddiad dysgyblaeth eglwysig. "A thrugarhewch wrth rai (ymddygwch yn dyner atynt), gan wneuthur rhagor; eithr rhai cedwch trwy ofn, (h.y. trwy fesurau llymach), gan eu cipio hwy allan o'r tan; gan gashau hyd y nod y wisg a halogwyd gan y cnawd:" adn. 22, 23. Yn nghyflawniad dysgyblaeth yr eglwys, yr oeddynt i ystyried yn ddoeth, sefyllfa ysbrydol y troseddwr, a maint ei drosedd. Ac felly yn llyfr y Dadguddiad: yn yr annerchiad at yr eglwysi, yr ydym yn cael pob eglwys a flinid gan athrawiaeth gyfeiliornus yn cael ei cheryddu am oddef hyny yn ei chyfundeb. Ceryddir yr eglwys yn Pergamos am gadw yn ei mynwes y rhai a ddalient athrawiaeth Balaam, a'r rhai a ddysgent gyfeiliornadau y Nicoliaid, a gorchymmynir iddi edifarhau am y llacrwydd yma mewn dysgyblaeth: ii. 14, 15, 16. Ceryddir yr eglwys yn Thyatira am "adael i'r wraig hono Jezebel, yr hon a alwai ei hun yn brophwydes, ddysgu a thwyllo gwasanaethwyr Duw:" adn. 20. Nid ydym yn aros i ymholi pwy a feddylir wrth y "wraig hono Jezebel, pu'n ai person ynte cyfundrefn ydoedd. Ein hunig ddyben yn cyfeirio at yr adnod yw galw sylw at yr awgrym sydd ynddi at allu a dyledswydd eglwysi Cristionogol i symud ymaith o'u cymdeithas bawb aelodau ac athrawon annheilwng. Os nad oedd ganddynt y gallu hwn, ni fuasai dim cyfiawnder yn y cerydd a roddid iddynt am beidio ei ddefnyddio. Nis gallai fod dim pechod mewn peidio defnyddio gallu nad oedd yn eu meddiant. Gwir yw, fod yr annerchion a gofnodir yn llyfr y Dadguddiad yn cael eu cyfeirio yn mhob achos at yr angel, neu yr henuriad llywodraethol, neu weinidog yr eglwys *fel ei swyddog gweithredol.* Ond y mae *cynnwysiad* yr annerchion yn profi iddynt gael eu bwriadu i'r eglwysi eu hunain. Anfonir gohebiaethau at eglwysi cynnulleidfaol yn wastad trwy eu gweinidogion. Y mae genym ein Undebau

Cynnulleidfaol a Bedyddiedig, a phan gyhoedda eu hysgrifenyddion ryw annerchiad at yr eglwysi, anfonant ef i fugeiliaid yr eglwysi hyn, dyledswydd pa rai yw dwyn y mater o dan ystyriaeth eu praidd.

Nid yw yr Epistolau at Timotheus a Thitus yn cynnwys dim sydd yn groes i gynnulleidfaoliaeth yr eglwysi boreuol. Yr oedd Timotheus a Thitus eill dau wedi cael *dawn gwyrthiol,* ac wedi derbyn cenadwriaeth neillduol oddiwrth yr Apostol Paul, i gynnorthwyo yn nhrefniad amgylchiadau cyfundebau newydd eu planu: gwel 2 Tim. i 6; 1 Tim. iv. 14; i. 3; Titus i. 5. *Yr oeddynt yn gynnrychiolwyr Paul ac yn gweithredu dan ei arolygiaeth.* Nid oeddynt yn esgobion, neu weinidogion, ond efengylwyr wedi derbyn dawn goruwch-naturiol, 2 Tim. iv. 5, gwaith y rhai oedd cynnorthwyo mewn ffurfio eglwysi newydd, ac yn nhrefniad y rhai a ffurfiwyd yn barod: 1 Tim. v. 17–22; 2 Tim. ii. 2; Titus i. 5; iii. 10, 11. Fel y dywed y mwyaf o'r hanes-feirdd, "Yr oll a ellir gasglu o'r Ysgrythyr Santaidd am Timotheus yw ei fod naill ai yn Apostol, neu yn rhaglaw pennodedig Apostol, heb ei gyfyngu i ofalu am unrhyw le. Gellir dyweyd yr un peth am Titus (fel yr awgryma y geiriau hyny yn i. 5), iddo ef gael ei adael yn Nghreta, fel y gallai gyflenwi, neu fyned rhagddo i drefnu yr hyn oedd Sant Paul mewn dull Apostolaidd wedi ddechreu; i'r hyn y cafodd efe ei genadwriaeth neillduol, fel y swnia y geiriau hyny (*megis yr ordeiniais i ti*). Felly nis gellir meddwl fod yr hyn a wnaeth ef yn Nghreta yn gymmaint o ymarferiad gweinidogaeth gyffredin ag o gyfarwyddiad genau ysbrydoledig."—*Milton,* "*Animadversions on the Remonstrants Defence.*" Ac felly y dywed y dysgedig a'r anmhleidiol Stillingfleet: "Anfonid efengylwyr weithiau i'r wlad yma, i osod yr eglwysi mewn trefn yno; weithiau i wlad arall. Ond, lle bynag y byddent, gweithredent fel efengylwyr, ac nid fel *swyddogion sefydlog.* A rhai felly oedd Timotheus a Thitus, er yr holl wrthwynebiad a wneir yn erbyn hyny, fel yr ymddengys i unrhyw rai a gymmerant olwg anmhleidiol ar y rhesymau o bob tu."—*Irenicum, p.* 340, *4to. London,* 1662. Cynnorthwyai y cyfryw ddynion yr eglwysi yn nechreuad eu gyrfa, gan eu cymhorth hwy yn newisiad swyddogion

teilwng, eu dysgu i drefnu eu hamgylchiadau eu hunain, a'u cyfarwyddo yn ngweinyddiad y ddysgyblaeth gynnulleidfaol; ond wedi i'w gwaith neillduol hwy gael ei orphen, aent rhag eu blaen i faesydd ereill, gan adael yr eglwysi oeddynt wedi eu planu a'u sefydlu i'w duwioldeb a'u doethineb eu hunain, a thywysiad yr Ysbryd Glân. Am hyny, enfyn Paul at Timotheus i ddyfod ato ef i Rufain, 2 Tim. iv. 9, 11, 21; a dymuna ar Titus i ddyfod ato ef i Nicopolis dros y gauaf: Titus iii. 12. Yr oeddynt eill dau wedi cyflawnu y gwaith neillduol a bennodwyd iddynt, a gorchymmynid iddynt gan hyny i ddychwelyd at yr Apostol, er cael eirchion newydd o barthed i lafur dyfodol mewn maesydd ereill. Wrth reswm nid oedd dim yn rhwystro efengylydd i gael ei anfon gan awdurdod Apostolaidd i ymweled â'r un eglwys yr eilwaith, neu eglwys oedd wedi ei sefydlu er ys rhai blynyddoedd, os ymddangosai hyny yn marn Apostol yn ddymunol. Nid oes dim fodd bynag yn y cyfryw addefiad sydd yn groes i'r gynnulleidfaoliaeth buraf.

3. *Natur yr Achos.*—Y ffurf Gynnulleidfaol o lywodraeth eglwysig ydyw yr unig un sydd yn gysson â'r medd ylddrych sylfaenol o eglwys Gristionogol. Y mae yn ddi ammheu fod eglwysi y Testament Newydd yn *gymdeithasau gwirfoddol*, wedi eu cynnull o'r byd trwy gyfnewidiad personol yn meddyliau a syniadau eu haelodau; ac fel pawb cymdeithasau gwirfoddol ereill, yr oedd yn rhaid iddynt wrth gyfansoddiad a roddai le i ymarferiad barn Gristionogol pob aelod yn nhrefniad eu hamgylchiadau. Yr oedd yr eglwysi Apostolaidd yn cael eu ffurfio ar yr egwyddor eu bod i *adeiladu* ac *arolygu* eu gilydd, fel y mae yn amlwg oddiwrth y lluaws adnodau a ddyfynwyd yn y bennod hon; ac fe rydd y ffurf Gynnulleidfaol o lywodraeth eglwysig yr helaethrwydd mwyaf i'r ymarferiad o'r egwyddor yma. Drwyddi hi dysgwylir i bob aelod wneyd ei ran mewn gofal santaidd i wylied dros burdeb a ffyniant yr holl ddeadell. Yn mhellach, bwriadwyd yr eglwysi boreuol i *ddadblygu sel a gweithgarwch pob aelod yn y gwaith mawr o ddarostwng y byd i Grist.* Yr oeddynt yn gyfansoddiadau *(organisations)* o weithwyr dros Dduw, oddiwrth y rhai y seiniodd allan Air yr Arglwydd:

1 Thess. i. 8. Cynnulliadau o lafurwyr unigol wedi ymffurfio yn gyfundebau oeddynt, yn y rhai y golygid fod i bob un ei le a'i waith. Y gynnulleidfaoliaeth hyny a esyd eu holl aelodau mewn gwaith, ac a rydd i'r rhai mwyaf santaidd ac ymroddgar eu dylanwad cyfreithlawn yn y gymdeithas, ydyw y fwyaf ysgrythyrol. Yn fyr, profir awdurdod y ffurf hon o lywodraeth eglwysig gan y ffaith *ei bod yn rhoddi y lle mwyaf i'r amlygiad o ras a fyddo yn mhob aelod.* Y mae eglwys Gynnulleidfaol yn rhoddi yr holl yni santaidd sydd ynddi mewn gwaith. Nid yw yn gosod dim rhwystrau ar ffordd y gweithrediad mwyaf rhydd o'r yni dwyfol a roddes Ysbryd Duw yn ei chyfundeb. Nid yw yn llyfetheirio, trwy awdurdod allanol, weithrediad rhydd ei bywydoldeb ysbrydol. Rhoddir lle i ddylanwad cyflawn yr holl santeiddrwydd, doethineb, a sel a ellir gael yn ei chymdeithas.

Wrth gwrs, rhydd y drefn yma yr un pryd rhai cyfleusderau i amlygu y drwg a fodola yn yr eglwys. Dichon i gwerylon gyfodi, gall ryw Ddiotrephes wneyd defnydd o ffurfiau gwerinol i gario yn mlaen ei weithrediadau pleidiog; gall ryw Euodias a Syntyche derfysgu heddwch yr eglwys trwy eu hymrysonau anweddus. Pan ddelo yr aelodau yn nghyd, gall ymraniadau fod yn eu mysg. Ond nid yw y rhai hyn yn ffrwythau cyfreithlon cynnulleidfaoliaeth Gristionogol, mwy nag yw cynneu tân ansantaidd, neu gynnyrchu cwerylon chwerw yn effeithiau *priodol* ymddangosiad Crist yn ein plith. Etto, fe ddywedodd ein Harglwydd y byddai y cyfryw bethau, oherwydd llygredd y natur ddynol: Matt. x. 34–36. Caniatâ Cynnulleidfaoliaeth i'r sorod sydd mewn eglwys godi i'r wyneb, fel y byddo iddo gael ei symud. Nid yn unig y mae yn rhoddi rhyddid i egnion santaidd, ond y mae yn darganfod ac yn dinoethi yr elfenau annheilwng sydd yn gymmysg â hwynt. Gwna fwy nâ hyn: y mae yn darparu ar gyfer "carthu allan yr hen lefain, fel y byddo yr eglwys yn does newydd: 1 Cor. v. 7. Nid yw yn gadael eglwys i drugaredd ymwthwyr halogedig, canys y mae yn hawlio yn arbenig eu diaelodiad.

Yr ysgrifenwyr a amddiffynant sefydliadau crefyddol, ydynt hoff o gyferbynu yr *heddwch* a ddywedant hwy fod

yn nglŷn â'u cyfundebau hwy, â'r terfysgoedd a'r cynhenau ydynt yn cydfyned yn wastadol meddant hwy â'n ffurf ni o lywodraeth eglwysig. Y mae y cyferbyniad fodd bynag, yn ein ffafr ni. Ni chawsom ni erioed y fath derfysgoedd yn ein cyfarfodydd eglwysig, a'r rhai a barhausant am lawer o fisoedd yn *St. George's in the East*, a hyny er gwarth i grefydd, fel y mae'r byd yn gwybod; canys ni chaniatâ ein trefn ni i unrhyw awdurdod *allanol* i osod gweinidog Puseaidd ar eglwys Brotestanaidd, neu draethodydd Newyddegol *(Neological)* o Rhydychain ar gyfundeb o gredinwyr. Gwnaed cam â chynnulleidfaoliaeth yn nyddiau yr Apostolion, ond ni chafodd oblegid hyny ei diddymu. Blodeuodd yn ei holl burdeb hyd ddiwedd yr oes hono, ac am flynyddoedd lawer ar ol hyny. Ni cheisiodd yr Apostolion erioed gwtogi iawnderau a rhyddid yr eglwysi, oblegid fod dynion drwg yn eu camddefnyddio, ond gorchymmynent bob eglwys i ddiaelodi pawb troseddwyr anniwygiadwy. Gogoniant ein cynnulleidfaoliaeth ni yw ei bod yn *gwbl ddibynol ar yr Ysbryd Glân* am ei *nerth a'i heffeithioldeb*. Dyma un o'r rhesymau cryfaf yn ei ffafr. Heb y Dyddanydd Dwyfol nid yw ddim. Gall eglwysi Sefydledig gael eu hattegu gan y gallu gwladwriaethol, a'u cadw mewn math o fywyd marwol yn hir ar ol i'w bywydoldeb ddiflanu. Ond nis gall fod felly gyda'n eglwysi ni. Heb fywoldeb ysbrydol rhaid iddynt yn hwyr neu yn hwyrach farw. Y maent yn ddibynol am barhad eu bodoldeb, ar y gwirionedd, a'r sel, a'r gras fyddo ynddynt. Os palla y pethau hyn, nis gallant yn ol natur pethau barhau i fodoli. Rhaid iddynt yn y cyfryw achos farw, fel y dylai pob eglwys, pan fetho ateb dyben eu bodoldeb, ac y byddo yn rhwystro llwyddiant teyrnas yr Arglwydd, yn lle ei chynnorthwyo. Carasem i derfynau y gwaith hwn ganiatâu i ni helaethu ac egluro y meddylddrych yma, gan y meddyliwn fod ei bwysigrwydd yn teilyngu hyny. Ond gadawwn ef i'r darllenydd. I ni ymddengys yn brawf cadarn fod Cynnulleidfaoliaeth o Dduw. Y mae ei dibyniaeth arbenig a hollol ar ras yr Ysbryd am ei gwir barhad a'i bywydoldeb, yn nghydâ'r rhyddid cyflawn a rydd er amlygu yr holl ddoniau a'r rhinweddau a roddes Duw i'w eglwysi, yn profi ei bod yn berffaith gysson â'r oruchwyl-

iaeth dan ba un yr ydym yn byw, yr hon ydyw GWEINIDOGAETH YR YSBRYD, yn neillduol ac arbenigol felly: 2 Cor. iii. 8.

Y mae y ddadl *a priori;* y ddadl oddiwrth debygolion rhagflaenorol; y ddadl oddiwrth natur yr achos, neu gyfaddasiad, yn gwbl yn ffafr Cynnulleidfaoliaeth. Hon yw y ffurf sydd yn cyduno oreu ag ysbrydolrwydd yr oruchwyliaeth efengylaidd, ac a ddug yr anrhydedd mwyaf i'r Dyddanydd, yr Ysbryd Glân.

---

## PENNOD III.

### ANNIBYNIAETH YR EGLWYSI.

1. PRIN y mae annibyniaeth yr eglwysi yn bwnc gwahanol i'w cynnulleidfaoliaeth; canys y mae yr *olaf* yn cynnwys y *blaenaf* yn rhesymegol. Y maent i fod yn gynnulleidfaol, hyny yw, y mae eu holl aelodau i fod a llais yn nhrefniad eu hamgylchiadau; y maent i fod yn Annibynol, hyny yw, ddim yn ddarostyngedig i unrhyw rheolaeth estronol. Y mae Cynnulleidfaoliaeth bur o angenrheidrwydd yn cynnwys Annibyniaeth. I'r graddau y peidia eglwys a bod yn gynnulleidfaol, y peidia a bod yn Annibynol, a *vice versâ.*

2. Ond nid ydym yn golygu wrth annibyniaeth yr eglwysi, sefyllfa o benrhyddid yn yr hon y mae pob aelod at ei ryddid i ddilyn pob chwim a mympwy o'i eiddo ei hun; ond sefyllfa o ymostyngiad cyffredinol i ddeddfau Iesu Grist, yn yr hon y bydd i bob aelod, *heb bwys unrhyw awdurdod allanol,* ddwyn i weithrediad osodiadau Brenin y Saint. Nid yw un eglwys yn annibynol ar Grist, a'r Ysbryd Glân, neu air dadguddiedig Duw. Yn yr ystyriaethau hyn y mae pob gwir eglwys yn gyfundeb hollol ddibynol. A llefaru yn gywir, nid oes gan un eglwys Gristionogol *awdurdod deddf-roddol;* ac nid oes gan un corff neillduol y cyfryw allu chwaith. Y mae yr hawl o wneyd deddfau i'r eglwysi yn gwbl yn llaw eu Pen a'u Brenin, Iesu Grist. Awdurdod *gweithredol* yn unig yw eiddo yr eglwysi: gwel tud. 38.

Y mae yr Eglwys gyffredinol ar y ddaear wedi cael cyfundrefn berffaith o athrawiaethau, a deddf-lyfr cyflawn.

Y Testament Newydd ydyw ei deddf-lyfr, nid oes arni eisiau un arall. Y mae ei dyledswydd wedi ei chyfyngu i gadw yn sefydlog a chyflawn y deddfau a roddasid iddi gan ei Phen gogoneddus. Nid oedd ganddi "allu i osod deddfau a seremonïau," er fod rhyw Erthygl (gwel Erthyglau yr Eglwys Sefydledig, cyf.) yn haeru fod. Yn ostyngedig wrth draed ei Gwaredwr, ei hunig ymholiad ddylai fod, "Arglwydd, beth a fyni Di i mi ei wneuthur?" Er y gall "achosion newydd" gyfodi a wnant gyflawniad ffyddlon gorchymmynion y Testament Newydd, ac ymlyniad manwl wrth y cynllun Apostolaidd yn anmhoblogaidd, etto y mae llwybr ei dyleswydd yn eglur. Ni fedr unrhyw amgylchiadau ei ryddhau oddiwrth ei rhwymedigaethau i ddirgymhell yn gyflawn orchymmynion ei Phen. Y mae i apëlio at y "gyfraith ac at y dystiolaeth," ac i "gadw pob peth ar a orchymmynwyd iddi gan ei Harglwydd; i gofio yr awdurdod Apostolaidd yn mhob peth, ac i gadw yr ordinhadau fel y traddodwyd hwynt iddi:" 1 Cor. xv. 2, 3; ac i "dynu ymaith oddiwrth bob brawd a'r sydd yn rhodio yn afreolus, ac nid yn ol y traddodiad a dderbyniodd efe o'r nefoedd:" 2 Thess. iii. 6. Y mae tynu ymaith, dodi at, cyfnewid, neu ddullweddu mewn unrhyw ffordd, osodiadau y Gwaredwr, yn sarhad ar Ei swydd freninol ac yn wadiad ymarferol o'r egwyddor Brotestanaidd, y Beibl, yr holl Feibl, a dim ond y Beibl! Dylai holl gyfundebau y ffyddloniaid ymostwng yn barchus a hyderus yn *unig i awdurdod deddf-roddol* yr Hwn oedd yn "dal y saith seren yn Ei law ddehau, ac yn rhodio yn nghanol y saith ganhwyllbren aur:" Dad. ii. 1. Nid yw annibyniaeth yr eglwysi gan hyny, yn drwydded i droseddu gosodiadau y Gwaredwr, ond yn rhwymedigaeth gyffredin o'r hon y mae pawb aelodau yn gyfranog, a'r hon nis gallant yn ddibechod ei threiglo ar unrhyw awdurdod arall, i ddirgymhell yn ysbryd ffyddlondeb a chariad, holl orchymmynion eu Harglwydd.

3. *Dylai yr eglwysi fod yn annibynol ar y gallu gwladwriaethol.* Nid yw eglwysi Sefydledig, h.y. eglwysi wedi eu huno â'r llywodraeth, a'i gwaddoli o'i chyllid, yn eglwysi Iesu Grist. Y mae yn ddiammheuol, filoedd o Gristionogion gwirioneddol yn y cyfryw gyfundebau; ond y

mae y gyfundrefn yn anysgrythyrol, a dylai gael ei diddymu. Y mae y cyfryw eglwysi mewn effaith yn diddymu y gwahaniaeth rhwng yr Eglwys a'r byd, ac yn corffoli y ddau yn un cyfundeb dan agweddion gwahanol. Y genedl yw yr eglwys mewn golygiad gwladyddol; a'r eglwys yw y genedl mewn golygiad eglwysig; cenedl ac eglwys ydynt ddim ond enwau gwahanol ar yr un corff. Y mae eglwysi sefydledig yn dwyn i mewn elfen fydol hollol i drefniad materion teyrnas Crist. Caniatânt i'r galluoedd gwladol wneyd deddfau er eu llywodraethiad hwy. Nis gellir yn wir, ochelyd hyn os yw eglwysi sefydledig i fodoli. Canys y mae yn eglur fod gan y llywodraeth yr hon sydd yn talu yr eglwys am gyflawnu y gwaith o addysgiaeth grefyddol, hawl i fynu gweled fod yr eglwys yn gwneyd ei gwaith yn ol y cytundeb. Darostyngiad yr eglwys i'r llywodraeth ydyw y canlyniad anocheladwy o sefydliad a gwaddoliad y blaenaf gan yr olaf. Y mae yr eglwys yn gwerthu ei rhyddid ysbrydol am elw a sefyllfa.

Pan elo hi lawr i'r Aipht i ymofyn bara, rhaid iddi ddysgwyl cael ei chaethiwo yno. Ond y mae y caniatâd hwn i Cesar i ymwthio i diriogaeth Duw (Matt. xxii. 1), yn dieglwyso pob cyfundeb a ymostynga iddo. Y mae yr uchel lywiawdwr yn dyfod yn drawsfeddiannydd anrhydedd breninol Mab Duw. Crist yn unig a gydnabyddir yn yr Ysgrythyrau yn Ben a Deddfroddwr i'r Eglwys, a haerllug iawn ydyw yr eiddil marwol hwnw a feiddia gynnyg bod yn gyfranog o fawredd breninol Iesu! Beiddgar rhaid fod y pryfyn daearol a hona fod yn ben yr Eglwys mewn cysylltiad â Mab Duw! Y mae y teitl o Ben yr Eglwys, fel y cymhwysir ef at benadur y deyrnas hon, yn golygu rhywbeth neu ddim. Os golyga rhywbeth, golyga ormod; ac os nad yw yn golygu dim, paham y defnyddir ef? Gwell rhoddi fyny ymerodraeth y byd nâ chael ei orfodi i wisgo teitl mor gableddus!

Y mae eglwysi sefydledig yn dwyn i mewn elfen anysgrythyrol arall i'w cyfansoddiad. Gan eu bod yn cael eu cynnal gan y llywodraeth wladol, ymddibynant ar *allu gorfodol* yn y pen draw i gasglu eu cyllid. Yn mhob achos o wrthwynebiad, ânt yn y diwedd at y gallu gwladol, atosgordd y penceidwad, a bidog y milwr. Rhoddir gosodiadau

cyfreithiol mewn grym yn wastad trwy boenau a chospau. Pe amgen, ni fyddent ond llythyren farw. Y mae yr un sylw yn gymhwysiadol at osodiadau perthynol i grefydd. Am hyny gall yr holl allu gorfodol wrth law gan y llywodraeth gael ei ddefnyddio unrhyw amser i orfodi taliad degymau eglwysig. Ond y mae yn eglur nad yw yr eglwys a ganiatâ ddefnyddio gallu gorfodol i gasglu ei chyllid, yn eglwys Apostolaidd. Dywedodd Iesu, "Fy mreniniaeth I nid yw o'r byd hwn. Pe o'r byd hwn y byddai Fy mreniniaeth I, Fy ngweision I a ymdrechent, fel na'm rhoddid i'r Iuddewon; ond yr awrhon nid yw Fy mreniniaeth I oddiyma:" Ioan xviii. 36. Y mae sefydliadau eglwysig ar y llaw arall, o'r byd hwn, am hyny, y mae eu gweision yn ymdrechu (ymladd) yn attafaeliad a gwerthiad meddiannau y rhai a wrthodant dalu tuag at eu cynnaliad!

Eglur yw nad yw eglwysi sefydledig yn eglwysi Apostolaidd. Y mae eu cyfansoddiad yn sylfaenol groes i'r un a geir yn y Testament Newydd. Y cwbl sydd gan yr eglwysi hawl i'w ddysgwyl oddiwrth y llywodraeth wladol yw, cael eu hamddiffyn rhag sarhad ac aflonyddwch yn yr ymarferiad heddychol o'u rhyddid a'u gwasanaeth. Nid ydynt i dderbyn oddiwrth y llywodraeth nag elw na nawdd, eithr i ddibynu ar eu hadnoddion eu hunain, a phresenoldeb a bendith eu Harglwydd yn unig, am gynnaliad a chynnydd. Gall y darllenydd fyfyrio yr adnodau canlynol mewn cyssylltiad â'r adran hon: Matt. xxviii. 19, 20; Marc xii, 17; 2 Cor. x. 4; Act. iv. 9; v. 19; Ioan xviii. 36, 87. Dylid cadw mewn cof hefyd nad oes neb yn aberthu ei iawnderau a'i ragorfreintiau gwladol wrth ddyfod yn Gristion; ac nid yw efe chwaith trwy hyny yn cael ei ryddhau oddiwrth ei ddyledswyddau gwladol. Nid yw ei berthynas newydd â theyrnas Iesu Grist, yn diddymu ei berthynas flaenorol â'r wladwriaeth, neu yn ei ymddifadu o'r rhagorfreintiau a'r rhwymedigaethau a ddeilliant ohoni. Gwel Act. xvi. 37; xxii. 25; Titus iii. 1; 1 Pedr ii. 13-17. Ymddengys oddiwrth hyn, rhagrith y twrw mawr yr ymhyfryda rhai partion wneuthur yn erbyn y rhai a alwant yn "ymneillduwyr gwladwriaethol!"

4. *Dylai eglwysi fod yn annibynol y naill ar y llall.* Nid ydym yn golygu wrth hyn ei fod yn anysgrythyrol i eglwysi

gydweithredu er cyrhaedd amcanion cyffredin a berthynant i'r naill fel y llall. Cyfeiria y Testament Newydd at gydweithrediad felly. Am hyny, cawn yr eglwysi mewn rhai parthau yn gwneuthur casgliadau yr un amser tuag at yr un dyben, Rhuf. xv 25, 26, a rhyw frawd wedi ei "ddewis gan yr eglwysi" i gydymdaith â Phaul yn nghyfraniad eu casgliadau: 2 Cor. viii. 19. Ac y mae cydweithrediad yr eglwysi mewn rhyw anturiaeth gyffredinol yn hollol gydweddol â'u rhyddid yn unigol. Y mae eglwysi cynnulleidfaol y wlad hon oll yn ymuno i gynnal eu sefydliadau enwadol, heb wneuthur un cam â'u hannibyniaeth. Nid oes genym un engraifft am un o'r eglwysi Apostolaidd yn ymyraeth yn swyddogol ag amgylchiadau eglwysi ereill. Eithr i'r gwrthwyneb: trefnai pob eglwys ei materion ei hun heb ymyriad unrhyw gorff eglwysig arall.

Nid yw yr annibyniaeth yma fodd bynag, yn rhwystro un eglwys i geisio cyfarwyddyd eglwys arall; ac nid yw chwaith yn attal un eglwys rhag cynnyg ei chynnorthwy i un arall: Act. xi. 29, 30; xv. 32. Anfonodd yr eglwys yn Jerusalem Barnabas i gynnorthwyo trwy ei lafur a'i gynghorion, yr eglwys oedd newydd ei sefydlu yn Antiochia: Act. xi. 22–26. A phan yr aflonyddwyd yr eglwys hono gan y ddadl yn nghylch enwaediad, dymunasant o'u gwir ewyllys eu hunain gael cyfarwyddyd eglwys Jerusalem ar y mater: Act. xv. 1–3. Anfonwyd Paul a Barnabas gan yr eglwys yn Antiochia i fyny i'r ddinas santaidd yn yr achos hwn. Daeth yr eglwys yn Jerusalem yn nghyd i ystyried y mater, "dystawodd yr holl luaws a gwrandawodd ar Barnabas a Phaul:" Act. xv. 12. Yr oedd y penderfyniad a wnaed yn benderfyniad yr holl eglwys. Yna, "gwelwyd yn dda gan yr Apostolion, a'r henuriaid, yn *nghyd â'r holl eglwys*, anfon gwyr etholedig o honynt eu hunain i Antiochia, gyda Phaul a Barnabas:" adn. 22. Pasiwyd y penderfyniad a fabwysiadwyd yn ddiau mewn cwrdd eglwys reolaidd, ac nid mewn unrhyw *lys eglwysig gwahanol*, yn ol y syniad Presbyteraidd; tra yr oedd ei awdurdod cynghorfaol *(œcumenical)* yn ddeilliedig oddiwrth y ffaith iddo gael ei gymmeradwyo gan yr holl gorff o Apostolion ysbrydoledig: Act. xvi 4. Y mae llysoedd eglwysig yn sefydliadau nad oeddynt yn ad-

nabyddus yn yr amseroedd boreuol. Yr unig frawdleoedd a gydnabyddir yn y Testament Newydd ydynt eglwysi y Gwaredwr, wedi ymgynnull yn nghyd er trefnu pob peth a berthynai i'w dysgyblaeth. Nid yw y Testament Newydd yn cydnabod un Gynghorfa neu Gynnadledd fel yn meddu awdurdod i ymyraeth yn ngweinyddiad amgylchiadau yr eglwysi; ond y mae pob cymdeithas Gristionogol yn cael eu hannerch fel yn meddu awdurdod cyflawn i weinyddu ei llywodraeth ei hun.

Addefir gan yr haneswyr eglwysig enwocaf mai ar yr egwyddorion hyn yr oedd yr eglwysi yn cael eu cyfansoddi yn ystod amser yr Apostolion, ac am flynyddoedd lawer ar ol hyny. Dywed Mosheim, "Yn ystod y ganrif gyntaf ar ol Crist, *cynnulleidfa y bobl* oedd yn dewis eu llywodraethwyr a'u hathrawon eu hunain, neu yn eu derbyn gyda chydsyniad rhydd ac awdurdodol pan gymmeradwyid hwy gan ereill. Yr un pobl a wrthodent neu a gadarnhaent trwy eu pleidlais y deddfau a gynnygid gan eu llywodraethwyr i'r gynnulleidfa; a ddiaelodent aelodau anfoesol ac annheilwng yr eglwys; a adferent y rhai edifeiriol i'r rhagorfreintiau a fforffetiasid ganddynt; a basient farn ar y gwahanol bynciau mewn dadl ac annghytundeb a gyfodent yn eu cyfundeb; a chwilient i mewn ac a benderfynent yr ymrafaelion a ddygwyddent rhwng yr henuriaid a'r diaconiaid; ac mewn gair, a ymarferent yr holl awdurdod hwnw a berthyn i'r cyfryw ag sydd wedi eu gwisgo â'r awdurdod goruchel."—*Cent.* 2, *part* 2, *chap.* 2, *sect.* 7. "Yr oedd yr eglwysi yn yr amseroedd boreuol hyn yn hollol *annibynol*—neb ohonynt yn ddarostyngedig i unrhyw awdurdod estronol, eithr pob un yn cael ei llywodraethu gan ei llywodraethwyr a'i deddfau ei hun. Canys er yr ymgynghorid â'r eglwysi a sylfaenesid gan yr Apostolion mewn achosion dyrus ac ammheus, ac y dangosid parch neillduol iddynt yn hyn, etto, ni feddent ddim awdurdod rheithfaol, dim un math o uchafiaeth ar y lleill, na'r hawl leiaf i wneuthur deddfau iddynt. Nid oes dim i'r gwrthwyneb yn sicrach, nâ'r cyfartalrwydd perffaith oedd yn teyrnasu yn mhlith yr eglwysi boreuol."—*Cent.* 1, *part* 2, *chap.* 2, *sect.* 14.

Dywed yr un ysgrifenydd yn mhellach, "Yr oedd yr

eglwysi Cristionogol yn *annibynol* y naill ar y llall, hyd y nod am ystod y rhan fwyaf o'r ail ganrif; nid oeddynt chwaith wedi eu huno yn nghyd trwy gymmanfa, cynghrair, nac unrhyw rhwymau ereill, ond rhwymau cariad. Yr oedd pob cynnulleidfa Gristionogol yn fath o lywodraeth fechan, a lywodraethid gan ei deddfau ei hun, y rhai a osodid neu a gymmeradwyid gan y gymdeithas:"—*Cent.* 2, *part* 2, *chap.* 2, *sect.* 2.

Beth ydyw y casgliad amlwg oddiwrth yr addefiadau hyn, ond fod eglwysi i'r graddau y rhoddant heibio eu *hannibyniaeth*, yn aberthu eu cymmeriad ysgrythyrol, ac yn peidio a bod fel cyfansoddiadau, yn Eglwysi Iesu Grist. Nid yw yr eglwysi hyny o ganlyniad, a roddant i esgobion neu dadogion *(patrons)*, neu gynnadledd, neu henadurfa *(presbytery)*, yr hawl o bennodi eu gweinidogion, wedi eu cyfansoddi yn ysgrythyrol. Y maent yn ysbeilio pobl Dduw o'u hiawnderau, ac yn troseddu egwyddor eglur y Testament Newydd. Nid yw rhoddi yr awdurdod i dderbyn, diaelodi, neu adferyd aelodau, yn llaw gweinidogion yn unig, neu weinidogion a blaenoriaid yn nghyd, neu henadurfa, chwaith, yn llai croes i egwyddorion sylfaenol, llywodraeth eglwysig y Testament Newydd. Sefwn yn y rhyddid â'r hwn y rhyddhaodd Crist ni. Na chaffed pab, esgob, offeiriad, henadur, na chynnadledd, ein hysbeilio o un o'r rhagorfreintiau a roddwyd i ni gan ein Harglwydd adgyfodedig!

Y mae tystiolaeth y tadau Apostolaidd, fel y gelwir hwy, yn bendant ar gynnulleidfaoliaeth ac annibyniaeth yr eglwysi, lawr hyd derfyn yr hyn a elwir yr oes Apostolaidd. Cydnebydd Clement (fel y tybir yn gyffredin, y Clement a grybwyllir gan Paul yn Phil. iv. 3.) awdurdod pob eglwys yn newisiad ei gweinidogion; ac yn nghynnaliad ei dysgyblaeth eglwysig. Yn y bedwaredd bennod a deugain o'i epistol cyntaf, cyfarfyddwn â'r geiriau hyn: "Yna, y rhai hyny, a bennodwyd ganddynt (yr Apostolion), neu ar ol hyny, gan ddynion enwog ereill, *trwy gydsyniad unol yr holl eglwys*," *&c.;* yr hyn sydd yn golygu mai y dynion enwog a ordeinient, tra mai holl gynnulleidfa o ddysgyblion bedyddiedig a etholent yr esgobion a'r diaconiaid. Yn y bedwaredd bennod ar ddeg a deugain o'r un Epistol

cawn y cynghor canlynol: "Dywed—Mi a wnaf y pethau a benderfynwyd arnynt gan y lluaws *(upo tou plethous)*, dim ond i braidd Crist fod mewn heddwch â'r henuriaid pennodedig." Dengys hyn fod yr holl luaws *(to plethos)* dysgyblion yn amser Clement yn penderfynu pob cwestiwn o ddysgyblaeth eglwysig. I eiriau Clement y mae adnod gyferbyniol yn Act. vi. 5. Y lluaws a etholasent y diaconiaid cyntaf yn eglwys Jerusalem, a dywed Clement wrthym fod *y lluaws* yn ddiweddarach yn yr oes Apostolaidd, yn cadw etto eu hiawnderau. Y mae Wake Esgobyddol, yn hytrach yn fawaidd, yn gosod "*y lluaws*" mewn nodiad ymyl-ddalenol, ac yn gosod "chwi" yn nghorff ei gyfieithiad, yr hyn nid oedd ar un cyfrif yn weithred onest neu anrhydeddus.

Nid yw tri epistol Ignatius, y rhai a geidw Cureton etto fel yn wirioneddol (gwel ei "*Corpus Ignatianum*"), a'r rhai yn ddiau ydynt etto wedi eu llygru yn fawr, yn cynnwys dim sydd yn groes i'r ffurf o lywodraeth eglwysig dros yr hon y dadleuwn. Yn yr unfed bennod ar ddeg o Epistol Polycarp at y Philippiaid, cawn y geiriau yma: "Galarus iawn ydwyf fi gan hyny fy mrodyr am dano ef (Valens, henuriad diaelodedig) a'i wraig; gwnaed yr Arglwydd roddi iddynt wir edifeirwch. A byddwch chwithau hefyd ddoeth yn y mater yma, ac na feddyliwch am y cyfryw fel gelynion, eithr *adferwch hwy* fel aelodau dyoddefedig, y rhai a gyfeiliornasant, fel y cadwoch eich holl gorff. Canys trwy wneuthur hyn, chwi a adeiledwch eich hunain." Am hyny, y mae yn eglur fod dysgyblaeth eglwysig, yn amser Polycarp, yn cael ei gweinyddu mewn diaelodiad neu adferiad, hyd y nod pan mai henuriad fyddai y troseddwr, gan yr holl eglwys. Yr oedd y *lluaws* dysgyblion y pryd hyn yn arferyd eu rhagorfreintiau a'u hawdurdod eglwysig. Swm y bennod yma gan hyny yw hyn: y dylai Eglwys Iesu Grist yn *wladyddol ac eglwysig* fod yn Annibynol.

## PENNOD IV.

### SWYDDOGION YR EGLWYSI.

Y mae gan eglwysi Crist eu gweinidogion priodol, y rhai ydynt eu gallu gweithredol. Ein gorchwyl yn y bennod yma ydyw ymholi i natur a theithi eu swyddau.

1. *Nid oedd i'r Apostolion yn eu swydd arbenig olynwyr.*—Fel llygaid-dystion o adgyfodiad Crist, fel dynion ysbrydoledig, ac fel rhai yn meddu gallu i gyflawnu gwyrthiau, safant yn unig. Yn yr ystyriaethau hyn yr oedd eu swydd yn gwbl *eithriadol* (gwel tud. 322). Fel gweinidogion yr Efengyl, y mae iddynt bob amser eu holynwyr. Nis gallwn fodd bynag, ddychymmygu am ddau ddyn mwy annhebyg nâ'r Apostol Paul ac Archesgob Caergaint. Cyfenwa yr Apostol ei hun yn was Crist, ond y mae yr Archesgob yn wir barchedig dad yn Nuw; gwneuthurwr pebyll oedd yr Apostol, ond y mae yr Archesgob yn un o arglwyddi y deyrnas; nid oedd gan yr Apostol fel ei Feistr, le i roddi ei ben i lawr, ond y mae yr Archesgob yn preswylio mewn palas; yr oedd yr Apostol yn pregethu bron bob amser, ond nid yw yr Archesgob braidd byth yn gwneyd hyny; yr oedd yr Apostol rai prydiau mor dlawd fel yr oedd yn rhaid iddo ar amserau weithio am ei fywoliaeth, ond y mae yr Archesgob yn cael ei filoedd lawer o bunnau yn flynyddol! Eglur yw gan hyny, od oes i'r Apostolion olynwyr yn ein dyddiau ni, fod Archesgob Caergaint yn annhebyg rhyfeddol o fod yn un. Ond y mae y swydd Apostolaidd mewn gwirionedd wedi darfod. Cyflawnodd yr oll a fwriadwyd iddi wneyd. Y mae gan yr Eglwys yn y Testament Newydd swm y cwbl a ddysgodd yr Apostolion yn eu hamser: a phe ymwelai y dynion santaidd hyn â'r ddaear etto, cynghorent ni i fyfyrio yn ofalus eu hysgrifeniadau, fel yn cynnwys pob peth rheidiol i reoleiddiad ein ffydd a'n ymarferiad.

2. *Nid yw swydd efengylydd pan yn annghyssylltiedig ag eiddo gweinidog neu esgob, yn un sydd yn rhoddi dim gallu yn yr Eglwys.*—Gall pob Cristion a feddo y doniau rheidiol, efengylu neu bregethu yr efengyl; ond nis gall neb lywodraethu yn Eglwys Dduw ond yr hwn sydd wedi ei bennodi i hyny trwy bleidlais y bobl. Dyledswydd efengylydd yw ymgynnyg yn hytrach at argyhoeddi y byd nâ dysgu yr Eglwys. Mr. Davidson a sylwa: "Nid oedd swydd Efengylydd, mwy nag eiddo Apostol yn gyfyngedig i un Eglwys; tra nad yw neb swyddwyr a fwriadwyd yn sefydlog yn yr oruchwyliaeth Gristionogol yn *perthyn i fwy nag un Eglwys.* Nid yw cenadon diwedd-

ar y rhai yn anmhriodol ddywedir eu bod wedi eu hordeinio cyn eu hymadawiad, yn *dal un swydd.* Nid ydynt yn dyfod yn swyddwyr hyd nes y gwahoddo eglwys Gristionogol hwy i gymmeryd ei gofal yn yr Arglwydd, ac y derbyniont hwythau yr alwad:" *Ecclesiastical Polity, p.* 146.

3. *Yr oedd y* PROPHWYDI *y sonir am danynt yn y Testament Newydd yn ddiau yn ddynion ysbrydoledig,* gwel 1 Cor. xiii. 2; xiv. 29–32. Yr oedd yr ATHRAWON neillduol hefyd, y rhai a ymddangosasant yn yr amseroedd boreuol, wedi eu breintio i raddau mwy neu lai â'r un dawn. "Amlwg yw fod y *prophwydi* yn ddosbarth dros amser yn unig. Perthynent i'r cyfnod Apostolaidd o Gristionogaeth yn unig. Nid yw y darbwylledd a feddent hwy yn ymddangos yn yr eglwysi diweddar. Y mae yr un sylw yn gymhwysiadol at yr *Athrawon* mewn rhyw ystyr. Wrth edrych arnynt fel yr ymddangosent ar y cyntaf, gyda galluoedd wedi eu dyrchafu gan yr Ysbryd Glân i raddau o addasrwydd annghyffredin i gyfranu gwybodaeth, gellir dyweyd eu bod hwy yn perthyn i'r dadblygiad boreuaf o Gristionogaeth. Pan ddaeth y darbwylledd yma yn ddawn gyffredin, yn gyfryw ellid ei gyrhaedd gan lawer o Gristionogion yn yr ymarferiad o'u galluoedd, y mae yn debygol fod yr athrawon hyn yn cael eu cymmeryd yn fynych i goleg yr henuriaid, ac yn cael trwy hyny mewn modd ffurfiol eu sefydlu yn swyddwyr:" *Davidson's Ecclesiastical Polity, p.* 148.

4. *Yr unig ddwy swydd a gydnabyddir yn y Testament Newydd fel wedi eu bwriadu i fod yn sefydlog yn eglwysi Crist yw yr un Weinidogaethol a'r Ddiaconol.* Pan gyfarcha Paul yr eglwys yn Phillippi, gwna hyny yn yr arddull ganlynol: "Paul a Thimotheus, gweision Iesu Grist; at yr holl saint yn Nghrist Iesu y rhai sydd yn Phillippi, gyda'r *esgobion* a'r *diaconiaid,*" &c., i. 1., trwy yr hyn yr ymddengys nad oedd yn yr eglwys uchel freintiol ac Apostolaidd hon ddim swyddwyr ond esgobion, neu fugeiliaid, a diaconiaid. Y mae yn deilwng o sylw hefyd nad yw yr Apostol yn y Llythyrau at Timotheus a Thitus, pan noda y gwahanol swyddau sefydlog a osododd Crist yn yr eglwysi, yn nghyd â'r cymhwysderau gofynol iddynt, yn crybwyll dim ond swyddau yr esgob a'r diacon; ac y mae

y ddwy hyn pan gyflawnir hwy yn effeithiol yn gwbl ddigonol er adeiladaeth yr Eglwys. Ond y mae yn rhaid i ddyn gael cynneddfau mwy treiddiol nag a feddwn ni, i gael allan yn y Testament Newydd unrhyw awdurdod dros y swyddau canlynol: archesgob, deon, corberiglor, canon, îs-ganon, arch-ddiacon, periglor, *vicar* a churad! a llai fyth ydym ni yn alluog i weled fod unrhyw ran o wirionedd Crist yn rhoddi gallu i'r Llywodraeth i drethu yr holl wlad er cynnal y gyfundrefn o ba un y mae y swyddau hyn yn rhan, neu yn wir unrhyw gredo grefyddol pa bynag, pa mor bur ac Apostolaidd bynag fyddo yn ei hathrawiaethau a'i gosodiadau.

5. *Mae y termau esgob, henuriad, a bugail yn dynodi yr un swydd:*—Gellir yn hawdd gadarnhau y gosodiad hwn trwy gyfeirio at y ffaith fod yr holl *dermau* hyn yn cael eu cymhwyso yn y Testament Newydd at yr un personau ac at yr un swydd. Yn ol y Testament Newydd, y mae pob bugail yn henuriad ac yn esgob, ac nid yw y teitlau amrywiol yma ond darluniad o'i swydd mewn gwahanol agweddion. Cadarnheir y gosodiad yma gan yr adnodau canlynol: "Ac o Miletus efe a anfonodd i Ephesus, ac a alwodd ato henuriaid *(presbuterous)* yr eglwys:" Act. xx. 17, cymharer ag adn. 28—"Edrychwch ar yr holl braidd ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn *esgobion (episkopous)*. Gelwir yr un personau yma yn henuriaid ac yn esgobion. Henuriaid neu fugeiliaid yr eglwys yn Ephesus oeddynt ei hesgobion. "Fel y gosodit henuriaid yn mhob dinas, megis yr ordeiniais i ti: os yw neb yn ddiargyhoedd," &c., "Canys rhaid i esgob fôd yn ddiargyhoedd fel goruchwyliwr Duw:" Titus i. 5-7. Yma etto, defnyddir y *termau* henuriad ac esgob y naill am y llall. "Yr henuriaid sydd yn eich plith, attolwg iddynt yr ydwyf fi, yr hwn wyf gydhenuriad, &c.—Porthwch braidd Duw, yr hwn sydd yn eich plith, gan *esgobeiddio (episkopountes)*, h.y. cyflawnu gwaith esgobion: 1 Pedr v. 1, 2. Y mae henuriaid yma yn cael eu gorchymmyn i gyflawnu gwaith esgobion, yr hyn a brawf mai yr un swydd oedd iddynt. Gelwir henuriaid neu fugeiliaid yr eglwys yn Phillippi yn esgobion, yr hyn a ddengys nad oedd esgobion y Testament Newydd ond bugeiliaid *eglwysi neillduol*, ac na feddent ddim awdur-

dod ar rhanau helaeth o'r wlad a gynnwysent eglwysi lawer.

Yr adnodau ar ba rai y seilia Episcopaliaid diweddar eu hathrawiaeth o awdurdod esgobaethol ar amryw eglwysi, ydynt y rhai canlynol: "Na cherydda hynafgwr, eithr cynghora ef megis Tad." "Yn erbyn henuriaid na dderbyn achwyn, oddieithr dan ddau neu dri o dystion:" 1 Tim. v. 1, 19. Ni ddwg yr adnodau hyn fodd bynag, y pwys osodir arnynt. Canys nid oedd Timotheus yn esgob o gwbl, ond efengylydd yn unig: gwel 2 Tim. iv. 5. Ac yn y cymmeriad hyny, gweithredai yn enw ac ar rhan Paul yr Apostol ysbrydoledig, yr hwn a ddeisyfodd arno aros yn Ephesus i gyflawnu gwaith pennodol yno: 1 Tim. i. 3. Ar ol cyflawnu y gwaith hwnw, yr oedd awdurdod Timotheus yn darfod yn Ephesus, a byddai yn dychwelyd at Paul, ei feistr, er cael cyfarwyddiadau newydd. Heblaw hyny, yr oedd Timotheus a Thitus wedi derbyn dawn gwyrthiol: gwel tud. 328, 329. Yr oedd yr henuriaid, nad oedd Timotheus yr efengylwr i'w ceryddu, na derbyn cyhuddiad yn eu herbyn dan ddau neu dri o dystion, yn *esgobion* eu hunain: 1 Tim. iii. 1-7. Felly nid yw cenadaeth Timotheus yn profi dim o barthed i awdurdod esgobaethol ar eglwysi a bugeiliaid, eithr dangos y mae fod eglwysi ac esgobion y Testament Newydd oll yn ddarostyngedig i awdurdod yr Apostolion, y rhai a weithredent naill ai yn bersonol, neu ynte trwy efengylwyr, y rhai a dderbyniasant ddawn gwyrthiol, fel eu cynnrychiolwyr.

Gwna y Proffessor Benjamin Jowett, A.C., yn yr "*Essays and Reviews*" yr addefiad canlynol: "Eglur yw fod y *term* esgob yn yr adnodau y cyfeiriwyd atynt (yn y Llythyrau at Timotheus a Thitus) yn gystal ag mewn rhanau ereill o'r Testament Newydd, yn anwahaniaethol oddiwrth henadur, ac y mae awdurdod oruchel esgobion mewn oesau canlynol yn dra annhebyg, yn hytrach nâ thebyg i awdurdod personol yr Apostolion yn nechreuad yr efengyl:" tud. 360. A thrachefn, "Y mae i'r ffurf esgobaethol o lywodraeth eglwysig seiliau digonol; y gwendid yw, ceisio eu cael o'r Ysgrythyr:" tud. 361. Y mae tystiolaeth CLEMENT, y boreuaf o'r tadau Apostolaidd (gwel tud. 338), yn profi mai yr un oedd swydd esgob ac henur-

iaid yn ei amser ef. Bu CLEMENT farw tua 101, O.C. Yn y bedwaredd bennod a deugain o'i Epistol cyntaf, dywed mai pechod mawr ydyw troi o'u swydd fugeiliol *esgobion* duwiol; a llefara am yr *henuriaid* hyny (gan son am yr un dosbarth) fel yn wynfydedig, ac wedi gorphen eu gyrfa, ac wedi cyrhaedd y nefoedd yn ddiangol. Yn ei Epistol cyntaf, y bedwaredd bennod ar ddeg a deugain, wrth gyfeirio at fugeiliaid neu esgobion yr Eglwys, dywed, "Bydded praidd Crist mewn heddwch â'r henuriaid pennodedig." "Ymostyngwch i'r henuriaid." Y mae yn berffaith eglur fod CLEMENT yn defnyddio y *termau* esgob ac henuriad y naill am llall,—am yr un dosbarth o weinidogion. Drwg genym sylwi fod Wake yn cyfieithu y *term* henuriad, yn *offeiriad.* Y mae hwn wrth gwrs yn gyfieithad perffaith anwarantedig. Nid yw Clement yn cydnabod ond dau ddosparth o swyddwyr eglwysig, sef esgob, neu fugail, neu henuriad, a diacon. Fel hyn yr ysgrifena: "Yr Apostolion, gan brofi trwy yr Ysbryd Glân yn flaenffrwyth eu llafur, a bennodasant rhai ohonynt yn esgobion ac yn ddiaconiaid i'r rhai a gredent; ac nid oedd dim yn newydd yn hyn, canys ysgrifenwyd amser maith yn ol am esgobion a diaconiaid. Canys llefara yr Ysgrythyrau mewn man fel hyn: "Pennodaf eu hesgobion mewn cyfiawnder a'u diaconiad mewn ffydd:" 1 Epistol xlii.

Y mae amddiffynwyr esgobyddiaeth ddiweddar wedi bod yn apëlio yn hyf at Epistolau IGNATIUS er prawf o'i dechreuad boreuol. Bu farw Ignatius, mae yn dra thebyg tua 111, O.C. Ond perodd *Corpus Ignatianum* dysgedig y Dr. Cureton yn 1849, seiliedig ar y darganfyddiad o'r hen gyfieithad Syriaidd o Epistolau Ignatius yn Monachdy Santa Maria Deipara, yn Nyffryn Nitrian, yn yr Aifft; ddadfeiliad ofnadwy yn yr hen *Corpus Ignatianum.* Y mae y saith Epistol, pymtheg ar y cyntaf, y rhai a briodolid gynt i'r tâd hwn, wedi eu lleihau i dri, ac y mae y tri hyn wedi eu puro o'u rhanau mwyaf tra-esgobaethol. A'r ffaith fwyaf nodedig o gwbl yw, mai yr Arch-ddiacon Tattam, a Dr. Cureton, y ddau yn glerigwyr yn yr Eglwys Sefydledig, sydd wedi bod yn foddion i roddi yr ergyd yma i esgobyddiaeth ffyrnig. Yn mhellach, cyhoeddwyd cyfrol Dr. Cureton yn 1845, dan nawdd y diweddar Arch-

esgob Caergaint, a'i *Corpus Ignatianum* yn 1849 dan nawdd y (diweddar) Dywysog Albert! Sicr yw gan hyny, nas gallai fod dim diffyg ffydd, na dim tueddiad gwrth-esgobaethol yn yr amgylchiad!

Dyddorol yw sylwi sut y mae y darganfyddiadau diweddar hyn yn profi cywirdeb rhan fawr o'r feirniadaeth dan yr hon y darostyngwyd y saith epistol a briodolid o'r blaen i Ignatius. Addefodd Mosheim ei hun yn analluog i benderfynu pa faint ohonynt ellid ystyried yn gynhenid. Tybiai Neander fod hyd y nod yr adolygiad byraf wedi cael ei lygru yn ddirfawr. A dywedodd Dr. Bennett yn dra rhagorol, "Os ydym yn galaru yn herwydd y llawer o bethau beiadwy a briodolir i Ignatius, ymgysurwn yn y gobaith fod ei edmygwyr annoeth wedi gosod i mewn bethau y buasai ef yn gwrido wrth eu hysgrifenu. Cyfeillion goreu ei goffadwriaeth fyddent y rhai a ddywedent yn fynych wrth ddarllen y llythyrau yma, *gelyn a wnaeth hyn.*" Am danom ein hunain, teimlem yn wastad, mai y camamseriadau oeddynt y rhanau mwyaf beiadwy, ac na pherthynent i Ignatius, na'i oes, a'u bod yn y man lleiaf, ganrif yn rhy hen i'r lle yr ymddangosent. Ac y mae amcan-dybiaeth feirniadol, yn awr wedi ei throi yn sicrwydd, a bri teg y merthyr cyntefig hwn wedi ei buro o'r dianrhydedd a wnaed iddo gan lygrwyr diegwyddor ei ysgrifeniadau. Y mae yn nodadwy mai y tri Epistol yn y cyfieithad Syriaidd ydynt yr unig rhai a ddyfynid gan awdwyr fuont byw o flaen Eusebius. Crybwyllir yr Epistol at Polycarp, gan Polycarp ei hun; y mae yr un at y Rhufeiniaid yn cael ei ddyfynu gan Irenaeus tua diwedd yr ail ganrif; tra y mae Origen yn y drydedd ganrif yn dyfynu o'r Epistol at y Rhufeiniaid, a'r un at yr Ephesiaid. Ond ni cheir dim dyfyniadau *cyn amser* Eusebius o ddim o Epistolau tybiedig Ignatius. Yr hyn sydd yn brawf penderfynol, debygem, mai dim ond y tri hyn sydd yn deilwng o grediniaeth.

"Nid yw John Chrysostom, yn y cwbl o'i ysgrifeniadau tra lluosog, sydd wedi dyfod lawr atom ni, wedi dyfynu gair o un o Epistolau ereill Ignatius, na dim o'r rhanau hyny o'r ddau grybwyllwyd uchod, y rhai a wrthodir gan y Syriaeg. Y mae ei dystiolaeth ef, o ganlyniad, mor bell ag y

mae'n myned, yn gymhwysiadol i'r adolygiad a ddangosir yn y tri Epistol Syriaidd."—*Cureton's Corpus Ignatianum, Intro. p.* 66. Yn awr, gan fod y fagnelfa hon yn ein meddiant, ni a'i trôwn ar ein gwrthwynebwyr Uchel Eglwysig, ac a ddadleuwn, gan fod esgobyddiaeth orwyntog wedi barnu yn rheidiol i ymyraeth â hanesion boreuaf yr Eglwys, er eu gwneuthur yn wasanaethgar i'w dyben, y mae hyn yn dangos fod ei hymlynwyr yn ymwybodol eu bod wedi *gwyro* oddiwrth symlrwydd a phurdeb yr amseroedd boreuaf, ac fod yn rhaid iddynt, o ganlyniad lygru ysgrifeniadau eu rhagflaenoriaid, rhag i'r cyfryw ysgrifeniadau aros yn wrthdystiad tragywyddol yn erbyn newydd-bethau uchelgais, a choel-grefydd! Nid oedd esgobyddiaeth rhonc i'w chael yn ngweithiau Ignatius na'i amseroedd. Ond pa waeth am hyny. "Gosoder hi ynddynt; bydded ei weithiau proffesedig yn gelwydd i'r holl genedlaethau dyfodol, ond i'n cyfundrefn anwyl ni gael ei nawdd; eled gwirionedd hanesyddol lle yr elo: attegwn ein dychymmygion a'n sefydliadau ar draul (gwerthu) ffyddlondeb ac anrhydedd." Modd bynag, mae'r ddichell o'r diwedd wedi ei darganfod, ac y mae gweithredoedd gorwael llygrwyr a geu-ddodwyr wedi eu dinoethi. A phob parch i'r dynion sydd wedi dwyn y twyll i'r goleu.

Ond beth am y tri gweddill o epistolau Ignatius, y rhai ydynt wedi eu gadael fel rhelyw bychan wrth waelod tawddlestr beirniadaeth ac ymchwiliad i ysgrifeniadau tadau yr eglwys? Wel, addefwn nas gallwn weled dim ynddynt yn ad-daliad am yr holl lafur a dreuliwyd i'w chwilio, mor bell o leiaf ag y perthyna eu teilyngdod cynhenid. Ystyria unrhyw aur-gloddiwr Californaidd y ffrwyth o gymmaint "golchi" yn un gwael iawn. Cynnyrchion anfoddhaol ydynt y tri Epistol gweddill, o barthed mater ac arddull. Y peth goreu ellir ddweyd am danynt yw, na chynnwysant ddim heresi. Bai mwyaf Epistolau Ignatius ydyw yr haeriad gormodol a wna o ufudd-dod i weinidogion crefydd. Wrth gyfarch Polycarp fel esgob yr eglwys yn Smyrna dywed, "Na wneler dim heb dy ewyllys di." Yn yr Epistol at yr Ephesiaid, gwahardda i briodas gymmeryd lle heb gydsyniad yr esgob. Etto, efe a ddywed:—"Edrychwch at yr esgob, fel y byddo i Dduw hefyd edrych

arnoch chwi. Byddaf fi yn lle eneidiau (*antipsuchon*) y rhai ydynt ddarostyngedig i'r esgobion, a'r henuriaid, a'r diaconiaid; gyda hwy boed i mi gael rhan yn agos at Dduw!"—*Ep. Polyc.* Yn awr, y mae genym ammheuon cryfion am wirioneddolrwydd y dyfyniadau uchod, er eu bod yn y cyfieithad Syriaidd. Sawrant yn rhy gryf o draws-awdurdod ysbrydol i weddu Ignatius na'i amseroedd. Blaen tenau gaing (*wedge*) ffug-ddodiad ydynt. Yr oedd llygriad ysgrifeniadau Ignatius yn ddiau yn weithrediad graddol, a thybiwn ein bod yn canfod ei ddechreuad yn y dyfyniadau hyn. Nid yw yr Epistol at Polycarp, yr hwn a fu farw tua hanner canrif ar ol Ignatius, yn cynnwys dim ffolinebau o'r fath.

Bu farw Polycarp yn y flwyddyn 166. Nid oes genym ond un Epistol o'i eiddo ef wedi ei adael, yr hwn a anfonwyd i'r Philippiaid. Y mae yn hollol sicr nad oes un cydnabyddiad o'r gyfundrefn esgobaethol yn yr epistol hwn. Yr unig swyddwyr a grybwyllir ydynt henuriaid a diaconiaid. Nid yw Polycarp yn defnyddio y *term esgob* o gwbl, ond yn wastad *henuriad* pan yn llefaru am fugail eglwys Gristionogol. Fel yma, "Polycarp a'r henuriaid y rhai ydynt gyd ag ef, at eglwys Dduw yn Philippi." Ac yn ei gynghorion i swyddwyr eglwys Philippi, nid yw yn cyfarch neb ond diaconiaid a henuriaid. "Yr un modd bydded y *diaconiaid* yn ddiargyhoedd yn ngolwg Ei gyfiawnder, fel diaconiaid Duw a Christ, ac nid dynion, &c. A bydded yr *henuriaid* yn dosturiol gyda phob trugaredd, gan argyhoeddi y rhai a gyfeiliornasant, a cheisio y gweiniaid, heb esgeiluso y weddw a'r amddifad, a'r tlawd." Am Valens, oedd wedi ei ddiaelodi, dywed, "Yr hwn gynt a fu henuriad yn eich plith chwi." Ac etto, "Am hyny gweddus yw ymgadw oddiwrth yr holl bethau hyn, gan fod yn ddarostyngedig i'r henuriaid a'r diaconiaid, megis i Dduw a Christ." Un peth sydd eglur, nad oedd dim gwahaniaeth rhwng yr henuriad a'r esgob pan ysgrifenodd Polycarp at y Philippiaid, cymhwysid y ddau enw at fugeiliaid eglwysi. Cyfenwir Polycarp ei hun gan yr eglwys yn Smyrna, yn eu cylchlythyr, "yn athraw ac esgob gwir Apostolaidd a phrophwydol yr eglwys gyffredinol yn Smyrna." Ond ni ddefnyddiodd ef ei hun y *term* esgob yn

un o'i ysgrifeniadau sydd ar gael. Os defnyddiodd ef, rhaid mai fel y gair eglwysig cyfystyr i henuriad, canys dyma y gair a ddefnyddiodd i ddysgrifio swydd yr esgob.

Nodedig iawn yw y gwahaniaeth rhwng symlrwydd duwiol, ysbryd ac arddull Polycarp, a'r iaith chwyddedig a'r balchder esgobyddol a welir yn epistolau ffugiol Ignatius. Yn yr olaf, tybiwn ein bod yn clywed trwst traed Annghrist mewn llawer o frawddegau; gelwir i fyny yn union weledigaethau am Rhufain Babaidd, ac nis gallwn lai nâ dywedyd fod dechreuad y drwg yma! Ond pan yn darllen brawddegau syml a Christionogol Polycarp, arweinir ni yn ol yn ein myfyrdodau, a llonir ni wrth gael yn ei dudalenau ef lawer o ysbryd y "dysgybl hwnw oedd Iesu yn ei garu," Y mae Crist a'i Apostolion yn byw drachefn yn ysgrifeniadau Polycarp; ond y mae amseroedd dyfodol dynion fel Leo a Hildebrand yn cael eu harddangos a'u prophwydo yn yr epistolau a gawsant am gyhyd o amser eu priodoli i Ignatius, ond yn awr ydynt wedi eu profi gan Cureton yn gynnyrchion oes ddiweddarach. Nid oedd gwahaniaeth yn nyddiau Polycarp rhwng henuriad ac esgob, ac nis gallai gan hyny fod yn bodoli yn amser Ignatius, yr hwn oedd wedi marw tua hanner can mlynedd o *flaen* Polycarp. Diammheu i *ffurf lariaidd o esgobyddiaeth* ymddangos yn fuan yn yr eglwysi Cristionogol. Fel y dywed y cywir a'r anmhleidiol Neander:—

"Pa fodd bynag y bu o barthed i'r pwynt hwn yn *ddechreuol,* y mae ein gwybodaeth o'r sefydliadau a fodolent yn yr ail ganrif, yn ein galluogi i gasglu ei fod yn rhaid i'r swydd sefydlog o gymmedrolwr yr henuriaid, gael ei sefydlu yn dra buan ar ol yr oes Apostolaidd; ac mai iddo ef, fel un yn meddu arolygiaeth ar y cwbl, y rhoddwyd yr enw neillduol o esgob, yr hwn a'i gwahaniaethai ef oddiwrth bawb henuriaid ereill. Fel yma, daeth yr enw i gael ei gymhwyso i'r henuriad *hwn* yn unig, tra yr oedd yr enw henuriad yn parhau yn gyffredin i bawb; canys ni feddai yr esgobion fel cymmedrolwyr, hyd yn hyn ddim cymmeriad swyddogol arall, amgen henuriaid. Nid oeddynt ond *Primi inter pares*—rhai blaenaf yn mhlith eu cyfartal." "*Church History,*" vol. i. p. 264: Bohn. Dyma yr unig eglurhad boddhaol o ddechreuad Esgobydd-

iaeth. Ond fe ysgrifenodd Ignatius pan oedd yr ail ganrif etto megis yn ei mabandod, a chawn i'r ffurf dra llariaidd yma o Esgobyddiaeth ddyfod i fod.

Dychwelwn yn awr at yr ymchwiliad mwy pleserus a boddhaol o dystiolaeth yr Ysgrythyr.

6. *Bugeiliaid, henuriaid, neu esgobion yr eglwysi ydynt eu prif swyddwyr, a'u gallu gweithredol eglwysig ac ysbrydol.* Traethasom yn barod ar hawl aelodau eglwys i ddewis eu bugeiliaid eu hunain. Ond nid ydynt wedi eu gadael i *ffansi* a mympwy pan yn gwneuthur y cyfryw ddewisiad. Y mae y cymhwysderau ydynt i'w dysgwyl yn eu hesgobion wedi eu gosod lawr yn eglur yn y Testament Newydd. Gwel 1 Tim. iii. 1-7; 2 Tim. ii. 2; Titus i. 5-9. Dylai pob aelod mewn eglwys Gristionogol, y gelwir arno i arferyd y rhagorfraint uchel o bleidleisio yn newisiad bugail, fyfyrio yn nghyntaf yr Ysgrythyrau yma yn ei ystafell, a chymharu y bugail bwriadedig â hwynt. Byddai llai o ddewisiadau anhapus pe gwnelid hyn gan *bob* aelod. Ni raid i neb gyfeiliorni yn y cyfryw achos, â'r Ysgrythyr o'i flaen, ac addewid yr Ysbryd i'w dywys ef. Ond Ow! y mae ein heglwysi yn rhy aml yn ymgynghori ag *awdurdodau ereill*, ac yn edrych mwy ar dalentau ardderchog nag ar dduwioldeb rhagorol, mwy ar boblogrwydd nag ar wir werth, mwy ar agweddion masnachol y cyssylltiad nag ar ei ganlyniadau ysbrydol. Nid rhyfedd yw fod undeb a ffurfiwyd dan amgylchiadau felly yn profi yn anffrwythlon a difudd!

Nid oedd ordeiniad gan yr Apostolion (gwel Act. xiv. 23), neu gan Efengylydd, wedi ei bennodi i hyny gan Apostolion (gwel 1 Tim. v. 22; Titus i 5), yn ymyraeth dim â rhyddid y bobl yn newisiad gweinidog, fel y profir gan yr amgylchiad cyferbyniol, ordeiniad diaconiaid: Act. vi. 3-6. Yn awr, gan fod y swydd Apostolaidd arbenig wedi darfod, y mae gan bob eglwys gyflawn awdurdod i ordeinio, neu neillduo yr henuriad a fyddo hi wedi ddewis. Y mae ein gwasanaeth ordeiniadol ni yn ein taraw yn wastad fel yn brin o fod yn gysson ag annibyniaeth yr eglwysi. Os oes rhaid i'r gweinidogion cymmydogaethol ordeinio, ac os nad yw y bugail dewisedig heb hyn yn cael ei gydnabod fel un sydd wedi argymmeryd y berthynas

fugeiliol, dyna ddiwedd ar annibyniaeth ein heglwysi yn y rhan bwysicaf o'n gweithrediadau. Dylai pob eglwys neillduo ei swyddwyr ei hun trwy ympryd a gweddi.

Yr oedd gan yr holl eglwysi Apostolaidd lluosog fwy nag un henuriad, bugail, neu esgob. Gwel Act. xiv. 23; xx. 17; 1 Tim. v. 17; cymharer â'r i. 4; Titus i. 5; Phil. i. 1. Nid oedd rhai o'r brodyr hyn yn rhoddi eu *holl* amser i'r gwaith, ac nid oeddynt chwaith yn cael eu cynnal gan yr eglwys, gwel 1 Tim. v. 17, 18. Sicr ydyw y byddai yn welliant pe gweithredid ar gynllun cyffelyb yn ein heglwysi mwyaf lluosog. Fel y mae, y mae gormod o'n bugeiliaid felly mewn enw yn unig i'r rhan fwyaf o'u praidd. Y mae y gwaith yn rhy fawr i ddwylaw un dyn. Y bugeiliaid a roddent eu holl amser i'r gwaith a gynnelid gan gyfraniadau eu pobl, canys, "Felly hefyd yr ordeiniodd yr Arglwydd i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl, fyw (nid newynu) wrth yr efengyl," 1 Cor. ix. 1-14; Gal. vi. 6; 1 Tim. v. 17. 18 (defnyddir y gair *timē* yma yn yr ystyr o *gynnaliaeth):* 1 Pedr v. 2. Y mae pob eglwys dan rwymau yn ol ei gallu i gynnal y bugail sydd yn ymroddi yn ddiarbed i'w gwasanaeth. Nid oedd Paul, yr hwn a wrthodai gynnaliaeth gan unrhyw eglwys neillduol yn fugail, ond Apostol.

Y bugail ydyw swyddog gweithredol yr eglwys yn mhob mater eglwysig. Ymgyfyd hyn o wir natur ei swydd. Am hyny, llywydda yn mhob cyfarfod o'r aelodau er cadw trefn, a chyfarwydda yr eglwys o barthed i'r modd goreu i weithredu. Am hyny, y dywedir ei fod yn *llywodraethu*, h.y., yn arlywyddu yr eglwys, Heb. xiii. 7, 17; a gofynir i'r eglwys roddi y parch dyledus iddo fel blaenor a swyddog gweithredol y cyfundeb: 1 Tim. iii. 5; 1 Thess. v. 12, 13. Efe yw ei hesgob neu arolygydd. Y mae yn "bwrw golwg arnynt:" 1 Pedr v. 2. Ond nid yw i arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw: adn. 3. Yn enw ac yn ol ewyllys yr holl eglwys fel eu *swyddog gweithredol*, derbynia aelodau newydd i gymmundeb, gollynga aelodau a symudant i eglwysi ereill, ac adfera y rhai fyddont wedi eu dychwelyd o wrthgiliad. Pan ddelo y dysgyblion yn nghyd i addoli, i dori bara, i weinyddu dysgyblaeth, neu i ymwneyd ag unrhyw fater perthynol i'r eglwys, y bugail yn briodol sydd

yn blaenori. Efe sydd yn gweinyddu yr ordinhad o fedydd a swper yr Arglwydd, ac yn cario yn mlaen y gwasanaeth dwyfol. Rhaid i bob cyfundeb gwirfoddol a chyfansoddiadol gael swyddog gweithredol, ac yn holl eglwysi y Gwaredwr, y bugeiliaid neu'r esgobion ydynt y cyfryw rai. Ond prif waith y bugail yw "llafurio yn y gair ac yn yr athrawiaeth." Rhaid iddo fod yn "*athrawaidd*," 1 Tim. v. 17; iii. 2. "Dal yn lew y gair yn ffyddlawn, yn ol yr addysg, fel y gallo gynghori yn yr athrawiaeth iachus, ac argyhoeddi y rhai sydd yn gwrth-ddywedyd:" Titus i. 9. Rhaid iddo "borthi praidd Duw:" 1 Pedr v. 2. Y mae ei bobl gleifion i anfon am dano, fel y gweinyddo gysur ysprydol iddynt yn eu hadfyd: Iago v. 14. Mewn gwirionedd, dylai pob bugail fod yn gyfaill, cynghorydd, ac athraw ysbrydol ei aelodau.

7. *Diaconiaid yr eglwysi ar y cyntaf oeddynt eu swyddogion gweithredol yn mhob achos arianol.* Am hyny, *priodol* yn gystal ag Ysgrythyrol yw iddynt hwy gael eu hethol trwy bleidlais y bobl, cyfraniadau y rhai y maent i'w dosparthu. I'r diaconiaid cyntaf gael eu dewis trwy bleidlais yr holl luaws dysgyblion, a ymddengys oddiwrth Act. vi. 1—6. Ar ol eu hetholiad, dylai diaconiaid gael eu neillduo i'w swydd drwy weddïau eu gweinidogion a'u cydaelodau. Ceir y cymhwysderau gofynol iddynt hwy yn Act. vi. 3., 1 Tim. iii. 8—13.; a phob amser, ar etholiad diaconiaid, dylai yr adnodau hyn gael eu myfyrio dan gysgod gorsedd gras gan bob pleidleisydd.

Y mae *parhad* eu swydd yn eglur oddiwrth y cyfeiriadau ati mewn cynnifer o adnodau yn y Testament Newydd. Nid sefydliad dros amser yn unig, wedi ei fwriadu i gwrdd â'r amgylchiad a nodir yn Act. vi. 1. ydoedd. Rhoddodd yr amgylchiad hwnw fodoldeb i'r swydd, ond fe ddaeth y swydd hono yn elfen *barhaol* yn nghyfansoddiad yr eglwysi boreuol. Am hyny, crybwyllir y ddiaconiaeth gyda y swydd weinidogaethol yn 1 Tim. iii., fel gosodiad sefydlog. Y mae Paul yn ei lythyr at y Phillipiaid yn annerch yr "esgobion a'r diaconiaid." Y Cristion cyntaf a gafodd yr anrhydedd o droedio llwybr gwaedlyd merththyrdod oedd Stephan, *diacon* yn yr eglwys yn Jerusalem. Mawr oedd yr anrhydedd a osodwyd fel yma ar y ddia-

coniaeth. Yr oedd swydd diaconiaid ar y cyntaf yn gwbl *arianol.* Pennodwyd hwy i ryddhau yr Apostolion o bob gofal yn nghylch dosparthiad elusenau yr eglwys yn Jerusalem. Eu gwaith oedd "*gwasanaethu byrddau:*" Act. vi 1, 2. Gofal arianol oedd eu gofal neillduol hwy.

Ond y mae'n hollol eglur i'r saith diacon cyntaf wneyd mwy na gweithredu fel elusenwyr yr eglwys. "Stephan, yn llawn o ffydd a nerth, a wnaeth ryfeddodau ac arwyddion mawrion yn mhlith y bobl:" adn. 8. Nid oedd gwrthwynebwyr y gwirionedd yn gallu "gwrthwynebu y doethineb, a'r Ysbryd trwy yr hwn yr oedd efe yn llefaru:" adn. 10. "Aeth Phylip i waered i ddinas Samaria, ac a bregethodd Grist iddynt:" Act. viii. 5. Bedyddiodd luaws o'r Samariaid, a'r eunuch o Ethopia adn. 12, 38. Gelwir ef yn "Phylip yr efengylwr," a cheir ef yn Cesarea: xxi. 8. Ac yn ddiammheu, os yw ein brodyr sydd yn dal y swydd ddiaconaidd yn meddu doniau i bregethu yr efengyl, dylent ddefnyddio y talentau hyny er adeiladaeth credinwyr a dychweliad pechaduriaid. Y mae wedi disgyn i ran yr ysgrifenydd gael diaconiaid pregethwrol yn y tair eglwys â pha rai y bu mewn cyssylltiad, a dwfn deimla y rhwymedigaethau dan ba rai y gosodwyd ef gan eu cynnorthwy gwerthfawr hwy yn ngwaith y weinidogaeth. "Gwyn ei fyd ar Dduw na fyddai holl bobl yr Arglwydd yn brophwydi."

Nis gall fod un gwrthwynebiad Ysgrythyrol i ddiacon weinyddu yr ordinhadau yn absenoldeb y gweinidog, neu yn wir, unrhyw aelod arall a welo yr eglwys yn addas i'w bennodi i wneyd hyny. Y mae syniadau llawer o'n heglwysi lawer yn rhy *offeiriadol* ar bwyntiau o'r natur yma.

## PENNOD V.

### DYSGYBLAETH YR EGLWYSI.

Y MAE eglwysi yn bodoli er gweinyddu yn ffyddlon y *ddysgyblaeth* a ddysgir yn y Testament Newydd. Defnyddiwn y *term* dysgyblaeth yn ei ystyr eangaf, fel yn arddangos yr holl osodiadau a ymddiriedodd y Gwaredwr i'n gofal i'w cadw.

I. Y MAE YR EGLWYSI I GYNNAL ADDOLIAD CYMDEITHASOL O DDUW.

Y mae addoli ein Gwneuthurwr yn bersonol yn ddyledswydd ddyledus arnom fel creaduriaid; cyfranoga addoliad cymdeithasol yn fwy o natur gosodiad pendant. Yr oedd addoli Duw yn yr amseroedd boreuol yn cynnwys yr elfenau canlynol: canu Ei fawl, Col. iii. 16; gweddïo, 1 Cor. xiv. 16, 17.; darllen ac egluro yr Ysgrythyr Santaidd, Gal. vi. 6.; cynghori eu gilydd, Heb. iii. 13., 1 Thes. v. 11; a "phregethu," Titus i. 3. Am drefn y pethau yma o ddilyn eu gilydd, ni ddywedir dim, nac am hyd amser ein gwasanaeth. Gadewir hyny i farn a chyfleusderau pob eglwys. Y rheol gyffredin yw, "Gwneler pob peth yn weddaidd ac mewn trefn," 1 Cor. xi. 13., xiv. 40., ac a "berthynant i adeiladaeth:" Rhuf. xiv. 19.

Dylai addoliad Cristionogol fod yn syml ac ysbrydol, mewn cydgordiad â'r *rheol fawr* a osodir i lawr yn Ioan iv. 21—24., ac â'r ffaith ein bod yn byw dan oruchwyliaeth sydd yn arbenigol felly, yn "*weinidogaeth yr Ysbryd:*" 2 Cor. iii. 8. Y mae gwisgoedd offeiriadol, adeiladau gorwych, arddangosiadau chwareuyddol, a ffurf-weddïau, oll yn groes i symlrwydd ac ysbrydolrwydd addoliad efengylaidd. Y maent yn sawru mwy o'r deml dan y gyfraith nâ'r cyssegr Cristionogol, ac yn ddychweliad rhanol at "*egwyddorion llesg a thlodion:*" Gal. iv. 9. Tybiwch fod Paul wedi ymwisgo mewn hat cardinal ac hosanau ysgarlad er "prydferthwch a gogoniant;" neu Pedr wedi addurno ei hun â llewys o lian main; neu Ioan yn hirseinio gwasanaeth mewn llais isel, mwngialus, ac anhyglyw, er adeiladaeth neillduol y saint tlawd yn Ephesus; neu Iago yn darllen gweddïau allan o'r llyfr!! Pan fyddo rhaid i'n heglwysi a'n gweinidogion fyned yn mlaen ar ffyn-baglau ffurf-weddïau, wrth ddynesu at y Brenin tragywyddol, bydd y gogoniant wedi eu gadael. Bydded y dydd hwnw yn dra phell! Y mae'r eglwysi, gan hyny, i gynnal addoliad cyhoeddus a chymdeithasol o'r Jehofah trwy Grist. Nid ydynt i esgeuluso eu cydgynnulliad eu hunain, megys y mae arfer rhai:" Heb. x. 25.

II. Y MAE YR EGLWYSI I GADW DYDD YR ARGLWYDD

FEL DYDD I ADGOFIO CYFLAWNIAD EU PRYNEDIGAETH YN ADGYFODIAD CRIST.

Y mae gan yr oruchwyliaeth newydd ei Sabboth, neu ei dydd o gymmundeb santaidd. Yr oedd y gosodiad yma o wyl wythnosol yn bwnc o brophwydoliaeth gysurlawn: "Dyma y dydd a wnaeth yr Arglwydd; gorfoleddwn a llawenychwn ynddo:" Salm cxviii. 24. Honodd ein Harglwydd Ei awdurdod i newid deddf y Sabboth, nid yn unig i'w wneuthur yn *iau ysgafnach*, ond i gyfnewid y *dydd* i'w gadw: "Y mae Mab y dyn yn Arglwydd hefyd ar y Sabboth:" Marc ii. 28. Ar foreu y dydd cyntaf o'r wythnos, cyhoeddodd y Gwaredwr orpheniad y greadigaeth newydd trwy adgyfodi oddiwrth y meirw; ac o'r amser hyny, yr ydym yn cael y dysgyblion a'r Apostolion yn cadw y dydd hwnw fel y *Sabboth Cristionogol.* Dechreuodd yr arferiad yn uniongyrchol. Fel eglurebau o hyn, gall y darllenydd ymgynghori â'r adnodau canlynol:—Ioan xx. 19—23, a'r 26, lle mae y frawddeg *wyth niwrnod* yn cynnwys yn ddiau y ddau Sabboth; Act. xx. 7; 1 Cor. xvi. 2.

Y mae y dydd yma, trwy awdurdod ysbrydoledig, yn cael ei gyfenwi yn bendant ac arbenigol yn "*Ddydd yr Arglwydd;*" h. y., y dydd sydd wedi ei neillduo yn arbenig i'w addoli Ef. Trwy gadw y dydd yma fel adeg gwasanaeth Cristionogol, y mae yr eglwysi bob amser wedi dwyn tystiolaeth i adgyfodiad eu Harglwydd. Y maent wedi cyflwyno cofgolofn sefydlog o'r brif ffaith hon i fyd annghrediniol trwy yr holl genedlaethau ar ol hyny; ac na fydded i neb dwylaw llygredig anurddo y gofgolofn yma, neu droi dydd gwerthfawr yr Arglwydd i wasanaeth bydol. Hyderwn y bydd i'n heglwysi droi clust byddar i ffregod *wrth*-Sabbothol yr amseroedd hyn. Gwyddom nad yw y dydd cyntaf o'r wythnos byth yn cael ei alw yn y Testament Newydd yn *Sabboth*, ond fe'i gelwir ef yn "*Ddydd yr Arglwydd,*" yr hwn i galon y Cristion, raid fod yn enw mwy gwerthfawr. *Byddai dilëad yr wyl wythnosol yma yn cynnwys dinystr un o'r profion allanol i wirionedd Cristionogaeth.* Wrth reswm, y mae yn groes i'r "rhyddid â'r hwn y rhyddhaodd Crist ni," i gymhwyso holl fanylion y gyfraith Foesenaidd o barthed i'r Sabboth Iuddewig at ddydd yr Arglwydd. Ond y mae yr eglwysi ar y dydd

hwn i adgofio gorphwysiad eu Harglwydd oddiwrth waith Ei ymddarostyngiad a'i angeu, trwy ymorphwys oddiwrth eu llafur bydol, ac ymgyfarfod i gadw yr ordinhadau a bennododd Efe.

III. Y MAE YR EGLWYSI I GADW BEDYDD YN EI BURDEB FEL ARDDELIAD CYHOEDDUS A PHROFFESEDIG O GRIST.

Y mae yn eglur mai bedydd yw yr ordinhad yn yr hon y mae cyffes gyhoeddus o ffydd yn ein Harglwydd i gael ei gwneuthur. Yr arwydd allanol o'n bod yn ddysgyblion i Grist ydyw. Yr ydym yn cael ein "bedyddio i Grist," a thrwy hyny yn "gwisgo Crist:" Gal. iii. 27. Am hyny, ni ddylid ei gweinyddu i neb ond y cyfryw fyddont alluog i wneuthur y cyfryw broffes yn yr ordinhad. Ymddengys hyn oddiwrth y ffeithiau canlynol:—

1. *Natur gwir addoliad Cristionogol.* Y mae deddf addoliad efengylaidd wedi ei gosod i lawr yn Ioan iv. 21—26. Y mae yr awr wedi dyfod pryd y rhaid i'r seremoniol yn unig, roddi lle i'r ysbrydol. Y mae pob addoliad gwir Gristionogol yn addoliad mewn ysbryd a gwirionedd. Y mae bedydd yn weithred o addoliad o'r fath ddifrifolaf, ond ni ddarfu un maban-fedyddiwr etto addoli Duw yn ei fedydd ei *hun* mewn babandod. Pan daenellir ar fabanod, dichon y rhïeni addoli Duw, ond nis gall y person taenelledig. Y mae bedydd babanod yn amddifadu pob Cristion o'r cyfleusdra i addoli Duw mewn ysbryd ac mewn gwirionedd yn ei fedydd. Ond y mae bedyddiad y credadyn proffesedig, yr hwn yn yr ordinhad sydd yn rhoddi ei hun yn ddifrifol i'r Trindod Santaidd ger bron yr eglwys a'r byd, yn weithred o addoliad o'r nodwedd uchelaf a mwyaf ysbrydol, ac mewn cydweddiad prydferth â deddf addoliad Cristionogol fel y gosodir hi i lawr gan ein Harglwydd.

2. *Natur teyrnas ein Harglwydd.* "Fy mreniniaeth i (medd Iesu) nid yw o'r byd hwn;" ond "Pob un a'r sydd o'r gwirionedd, sydd yn gwrando Fy lleferydd I:" Ioan xviii. 36, 37. Dyma oedd natur yr ymerodraeth y daeth Efe i'w sefydlu; teyrnas yn sylfaenedig ar wirionedd; ac mae ei holl ddeiliaid yn gwrando lleferydd yr Hwn sydd yn mynegu y gwirionedd yma. Y mae pawb a berthynant yn wirioneddol i'r deyrnas ysbrydol hon wedi eu "geni nid

o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gŵr, eithr o Dduw." Dyma ddeddf ganonaidd y deyrnas yma:—"Canys yn Nghrist Iesu ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad ddim, ond creadigaeth newydd. A chynnifer ag a rodiant yn ol y rheol hon, tangnefedd arnynt, a thrugaredd, ac ar Israel Duw:" Gal. vi. 15, 16. Nid yw maban-fedyddwyr yn rhodio yn ol y rheol ysbrydoledig hon yn eu gweinyddiad hwy o fedydd; canys derbyniant rai i'r ordinhad, y rhai ni allant roi y prawf lleiaf eu bod yn *greaduriaid newydd.* Pa fodd bynag, pan gyfyngir bedydd i'r rhai yn marn cariad sydd wedi eu creu o newydd, mae y ddeddf ganonaidd yma yn cael ei chadw yn ei phurdeb.

3. *Arwyddocâd dysgybldod* (*discipleship*) *Cristionogol.* Amlwg yw fod dysgybldod Cristionogol yn ymostyngiad gwirfoddol a phersonol i'r Arglwydd Iesu; ac y mae bedydd, yn ol y Testament Newydd, yn gyffesiad cyhoeddus o ddysgybldod. Am hyny, cawn orchymmyn ein Harglwydd i "ddysgu (neu ddysgyblu) yr holl genedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw'r Tad," &c.: Matt. xxviii. 19. Ac fel yma y darnodir arwyddocâd bedydd gan yr Apostol, "Cynnifer o honoch (yn gyfystyr i, gan weled i chwi oll y rhai) ag a fedyddiwyd yn Nghrist, a wisgasoch Grist:" Gal. iii. 27. Ac felly dywedir fod y credadyn bedyddiedig "wedi ei fedyddio i Grist Iesu"—"i farwolaeth Crist"—wedi ei "gladdu gyda Christ, fel megis ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiai yntau hefyd mewn newydd-deb buchedd:" Rhuf. vi. 1—4. Y mae hyn oll yn ddealladwy ddigon pan gymhwysir ef at fedydd dysgybl proffesedig; ond y mae yn hollol annghymhwysiadol i faban, i'r hwn nis gall yr ordinhad feddu un ystyr o gwbl. Cyfarcha y Testament Newydd y bedyddiedigion yn *wastadol* fel rhai a ddygasant arnynt eu hunain yn eu bedydd rwymedigaeth *bersonol*; a chynghora hwy i wneyd yn dda yr ymrwymiad *pwysig* yma i'w Harglwydd. Nis gellir dwyn yn mlaen un eithriad i'r nodiad hwn, yr hyn a ddengys yn eglur nad oedd yn nyddiau yr Apostolion ddim *dau* fedydd; h. y., bedydd rhai mewn oed ar broffes o ffydd, ac un arall i fabanod heb unrhyw broffes. Un dull o ymadroddi a arferir tuag at yr holl fedyddiedigion.

4. *Ammodau Bedydd Cristionogol.* Ammodau bedydd

Cristionogol ydynt edifeirwch a ffydd, neu y cyfryw brawf fod yr ymgeisydd yn eu meddu ag a foddlono y gweinyddwr. Nid ydym byth yn darllen am fedydd arall, yn yr hwn y derbynid y bedyddiedig i'r ordinhad ar sail ffydd un arall. *Un* yw bedydd y Testament Newydd yn ei ammodau a'i ddull. "Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig:" Marc xvi. 16. "Edifarhewch a bedyddier pob un ohonoch:" Act. ii. 38.

5. *Y siamplau o fedydd a gofnodir yn yr Ysgrythyr Santaidd.* Am yr holl rai a fedyddiwyd gan Ioan y dywedir, "A hwy a fedyddiwyd ganddo ef gan gyffesu eu pechodau:" Matt. iii. 6. Gelwir ei fedydd ef yn "fedydd edifeirwch er maddeuant pechodau:" Marc i. 4. Felly, ni fedyddiwyd cynnifer ag un baban gan Ioan, canys pob un a dderbyniasant yr ordinhad o'i ddwylaw ef, a "aethant allan ato ef," "cyffesasant eu pechodau," a bedyddiwyd hwy ar broffes o "edifeirwch." Yr oedd y rhai a fedyddiwyd gan ein Harglwydd (Ioan iii. 22) trwy weinidogaeth Ei Apostolion, yn ystod Ei ymdaith ar y ddaear, *oll yn ddysgyblion.* Yr oedd yr "Iesu yn gwneuthur *(poiei)* ac yn bedyddio mwy o ddysgyblion nag Ioan:" Ioan iv. i. Yr oedd yn eu gwneuthur yn ddysgyblion yn nghyntaf, ac yna yn eu bedyddio fel y cyfryw. Nid oedd un eithriad i hyn. "Bendithiodd" Iesu blant bychain, Luc xviii. 15–17; Marc x. 13–16; ond ni fedyddiodd hwynt. Pan ddygai rhieni awyddus eu plant at ein Harglwydd, ni ddywedai air o barthed i'r dymunoldeb o fedyddio y rhai bychain, yr hyn yn ddiau a wnaethai pe sicrasai hyny rhyw ddaioni iddynt. Arweiniasai Ei garedigrwydd Ef i'r rhieni awyddus yma i ddyweyd wrthynt, y gallent yn y modd hyn lesoli eu plant. Ond y mae Ei ddystawrwydd o barthed i un ffordd o'r fath o wneyd daioni ysbrydol i fabanod yn profi nad oedd ffordd o'r fath yn bod. Am y rhai a fedyddiwyd gan yr Apostolion wedi esgyniad ein Harglwydd, y mae y prawf yn eglur iddynt *oll* broffesu ffydd ac edifeirwch o flaen bedydd, gwel Act. ii. 41; viii. 12, 37; x. 47; xvi. 34; xviii. 8. Yn yr achosion hyn oll, y mae proffes o ffydd ac edifeirwch gan y bedyddiedigion yn cael ei sicrhau.

6. *Unoliaeth dadguddiedig y bedydd Cristionogol.* "Un

*bedydd*" sydd, Eph. iv. 5, hyny yw, un bedydd mewn dwfr; canys crybwyllir yr "un Ysbryd" yn yr adnod flaenorol: gwel tud. 317. Nid oedd *dau* fedydd yn amser yr Apostolion, y naill i rai yn proffesu ffydd yn Iesu, a'r llall i fabanod heb ffydd. Eglurir a chadarnheir y ffaith hon gan *unrhywioldeb* cyfeiriadau yr Ysgrythyr at fedydd. Gwel tud. 356. Ond ni a ddywedwn fod bedyddwyr babanod efengylaidd, mewn effaith, yn arferyd dau fedydd.

7. *Absenoldeb un siampl yn y Testament Newydd o fedyddiad baban.* Ni a ddarllenwn yno—"A chwanegwyd atynt rai yn credu yn yr Arglwydd, lluaws o wyr a gwragedd hefyd:" Act. v. 14; i'r bedyddiedigion "dderbyn y gair yn ewyllysgar:" ii. 41; "credu y pregethu am y pethau a berthynent i deyrnas Dduw:" viii. 12; "iddynt dderbyn yr Ysbryd Glân:" x. 47; a gwrando a chredu y gair *cyn eu bedyddio:* xviii. 8. Dywedir wrthym i lawer gael eu bedyddio, "yn wŷr ac yn wragedd:" viii. 12. Ond nis gellir cael *un* siampl o'r Testament Newydd o fedydd babanod. Derbyniodd rhai yr efengyl yn ddiau yn gynnar yn eu bywyd, a bedyddiwyd hwy gan hyny ar broffes o ffydd bersonol pan yn ieuanc. Am hyny, Ioan y dysgybl anwyl, yn ei lythyr at yr Arglwyddes Etholedig a'i phlant a lefara am danynt fel rhai yr oedd efe yn eu "caru yn y gwirionedd," ac fel rhai oeddynt yn "rhodio yn y gwirionedd:" adn. 1, 4. A rhydd yr hysbysiad canlynol oddiwrth blant duwiol chwaer etholedig arall—"Y mae plant dy chwaer etholedig yn dy annerch:" adn. 13. Yr oedd eu teuluoedd yn ddysgyblion proffesedig i'r Arglwydd. Ac y mae yr ysgrifenydd wedi cael y fraint ddedwydd o fedyddio llawer o blant tra ieuanc, y rhai trwy ras ydynt etto yn rhodio yn y gwirionedd. Ond nis gellir cael o'r Ysgrythyr, gynnifer ag *un* siampl o fedydd babanod.

Y mae ymgais lafurus Mr. Thorn i gael dadl *(argument)* dros fedydd babanod yn 1 Cor. x. 1-12, yn fethiant hollol. Y mae yn amlwg nad yw y cyfeiriad at fedyddiad yr Israeliaid, yn y cwmwl ac yn y mor, ar eu hymadawiad o'r Aifft, ac at farwolaeth y llwythau gwrthryfelgar ar ol hyny, yn cael ei wneuthur i egluro *deddf* bedydd Cristionogol, eithr i'r dyben o gadarnhau y wers sydd gan yr Apostol

mewn llaw; h.y. yr angenrheidrwydd o wyliadwriaeth ar ran proffeswyr. Eglurhaol a chyfatebiaethol yn unig yw y cyfeiriad. Nad yw deddf bedydd Cristionogol i'w chael yma sydd sicr oddiwrth y ffeithiau, mai "bedyddio i Moses" oedd y bedyddio y cyfeirir ato adn. 2; iddo gymmeryd lle mor ddiwahaniaeth o barthed dynion mewn oed â babanod; derbyniodd hyd y nod y "*bobl gymmysg lawer*" ef, y rhai a aethant allan gyda'r llwythau (Exod. xii. 38); yr un modd hefyd eu hanifeiliaid! Felly, os ydym i gael *deddf bedydd* Cristionogol yma, rhaid i ni fedyddio nid yn unig ein plant, ond ein gweision, ein gwartheg a'n ceffylau, cŵn a chathod! Dangos yn unig y mae hyn, nad yw eglurebau a chyfatebiaethau i'w derbyn ond i'r dyben i ba un y defnyddir hwynt.

8. *Y ddadl oddiwrth debygoliaethau negyddol.* Yn y flwyddyn 1849–50, cymmerodd gohebiaeth le rhwng yr ysgrifenydd ac Archesgob Whately ar faich y prawf yn y ddadl ar fedydd, yr hon trwy gydsyniad ei Ras a gyhoeddwyd yn "*The Church*," ac ar ol hyny mewn pamphletyn ar ei ben ei hun. Y cytundeb oedd, fod i'r ohebiaeth gael ei chyhoeddi heb "*nodiad nac esboniad.*" Yn y ffurf hono y cawn ei rhoddi yma. Dywedwn fod yr ohebiaeth hon yn dihysbyddu y "ddadl oddiwrth debygoliaethau negyddol" yn ei pherthynas â'r cwestiwn ger ein bron Yr ysgrif ganlynol a roddodd achlysur i'r ohebiaeth:—"Y mae sefyllfa y ddadl rhyngom ni â'n brodyr, y mabanfedyddwyr fel y canlyn:—Honant hwy fod bedydd babanod yn ordinhad a arferid yn yr eglwys Apostolaidd; ac yr ydym ni yn *gwadu* y gosodiad hwn. Yn awr, yn ol holl reolau gwir resymeg, gorwedda *baich y prawf* arnynt hwy. Rhaid iddynt hwy brofi eu cadarnhaol yn nghyntaf, cyn y gellir yn deg ein galw ni i brofi ein negyddol; ac yn wir, *yn absenoldeb prawf o'u tu hwy, saif ein gosodiad negyddol ni mewn effaith wedi ei brofi.* Dangoswyd hyn gan Dr. Carson yn ei ragymadrodd i'w lyfr diweddaf ar fedydd, yn yr hwn y mae honiadau Dr. Whately, y rhai sydd o nodwedd groes, yn cael eu gwrthbrofi yn gadarn. Yn sicr, nis gellir galw ar un dyn i brofi fod bedydd babanod yn an-apostolaidd, hyd nes y cynnygir rhywbeth fel prawf ei fod yn Apostolaidd. Ac

eglur yw, pe buasai yn arferiad Apostolaidd i fedyddio plant credinwyr, buasai yn hawdd cael prawf o hyn yn y Testament Newydd.

"Boddlon ydym fodd bynag, yn y ddadl hon, i wneuthur mwy nâ'n dyledswydd, a pharod ydym i brofi *nas gallai bedydd babanod fod yn adnabyddus yn amser yr Apostolion.* Ond cyn y dechreuwn, crefwn sylw y darllenydd at y nodiadau rhagorol a ganlyn o eiddo Dr. Whately, Archesgob Dublin, yn ei Draethawd ar Areitheg:—'Y mae i'w sylwi y bydd i ddystawrwydd, gadawiad allan, ac absenoldeb rhyw osodiadau, &c., mewn llawer o achosion, gael hyd y nod bwysigrwydd mwy nâ llawer a gawn wedi ei osod lawr; er engraifft, golygwch ein bod yn cyfarfod â rhywbeth mewn rhan o un o epistolau Paul, a fyddo yn dynodi gyda rhyw radd o debygolrwydd, fodoldeb yr arferiad hyn a'r arferiad; sefydliad, &c.; a golygwch fod bron yr un faint o debygolrwydd y buasai rhyw arferiad, sefydliad, neu ddygwyddiad, *nad* yw efe yn eu crybwyll yn un lle, wedi cael eu crybwyll ganddo yn yr un lle, a thybied iddynt fodoli mewn gwirionedd, neu ddygwydd. Y mae yn y gadawiad allan yma, a'r ddadl negyddol a ganlyna o hyny, bwysigrwydd llawer iawn mwy nâ'r llall, *os cawn hefyd* fod yr un gadawiad allan *o'r holl epistolau ereill,* ac o bob un o lyfrau y Testament Newydd' tud. 70. Trwy y drefn yma o resymu yn union, yr ydym ni yn alluog i ddangos nas gallasai bedydd babanod fod wedi bod yn cael ei arferyd yn amser yr Apostolion.

"*a. Rhydd y Testament Newydd luaws o engreifftiau o fedyddiad gwyr a gwragedd, ond ni chynnwysa hanes bedyddiad un baban.* Yn awr, y mae yn sicr, pe buasai yn rheol yn yr amseroedd boreuol i fedyddio babanod credinwyr gyda eu rhieni, y buasai rhyw engraifft eglur o'r cyfryw arferiad wedi cael ei gofnodi. Ond y mae absenoldeb hanes unrhyw achos o'r fath yn profi nas gallasai babanod fod yn cael eu bedyddio yn y cyfnod hyny o hanesiaeth Eglwysig. Yr oedd y pedwar teulu bedyddiedig yn deuluoedd *crediniol,* ac esbonia hyn y rheswm o'u bedyddiad gyda eu penau teuluol. Yr oedd bedyddiad teuluoedd yn *anarferol* hyd y nod yn y dyddiau hyny, canys yr oedd yn beth annghyffredin i aelodau teulu gael eu

hargyhoeddi yr un amser; ond mewn pedwar o achosion cymmerodd hyny le, ac yn y pedwar achos yma y mae wedi ei gofnodi i'r *teulu* gael eu bedyddio gyda'r pen teulu. Cadarnhawn gan hyny, nas gellir cael un engraifft o fedydd babanod o'r Testament Newydd.

"*b. Ni orchymmynir rhieni i fedyddio eu babanod gan Grist na'i Apostolion.* Yn awr, y mae dyledswyddau rhieni Cristionogol yn cael eu gosod allan yn y Testament Newydd, nid yn brin, eithr yn gwbl gyflawn. Yna, yn sicr, cawsem yn rhyw fan neu gilydd fedyddiad eu babanod yn cael ei ddangos i rieni Cristionogol fel eu dyledswydd bwysig, pe yr ystyrasid hyn yn y dyddiau hyny yn rhwymedigaeth ar rieni. Ac ai ni chawsai rhieni eu hadgofio o'u cyfrifoldeb yn yr achos, mewn canlyniad i gyflwyniad eu plant i Dduw trwy fedydd? Ond pa le ceir y cyfryw gyfrifoldeb yn cael ei gadarnhau felly? Pa le mae y ffaith fod bedyddiad ei blant yn cael ei osod o flaen dyn Cristionogol fel rheswm chwanegol dros addysgu y plant hyny yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd? Etto, y mae gweinidogion duwiol bedyddwyr babanod yn yr arferiad o apêlio yn y modd hyn at aelodau eu heglwysi, ac yn proffesu eu bod yn edrych ar y fath apêliadau fel yn gwbl Apostolaidd yn eu harddull. Ond y mae fod pob dull o'r fath o gyffroi rhieni Cristionogol i gyflawni eu dyledswyddau wedi ei adael allan o dudalenau y Testament Newydd, yn profi nad oedd yn arferiad yn amser yr Apostolion i gredinwyr i fedyddio eu babanod.

"*c. Nid oes chwaith ddim cyfeiriadau dygwyddiadol yn y Testament Newydd at fodoldeb y fath seremoni â bedydd babanod.* Methai cywreinrwydd hyd y nod awdwr yr *Horae Paulinae* a darganfod un cyfeiriad o'r fath. Cynnwysa y canon ysbrydoledig luaws o gyfeiriadau at fedyddiad credinwyr, ac at swper yr Arglwydd, ond nis gallwn gael cysgod cyfeiriad, pa mor ddygwyddiadol neu achlysurol bynag, at y seremoni o fedyddio babanod. Prawf hyn y rhaid fod y gyfryw seremoni yn anadnabyddus yn y dyddiau hyny.

"*ch. Y mae y dadleuon trwy y rhai yr ysgydwyd yr Eglwys gyntefig, o barthed i barhad enwaediad, yn profi nas gall yr Apostolion fod wedi gorchymmyn bedydd babanod yn*

*lle enwaediad babanod.* Pe buasai yr ordinhad o fedydd babanod yn bodoli yn yr Eglwys Apostolaidd, fel wedi dyfod yn lle enwaediad babanod, nis gallasai dim dadleuon yn nghylch parhad yr olaf fod wedi cyfodi, ond buasai rhaid iddo o angenrheidrwydd farw o farwolaeth naturiol. Ond y mae y cwerylon parhaus yn nghylch parhad neu adawiad heibio enwaediad, y rhai a rwygent yr Eglwys yn amser yr Apostolion, yn profi nad oedd y pryd hwnw ddim ordinhad gyfatebol mewn arferiad.

"*d. Y mae dystawrwydd yr Apostolion yn Nghynghor enwog Jerusalem o barthed i osodiad bedydd babanod yn lle enwaediad babanod, yn profi i foddlonrwydd yr un pwynt.* Os bu erioed amser pryd yr oedd cyfeiriad at fedydd babanod yn gwbl angenrheidiol ac anocheladwy (a thybied iddo fodoli) yn y cynghor a enwyd uchod y bu. Y mae yn rhaid y bu siarad am dano yno, os oedd yn meddu y pryd hwnw ryw fath o fodoldeb; yn unig am y buasai hyny yn dystewi y ddadl am byth. Yn wir, nis gallasai y ddadl fod wedi cyfodi, pe deallasid yn eglur fod bedydd babanod wedi ei osod trwy awdurdod ysbrydoledig i gymmeryd lle enwaediad babanod. Ond pe darfuasai i ddadl o'r fath gyfodi trwy ryw gamddealltwriaeth, cawsai ei phenderfynu yn union trwy eglurhad priodol o unoliaeth sylweddol bedydd ac enwaediad, &c. Mor hawdd fuasai i Pedr neu Iago gyfodi a dywedyd, 'Frodyr, y mae y ddadl hon yn afreidiol; y mae bedydd wedi cymmeryd lle yr enwaediad; y mae genym mewn sylwedd yr olaf yn y blaenaf, er fod *dull* y ddefod wedi ei newid," ac felly yn y blaen. Ond y mae dystawrwydd perffaith yr Apostolion ar yr achlysur hwn o barthed unrhyw ddull o'r fath i benderfynu y ddadl, yn profi nad oedd y fath ddull mewn bod, ac fod gosodiad bedydd yn lle enwaediad babanod iddynt hwy yn anadnabyddus.

"Yna, oddiwrth yr ystyriaethau hyn, credwn fod ein gosodiad negyddol wedi ei brofi, ac ei fod yn brofadwy yn ol 'Dadl Dr. Whately oddiwrth Debygoliaethau Negyddol,' nas gallasai bedydd babanod fod yn cael ei arferyd yn yr Eglwys gyntefig, a thrwy awdurdod Apostolaidd."

Ar ol anfon adysgrif o'r uchod i'r Archesgob, derbyniwyd yr atebiad tra charedig canlynol:—

"*Palas, Dublin, Hydref* 30*ain*, 1849.

"*Barchedig Syr*,—Archesgob Dublin a ddymuna arnaf gydnabod derbyniad eich nodyn a'r traethodyn, a'ch hadgofio fod yr egwyddor y cyfeiriwch ati yn y rhan a ddyfynwyd o'r "Areitheg," yn gymhwysiadol (fel y gwelwch ond edrych arni etto) at achosion yn y rhai y mae yr '*un gradd o debygolrwydd*,' y dylasai fod pob un o epistolau yr Apostolion wedi crybwyll neu adael allan, hyn a hyn.

"Os, o ganlyniad, y *caniatëir* (a thybied fod bedydd babanod yn iawn) fod cymmaint o debygolrwydd y buasai ei awdurdodiad wedi cael ei fynegu yn eglur gan yr ysgrifenwyr santaidd, ag na fuasai, yna taflai eu dystawrwydd faich y prawf ar ei amddiffynwyr. Ond cymmeryd yn ganiatâol *fod* cymmaint o debygolrwydd heb brawf, mewn gwirionedd, ydyw haeru yr holl gwestiwn, canys y mae yr unig beth nad yw pleidwyr bedydd babanod byth yn ei addef.

"*Y mae dystawrwydd yr ysgrifenwyr santaidd ar y pwnc* (*yr hyn ydyw y peth y llafuria y traethodyn i'w gadarnhau*) *o leiaf, mor bell ag y perthyna unrhyw gyfarwyddiadau pendant ar y pwnc, yn cael ei addef ar bob llaw.*

"Y pwynt, fodd bynag, a'r unig bwynt i'w *brofi* (nid i'w gymmeryd yn ganiatâol, fel y gwna y traethodyn) yw ei fod yn debygol y buasai yr ysgrifenwyr santaidd, neu rai o honynt, wedi cyfeirio at yr arferiad os oedd yn bodoli, neu y buasent wedi ei orchymmyn, os meddyliasant ei fod yn iawn. Mewn trefn i benderfynu y pwynt hwn, y mae yn angenrheidiol ystyried ar ba du y gorwedda y Coelbrawf, ac ar ba un Faich y Prawf. Traethir ar y rhai hyn yn yr 'Areitheg,' (Rhan I., Pen., III. Adr. 2.), lle y sylwir fod y coelbrawf ar du yr engreifftiau o adael pethau fel y maent; ac fod baich y prawf yn gorwedd ar yr hwn a geisiai ddwyn i mewn newyddiant (*innovation*).

"Yn awr, yr Apostolion a'r rhai a arweinid *ganddynt*, a ystyrient fedydd yn ddiau fel yr arwydd o *dderbyniad i'r Eglwys Gristionogol*, yr hon a ystyrid ganddynt fel olynydd yr un Iuddewig—cynnulleidfa (*ecclesia*) pobl Dduw gynt. Y cwestiwn, Pwy oeddynt i gael eu derbyn yn aelodau o'r eglwys hono, a benderfynent hwy o gwrs

(lle na fyddai cyfarwyddiadau pendant wedi eu rhoddi) trwy gyfeiriad at yr eglwys Iuddewig.

"Os caent mai rhai mewn oed yn unig oeddent i fod yn aelodau o hòno, rhai mewn oed yn unig a ganiatäent, yn naturiol felly, i fod yn aelodau o'r Eglwys Gristionogol (onid oedd wedi ei orchymmyn i'r gwrthwyneb); os gallasai babanod hefyd fod yn aelodau o'r flaenaf, yna (onid oedd wedi ei orchymmyn i'r gwrthwyneb) derbynient fabanod hefyd yn aelodau o'r olaf.

"O barthed i'r Iuddeweiddwyr (*Judaizers*), y rhai *ni* chanlynent arweiniad yr Apostolion, ond a ystyrient Gristionogaeth yn ddim ond fel *sect o Iuddewiaeth*, ac o ganlyniad, a dybient fod ymlyniad wrth gyfraith Moses yn rhwymedig ar Gristionogion—gofynent *hwy*, wrth gwrs, i bawb Cenedloedd allent ymuno â'r Eglwys Gristionogol fod yn *broselytiaid i Iuddewiaeth*. Ac y mae yn gwbl hysbys fod proselytiaid Cenedlig yn wastad ar eu derbyniad i'r cyfundeb Iuddewig yn cael eu bedyddio A'U henwaedu. O ganlyniad, pryd yr oedd y cwestiwn yn Act. xv. yn cael ei ddadlu, rhaid fod y cwbl yn troi yn unig ar yr angenrheidrwydd o'r enwaediad. Os oedd yn rheidiol i wneuthur y dychweledigion Cenedlig yn *broselytiaid Iuddewig*, y rhai oeddynt wedi eu bedyddio yn barod, yr oeddynt i gael eu henwaedu; os nad oedd, nid oeddynt; fel y buasai unrhyw ddadl yn nghylch bedydd (pa beth bynag oedd yr arferiad o barthed i *hyny*) yn gwbl anmherthynasol.

"Meddwyf yr anrhydedd o fod, Barchedig Syr,
"Eich ffyddlon ostyngedig was,
"J. WEST."

I'r llythyr teg iawn hwn, a ganlyn oedd yr atebiad:—

*Longwood, ger Huddersfield,*
*Rhagfyr* 1*af*, 1849.

"*Fy Arglwydd*,—Derbyniais yn brydlon y nodyn caredig â'r hwn, ar eich cais chwi, y cefais fy ffafrio gan y Parch. J. West.

"Yr osodaeth a gymmerir yn llythyr y Parch. J. West a ymddengys fod hyn: ei fod yn cael *ei addef ar bob llaw*,

mor bell o leiaf ag y perthyna cyfarwyddiadau pendant ar y pwnc o Fedydd Babanod, *fod y Testament Newydd yn ddystaw;* ond fod coelbrawf fod babanod yn cael eu derbyn i'r eglwys Gristionogol yn amser yr Apostolion, yn gymmaint ag fod yn bodoli y pryd hwnw yr *engraifft* o dderbyniad babanod i'r cyfundeb Iuddewig; yr hon engraifft sydd raid i ni dybied iddi gael pwys gyda'r Apostolion, oni allwn ni ddwyn yn mlaen eiriau pendant o'r eiddynt hwy i'r gwrthwyneb.

"Yn awr, caniatewch i mi, fy Arglwydd, sylwi,—

"*a.* Fod gwahaniaeth nodedig rhwng yr engraifft a'r ddefod dros yr hon y dadleuwch, gan na weinyddid y flaenaf ond i blant *gwrrywaidd*, tra y gweinyddir yr olaf i blant o'r *ddau* ryw. Os profa yr engraifft rywbeth ar y cwestiwn mewn dadl, y mae yn profi fod 'gwrryw a benyw yn Nghrist Iesu,' ac y dylai y blaenaf dderbyn bedydd, tra na ddylai yr olaf.

"*b. Hysbysir ni yn gyffredin fod deddfau seremoniol goruchwyliaeth yr Hen Destament wedi eu diddymu*, ac fod deddfau newydd hollol ar bob pwynt o'r fath wedi eu rhoddi i Gristionogion. Gwneir yr haeriad cyffredin yma gan yr Apostolion yn dra mynych. Y mae'n eglur, gan hyny, fod yn rhaid i Gristionogion ar bob mater perthynol i ddefodau a seremoniau gael eu tywys yn unig gan y Testament Newydd. Nis gall engreifftiau seremoniol wedi eu cymmeryd oddiwrth yr oruchwyliaeth yr *hysbysa Duw ei Hun ei bod wedi ei diddymu gan bethau newydd a gwell* fod o ddim lleshad yn mhenderfyniad unrhyw ddadl mewn perthynas â deddfau teyrnas Crist. Ac ymddengys yr olwg yma ar y cwestiwn fod yn taflu baich y prawf ar bleidwyr bedydd babanod. Y mae genym y mynegiad cyffredin o ddiddymiad holl ddeddfau seremoniol yr Hen Destament. *Y mae Bedyddwyr bâbanod dan rwymau i brofi fod y ddefod o aelodiaeth babanod yn eithriad i'r rheol gyffredinol hon.*

"*c.* Os gellir derbyn unrhyw ddadl gyfatebiaethol oddiwrth enwaediad babanod, ymddengys mai yr un ganlynol fyddai: megis ag yr oedd pawb babanod a enid yn Iuddewon, trwy rinwedd yr enedigaeth hono, yn meddu hawl i'r enwaediad, &c., felly pawb dynion wedi eu geni

oddi uchod trwy allu ailenedigol yr Ysbryd, ydynt yn dderbyniadwy i fedydd a holl ragorfreintiau aelodiaeth gyflawn yn Eglwys Crist. Ond addefaf fod y ffaith mai plant gwrrywaidd yn *unig* a enwaedid, i raddau yn dystrywio hyd y nod y ddadl hon.

"*ch.* Ymddengys i mi, fy Arglwydd, fod y dadleuon *(arguments)* a ddefnyddir i brofi hawl babanod i fedydd, os oes ynddynt rhyw bwys o gwbl, yn profi yr un mor gyfreithlon eu hawl i gyfranogi o swper yr Arglwydd, ac o holl ragorfreintiau ereill aelodiaeth eglwysig. Os yw felly, fod babanod yn meddu hawl i gael eu derbyn i'r *gynnulleidfa* Gristionogol, dylent gael eu derbyn i'w *holl* ragorfreintiau; ond os ydyw yn amlwg eu bod yn *analluog* i fwynhau y rhagorfreintiau hyn, yr un mor amlwg ydyw eu bod yn anaddas i'r ordinhad sydd yn fynedfa i'r cyfundeb ailenedig yma.

"*d.* Dadleuwn fod y Testament Newydd yn cynnwys digonedd o brofion eglur fod babanod yn ddeiliaid anaddas i'w derbyn i eglwysi Crist ar y ddaear. Y mae gwir natur y deyrnas y daeth y Gwaredwr i'w gosod i fyny yn y byd, a'r cymhwysderau gofynol er cael cofrestriad yn mhlith ei deiliaid, yn profi YNDDYNT EU HUNAIN anaddasrwydd babanod i gael eu derbyn o fewn ei hamgaerau. Deddf ganonaidd y deyrnas hono yw: 'Yn Nghrist Iesu ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad, ond *creadur newydd.*' Felly y mae babanod wedi eu cau allan o bob hawl i fedydd, gymmaint a phe dywedasai deddf yn bendant, nad yw babanod i gael eu bedyddio.

"*dd.* Drwg genyf fod yn rhaid i mi annghytuno a'ch Arglwyddiaeth o barthed i ffaith; ond i'm golwg i y mae profion argyhoeddiadol, fod y bedydd proselytaidd Iuddewig (y cyfeirir ato yn ddamweiniol yn llythyr y Parch. J. West) yn anadnabyddus hyd tua phedwar cant o flynyddoedd ar ol Crist. Y mae hyn wedi cael ei brofi gan y mwyaf o bawb ysgolheigion Rabbinaidd, Dr. Gill, yn ei draethawd ar y pwnc, ac wedi cael ei addef yn rhydd gan y Doctoriaid Owen a Jennings. Nid yw *traethawd Dr. Gill erioed wedi ei ateb,* ac etto y mae dynion dysgedig o'r ochr arall i'r cwestiwn yn dal at yr arferiad o lefaru ac ysgrifenu fel pe na fuasai traethawd o'r fath yn bod.

"*e.* Er y rhaid fod y cwbl yn troi yn unig ar yr ang-

enrheidrwydd o'r enwaediad, pan oedd y cwestion yn Act. xv. mewn dadl, etto wrth benderfynu y pwynt *hwnw* y mae yn rhaid i rhyw gyfeiriad gael ei wneuthur at fedydd, *os yw golygiadau Bedyddwyr babanod am yr ordinhad ddiweddaf yn gywir.* Os yw bedydd ac enwaediad mewn sylwedd yr *un* ordinhad, rhaid i'r ffaith hon gael ei datgan, gan y dangosai yn benderfynol yr afresymoldeb o enwaedu y dychweledigion cenedlig hyny oeddynt yn barod mewn sylwedd wedi derbyn enwaediad yn y bedydd.

"Oddiwrth y cwbl a ddywedwyd, yr ydym yn casglu, fod *dystawrwydd addefedig y Testament Newydd* yn profi y cwbl yr ydym ni am ei ddangos yn y ddadl hon. Os yw yn cael ei '*addef ar bob llaw*' nad yw y Testament Newydd yn cynnwys dim cyfeiriad neillduol at fodoldeb y fath ddefod â bedydd babanod, nac un gorchymmyn i'w chadw, y mae ein hachos ni wedi ei wneuthur allan; oblegid y mae pob engraifft seremoniol wedi ei chael o *oruchwyliaeth a gyhoedda y Testament Newydd yn ddiddymedig, trwy y cyhoeddiad hwnw, wedi ei hamddifadu o bob grym.*

"Ond ni throseddaf yn hwy ar sylw eich Arglwyddiaeth, eithr terfynaf trwy eich sicrhau unwaith yn chwaneg o'm parch uchel i'ch cymmeriad a'ch talentau, a thrwy ddeisyf ar eich rhan fendith barhaol a chyflawn Tad y trugareddau; tra

"Y meddwyf yr anrhydedd o lawnodi fy hun unwaith yn chwaneg

"Fy Arglwydd,

"Eich gostyngedig was,

"JOHN STOCK."

Terfynodd y llythyr canlynol mewn effaith yr ohebiaeth; y cwbl a basiodd ar ol hyn oedd yn unig mewn perthynas i gyhoeddi yr ohebiaeth *heb nodiad nac esboniad*, fel y rhoddir hi yma yn ffyddlon.

"*Palas, Dublin, Rhagfyr 8fed*, 1849.

"*Barchedig Syr*,—Cymmeraf y fynyd hamddenol gyntaf allaswn gael, i gydnabod, trwy ddymuniad yr Archesgob, eich hail lythyr, yr hwn sydd yn awgrymu nad yw fy

atebiad i'r cyntaf wedi cynnyrchu dim cyfnewidiad yn eich golygiad ar y pwynt y cyfeiriasoch ato.

"Nid gyd ag un dysgwyliad, fodd bynag, i'ch tywys chwi i newidiad barn ar y pwnc o fedydd babanod y cyfarwyddodd ei Ras fi i ateb eich llythyr cyntaf, eithr yn unig (am fod moesgarwch yn gofyn atebiad) i'ch hysbysu fod y rhan a ddyfynasoch o weithiau yr Archesgob fel yn rhoddi dadl yn erbyn ei olygiadau ei hun ar Fedydd babanod, yn ei farn ef, mor bell o wasanaethu i'r cyfryw ddyben, fel ei bod mewn gwirionedd yn cynnwys un o'r prif ddadleuon o blaid yr arferiad hyny.

"Hyn ydyw ei argyhoeddiad eglur ef etto, er y dadleuon eich hail lythyr, grym a chymhwysoldeb pa rhai nid yw yn eu cydnabod.

"Nid oedd gan ei Ras, fodd bynag, un meddwl i'm cyfarwyddo i fyned i mewn i ohebiaeth ddadleugar; nid oes ganddo ef na minau hamdden (hyd y nod pe gallai hyny fod yn foddhaol) i ddadleu pwyntiau dadleugar yn y ffordd hon â phawb personau allant ddymuno hyny.

"Hyderaf, o ganlyniad, na chymmerwch ef yn chwith fy mod yn ymattal rhag myned yn mhellach i'r ddadl hon nag y teimlodd yr Archesgob yn ddyledus i chwi wrth gydnabod eich llythyr cyntaf.

"Meddwyf yr anrhydedd o barhau,

"Barchedig Syr,

"Eich ffyddlon was,

"J. WEST."

Terfynwn yr adran hon trwy ddyfynu yr addefiad gonest canlynol a wnaed gan y Proffeswr Jowett, A.C., yn yr *Essays and Reviews*:—"Y mae gan Fedydd Babanod seiliau digonol: y gwendid yw ceisio eu cael o'r Ysgrythyr!!" tud. 361.

IV. Y MAE YR EGLWYSI I WEINYDDU BEDYDD YN OL Y DULL APOSTOLAIDD, TRWY DROCHIAD.

Addefa yr ysgrifenydd ei fod wedi hollol flino â'r dadleuon diorphen ydynt wedi cymmeryd lle yn nghylch ystyr y gair Groeg *baptizo*. Pan ysgrifena dynion lyfrau o'r enw "*Trochi ddim yn fedyddio*," braidd y gellir meddwl

eu bod yn ddifrifol. Yr unig gwestiwn mewn dadl yn mysg dynion dysgedig yw, pa un ai trochi yn *unig* yw bedyddio. Addefa pawb fod trochi yn fedyddio, ond meddylia rhai Baban-fedyddwyr dysgedig y gall yr ordinhad, mewn rhai engreifftiau, fod wedi cael ei gweinyddu mewn rhyw ddull arall, er ei fod yn anmhenderfynol beth oedd y dull arall hwnw. Can belled ag y perthyna y weithred allanol, *trochiad yr ymgeisydd gan y gweinyddwr, yw bedydd.* Cawn roddi yma fraslun yn unig o'r profion dros yr honiad yma. Cyfeiriwn y darllenydd at y pwyntiau canlynol:—

1. *Ystyr y term baptizo.* Arwydda *bapto,* gwreiddyn *baptizo,* trochi a lliwio. Y blaenaf yw yr ystyr gyntefig, a'r olaf yw ei ystyr ddeilliedig. Nid yw *bapto,* fodd bynag, yn cael ei gymhwyso at yr ordinhad o fedydd Cristionogol. Ni chafodd *baptizo,* yr hwn a ddeillia o *bapto,* erioed yr ail ystyr, lliwio. Ei ystyr wreiddiol yw trochi, suddo, neu orchuddio mewn rhyw sylwedd treiddiadwy; neu yn ffugyrol, trochi mewn geiriau, mewn anwiredd, mewn gwin, mewn dyled, mewn trallod, mewn gwaed. Trôed unrhyw un i'w Liddell and Scott, Geiriadur Groeg y dydd, am gadarnhad i wirionedd yr honiad yma. Bydded i reithfarn un fel Porson hefyd gael ei derbyn fel Prawf. Y mae Dr. Halley, y dadleuydd teg iawn hwnw yn dadleu yn gryf dros *orchuddio â,* fel ystyr glasurol y *term baptizo.* Dewisa ef y cyfieithiad yma yn hytrach nâ *throchi yn.* Dywedwn ni fodd bynag fod yr addefiad hwn yn penderfynu y cwestiwn. Canys amlwg yw, mai y ffordd naturiol a chyfleus o orchuddio person bedyddiedig mewn dwfr, ydyw ei drochi ef yn y dwfr, ac nid tywallt rhaiadr drosto ef. A yw Dr. Halley yn *gorchuddio* y rhai a fedyddia efe? Os caniatâ hyny, efe a'u trocha hwy; oblegid, eglur yw, os ewyllysiwch orchuddio dyn ag afon, fel yr Iorddonen, chwi a wnaech ei drochi ynddi, ac nid tywallt yr afon drosto ef. Caniatâwn i Dr. Halley ei fod yn *bedyddio* pan *orchuddia.* Ei ddarnodiad ef o *baptizo* yw "*gwneuthur i'r naill beth fod yn y llall* trwy drochi, claddu, enhuddo, gordywallt, neu unrhyw ddull, ond iddo fod mewn cyffyrddiad uniongyrchol:" *Lectures on the Sacrament, p.* 347. Ond a wna efe i'r dychweledigion a fedyddia *fod yn y dwfr?* Ai

nid y dull naturiol o wneuthur i berson (sylwer, nid rhan o hono, canys y *dyn* a fedyddir, nid rhan o hono) *fod yn y dwfr* ydyw ei drochi ef yn y dwfr?

Addefa Dr. Halley fod yn rhaid "i'r arddodiad Groeg *en* gydag enw afon gael ei gyfieithu *yn*. Yr oedd Ioan yn bedyddio (rhaid i mi wrthod y cyfieithiad *â'r* Iorddonen neu â'i dyfroedd) *yn* yr Iorddonen, naill ai o fewn y gwely, gan sefyll ar yr ymyl, fel y meddylia Dr. Carson, tud. 131, neu yn y ffrwd, fel yr wyf fi, gan fy mod yn well bedyddiwr, yn credu:" *Note*, *p.* 416. Felly, yn ol y doctor, lle y cyfarfyddwn â'r ferf *baptiso* wedi ei chystrawenu gyda'r arddodiad *en* ac enw afon, rhaid yw ei chyfieithu *trochi yn*. Y mae yn canlyn, gan hyny, yn anocheladwy, i bawb a fedyddiodd Ioan yn yr Iorddonen gael eu trochi. Y mae hwn yn wir yn bwynt nas gall un beirniad cymhwys ei ammheu.

Etto, addefa ein cyfaill teg a dysgedig mai *trochi yn* yw y ferf *baptizo* pan wedi ei chystrawenu gyda'r arddodiad *eis:* tud. 414. Wrth gwrs, yr oedd yr addefiad yn anocheladwy, canys byddai yn wrthyn i gyfieithu y frawddeg mewn unrhyw ffordd arall. Ond beth sydd yn canlyn o hyn? Wel, i Iesu Grist, ein Siamplydd mawr, yr hwn a roddes i ni siampl fel y canlynem Ei ol Ef, yr Hwn yn Ei fedydd a ddywedodd, "Fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder," gael Ei *drochi:* Matt. iii. 15. Canys Marc wrth ddysgrifio bedyddiad ein Harglwydd a ddefnyddia yr arddodiad hwn, *ebaptisthe eis ton Iordanēn:* i. 9. Addefa Dr. Halley i Iesu Grist gael Ei fedyddio, ond efe a esyd yr addefiad (a ganiatâ efe i ni ddywedyd), yn hytrach yn anrasol mewn nodiad yn ngwaelod y ddalen, ac mewn llythyrenau mân, yn lle rhoddi yr amlygrwydd oedd ffaith mor bwysig a hyny yn ddiau yn ei hawlio. Ymddengys yn llyfr y doctor fel ad-ystyriaeth, ac y dylasai attal llawer o'r hyn a gawn wedi ei ysgrifenu yn nghorff y gwaith. Yn y bennod ei hun, cawn y frawddeg nodedig yma:—"Sylwer, nad ydym yn cael yn y Testament Newydd y frawddeg bedyddio *mewn* dwfr, bedyddio yn yr Ysbryd Glân, nid ydym yn cael yr arddodiad *eis* yr hyn allasai benderfynu yr ystyr, eithr bedyddio â dwfr, bedyddio â'r Ysbryd Glân; a'r rhai hyny yn cael eu cys-

trawenu fel yr offerynau â pha rai y gweinyddid y bedydd, ac nid y sylweddau yn y rhai y bedyddiwyd y personau:" tud. 415. Sicr yw, y rhaid i Dr. Halley pan ysgrifenodd y frawddeg hon, edrych heibio i'r ffaith ein bod yn cael y ffurf hon o ymadrodd yn y bedydd pwysicaf oll, sef y *Messiah Ei Hun*, a dywedir wrthym yn bendant i'r Iesu gael Ei fedyddio *yn* yr Iorddonen, yr hyn wrth reswm sydd yn gyfystyr ag yn *nwfr* yr Iorddonen.

Darllena nodiad Dr. Halley fel hyn,—"Nid oes genyf un dymuniad i wadu na fedyddiodd Ioan, yn achos ein Harglwydd, yn yr Iorddonen; mewn rhai achosion, ac yn hwn, gallai trochiad fod y dull mwyaf cyfleus!!" Note, p. 416. Dylai yr addefiad yma benderfynu y ddadl. Os cafodd Iesu Ei drochi, ac os dywedodd wrth ymostwng i'r ordinhad, "Fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder," rhaid ei fod yn anweddus ynom ni i wyro oddiwrth ddull a awdurdodwyd fel yma yn ddifrifol gan y fath awdurdod! Bedyddiwn fel y bedyddiwyd ein Harglwydd, ac yn y dull a ystyriodd Efe yn weddus.

Yr unig adnodau a gyflëant unrhyw anhawsder ydynt y rhai canlynol. "A'r Pharisead pan welodd, a ryfeddodd nad ymdrochasai (*ebaptisthe*) Efe (Crist) yn gyntaf o flaen ciniaw:" Luc xi. 38. Nid oes fodd bynag, un gwir anhawsder yma. Yr oedd golchi yr holl gorff mewn dwfr yn arferiad hynod o fynych gyda'r Phariseaid, a'r aelod hwn o'r sect hono a ryfeddai na wnaethai person mor santaidd ag y cyfrifid fod Iesu, yr ymolchiad yma cyn eistedd lawr i giniawa, ac yntau wedi bod yn ymgymmysgu â thyrfa gymmysgedig, yn mhlith y rhai y gallai fod llawer yn bobl aflan. Yr oedd yn nhŷ pob Pharisead o sefyllfa dda le cyfleus i ymolchi. Yr adnod arall yw Marc vii. 4.,—"A phan ddelont o'r farchnad, oni bydd iddynt *ymdrochi*, ni fwyttânt. A llawer o bethau ereill y sydd, y rhai a gymmerasant i'w cadw; megis *trochi* cwppanau, ac ystenau, ac efyddynau, a gwelŷau" (*klinôn*). Eglurha y dyfyniad canlynol o Josephus un o'r cyfeiriadau yn yr adnod hon; ceir ef yn ei hanes am arferion yr Esseniaid:—"Ar y bumed awr, ymgynnullant yn nghyd wedi amwisgo mewn gorchuddiadau lliain, ac ymdrochant mewn dwfr oer, yna ymneillduant i'w hystafelloedd. Oddi yno ânt i ys-

tafell giniawa, yr hon a ystyriant braidd mor gyssegredig â'r deml." Sonia am sect arall o Esseniaid, y rhai a wahaniaethant oddiwrth yr un flaenorol yn eu syniadau am briodas:—"Y menywod a ânt i'r ymdrochfëydd â'u gwisgoedd am danynt, fel y gwna y dynion:" *Bell. Jud.*, *L.* 2, *c.* 8, § 5, 13.

Ymddengys fod y Phariseaid yn wastad yn defnyddio yr ymdrochle ar ol bod yn ymgymmysgu ag unrhyw gynnulleidfa gymmysg rhag eu bod yn anfwriadol wedi ymhalogi. Arferent hefyd olchi trwy drochiad yn fynych eu llestri cogino, yfed, a bwyta. O barthed i'r *klinai*, pa un a ddeallwn hwynt am orwedd-feinciau, ar y rhai y cymmerent eu prydiau ymborth, neu am welŷau ar y rhai y gorweddent nid oes dim anhawsdra. Rhydd y traethodau Mishnaidd gyfarwyddiadau llawn am drochiad y gorwedd-feinciau a'r gwelŷau pan wedi cael eu halogi. Y mae dyfyniadau Dr. Gill yn ei esboniad ar yr adnod hon yn awr wedi bod flynyddau lawer o flaen y byd, ac heb eu rhoddi heibio erioed. Rhoddwn yma dri fel siampl:—"Pan gyfodo dyn obenydd, neu glustog groen wrth eu penau neu eu genau, allan o'r dyfroedd, y dwfr sydd o'u mewn a godir i fyny; beth a wna efe? Rhaid iddo *eu suddo* a'u codi fyny wrth eu cwr:" *Mishna Mikvaot.*, *c.* 7, *s.* 6, 7. "Gwely a fyddo wedi ei lwyr halogi, os sudda efe ef bob yn rhan, y mae'n bur:" *Mishna Celim*, *c.* 18, *s.* 5, 6, a *c.* 24, *s.* 8. *Maimon*, *ib. c.* 27, *s.* 7. "Os sudda efe y gwely ynddo (y llyn dwfr), er i'w draed suddo i'r clai tew yn ngwaelod y llyn, y mae'n lân:" *Mishna Mikvaot*, *c.* 7, *s.* 7. Y mae yn sicr, yn ngwyneb y tystiolaethau cyflawn a rydd Dr. Gill, na ddywed neb fod dim yn afresymol yn y dybiaeth fod y gwelŷau hyn yn cael eu *trochi mewn trefn i'w glanhau.*

Y mae defnyddiad *eglwysig* y *term* yn gysson â'n golygiadau ni. Y mae y dyfyniad o Nicephorus, a wna Dr. Halley, o Ddarlithiau Dr. Beecher, tud. 422, i brofi fod y *perikusis* neu y taenelliad a wnaed yn achos Novatus ac ereill ar eu claf-wely, yn gyfystyr â bedydd, yn profi y gwrthwyneb yn gywir; canys chwanega Nicephorus, ar ol dysgrifio y taenelliad hwn, "*Os yw yn addas galw y fath beth yn fedydd.*" Cawn, fodd bynag, fod y doctor yn

cywiro y camsyniad hwn yn onest yn y nodiad diweddaf, yn niwedd y gyfrol, ac yn addef nad yw y dyfyniad uchod o ddim cymhorth i Dr. Beecher, nac yntau, tud. 620. Gweinyddwyd bedydd am oesau trwy drochiad yn unig, a dim ond ar wely angau y caniatëid taenelliad, pryd yr oedd yr heresi farwol o ailenedigaeth yn y bedydd wedi ymlusgo i'r eglwys. Am ganrifoedd lawer ar ol dwyn i mewn yr arferiad hwn o wlychu personau drostynt pan yn marw, trochiad oedd yr unig ddull o fedyddio yn mhob achos arall. Geilw Cyprian daenelliad, y *bedydd eglwysig;* fel yn wahanol i fedydd yn ystyr briodol y *term.* Ni ystyrid y personau a daenellasid ar eu gwelýau oblegid afiechyd, fod wedi eu bedyddio yn briodol; ond derbynient y bedydd *eglwysig*, h.y., yr hyn a ganiatëid gan yr Eglwys yn y cyfryw achosion fel peth cyfreithlon yn *lle* bedydd. Gelwir ef yn fedydd am ei fod yn gwasanaethu yr un dyben. *Carson on Baptism, p.* 489. "Hyn oedd y ddeddf, fod i'r rhai a fedyddiasid (a daenellwyd) ar eu gwelýau, os ymadferent drachefn, i fyned at yr esgob, fel y gallai ef gyflenwi yr hyn oedd yn ddiffygiol yn y bedydd hwnw:" *Vales.*

Eusebius a ddysgrifia fedyddiad Novatian fel hyn:—"Gan dybied ei fod yn ymyl marw, ac wedi *tywallt* arno o amgylch, yn y gwely ar yr hwn y gorweddai, derbyniodd (fedydd, *perikutheis elaben*), os yn wir, y mae yn iawn i ddyweyd i un o'i fath ef dderbyn (bedydd, *eilephenai*)." Y mae yn ganfyddadwy nad yw y gair bedydd yn dygwydd o gwbl yn y dyfyniad yma, yn nhestun Groeg Eusebius. Y mae y gair wrth gwrs wedi ei adael allan, neu yn hytrach ei ddirprwy-ydd eglwysig. Gwnaed gwrthwynebiad i ordeiniad Novatus ar ol hyny gan Cornelius, ei wrthwynebydd. "Am nad oedd yn gyfreithlawn i un ag y tywalltwyd arno o amgylch *(perikuthen'a)* ar wely mewn afiechyd, fel yr oedd efe (Novatus) wedi cael, gael ei dderbyn i unrhyw urdd glerigawl:" *Euseb. His. Ec., Oxford Ed.* 1845, *pp.* 217, 216. Y mae y gofal a gymmerid i wlychu y claf *drosto oll* yn profi fod y *perikusis* eglwysig yn *ddirprwy-ydd* coelgrefyddol yn lle y *trochiad* gofynol.

Am ddefnyddiad clasurol y term gellir rhoddi yr engreifftiau canlynol Cymhwysir ef gan *Polybius, cyf.* iii. *tud.* 311, at filwyr yn myned trwy ddwfr, ac yn cael eu

bedyddio, neu eu trochi i fyny hyd y fynwes. Awgrymir cyfyngiad y trochiad trwy ddweyd *i fyny hyd y fynwes.* Defnyddia Strabo ef yn y dyfyniad canlynol:—"Teithiodd milwyr Alexander ddiwrnod cyfan trwy y llanw, rhwng y mynydd Climax a'r môr, gan gael eu bedyddio neu eu trochi fyny hyd eu hanner:" *Lib.* xiv. *p.* 982. Diodorus Siculus, wrth ddysgrifio gorlifiad dwfr, a ddywed, "Llawer o anifeiliaid y tir, wedi eu bedyddio neu eu trochi yn yr afon a drengant." Darlunir y pechadur gan Porphyry (tud. 283), fel wedi ei fedyddio neu ei drochi i fyny hyd ei ben yn y Styx, afon nodedig yn uffern. Heraclides Ponticus a gymhwysa y gair at suddiad haiarn poeth mewn dwfr, i'r dyben o'i oeri. Plutarch a'i defnyddia i ddysgrifio trochiad yn y môr. Defnyddia Hippocrates ef yn y dyfyniadau canlynol:—"Bedyddiwch neu suddwch ef (y *blister*) etto yn llaeth y fron ac enaint yr Aifft:" tud. 254. "Anadlodd fel yr anadla personau wedi eu bedyddio neu eu trochi:" tud. 340. Dysgrifia Polybius suddiad llongau ag ef, ii. 51—6. Cymhwysir ef yn ffugyrol yn y clasuron at drochiad mewn gwin, mewn dyled, ac mewn holiadau, fel ag y defnyddiwn ni y gair cyferbyniol yn ein iaith ni (y Saesneg). Felly y dywedwn ni am ddynion fel wedi eu suddo mewn gofal, neu drallod, dyled, myfyrdod, cariad, neu lawenydd, &c., &c. Nid yw y cyfryw gymhwysiadau o'r gair, fodd bynag, yn ymyraeth â'i arwyddocâd gwreiddiol a naturiol pan ddefnyddir ef yn ei ystyr lythyrenol, fel yn ddysgrifiadol o ddull rhyw weithred neillduol.

Pe *bwriadasai* yr ysgrifenwyr ysbrydoledig gyfleu y meddylddrych o drochiad, nis gallasent ddefnyddio gair cryfach neu fwy priodol nâ *baptizo.* Pe meddyliasent am ddysgrifio tywalltiad, paham na ddefnyddiasent *cheo* a'r adlawiaid? Os taenelliad, paham na ddefnyddiasent *rantizo* a'i adlawiaid? Os puredigaeth, yn annibynol ar unrhyw ddull o gwbl, paham na ddefnyddiasent *katharizo?* Lle y cawn y tair gweithred o dywalltiad, trochiad, a thaenelliad yn cael eu gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd, cawn mai y gair a ddewiswyd i ddysgrifio trochiad yw *bapto* neu *baptizo.* Ymgynghorer â'r Deg a Thrigain ar Lev. xiv. 15, 16., am eglureb. Yma, y mae y tair gweithred o dywalltiad, trochiad, a thaenelliad i'w gwa-

haniaethu yn gywir oddiwrth eu gilydd, a'r gair a ddewiswyd i ddynodi trochiad yw *bapto*. Y mae y ffaith na chrybwyllir *unrhyw ran neillduol o'r corff* fel wedi ei fedyddio, ond yr *holl berson*, yn profi mai trochiad oedd bedydd. Bedyddwyr babanod yn gyffredinol a daenellant *ar y wyneb*. Ond paham y taenellant y rhan neillduol hyny o'r person? A grybwyllir yn yr Ysgrythyr Santaidd ryw ran fel wedi ei bennodi yn neillduol i'w fedyddio? O dan y gyfraith, pan oedd rhyw ran neillduol o'r corff i gael ei daenellu, neu i'w gyffhwrdd yn rhyw fodd, caffai ei grybwyll yn bennodol: gwel Lef. xiv. 14, 17; Exod. xxix. 20; a Lev. viii. 23. Ond gan mai trochiad yr *holl* berson yw bedydd, hawdd yw dywedyd pa'm na chrybwyllir unrhyw ran neillduol o'r corph fel gwrthddrych pennodol y weithred. Modd bynag, pe meddyliasai Duw i ryw *ran* neillduol o'r dychwelydd gael gweithredu arno, diammheu y buasai wedi crybwyll hyny.

Rhaid i ni chwanegu fod y Groegiaid bob amser wedi deall, ac yn awr yn deall y gair, yn yr ystyr a roddwn ni iddo. Nis gall y dadleuydd mwyaf cyndyn wadu hyn. Y mae llenyddiaeth Groeg, yn eglwysig a chyffredin, yn profi gwirionedd ein haeriad. Fel yma y dywed (yn 1757) un mynach, mab gwirioneddol i'r Eglwys Ddwyreiniol:—"Ni wna y gair bedydd arwyddocâu dim arall heblaw trochiad;" tud. 49. Anthimus Comnenus, diweddar esgob y Cyclades, ac aelod o Gymmanfa Santaidd Groeg, a ddywed, "Cyfieithir y gair *baptizo* yn bur a gwirioneddol yn drochiad, ac y mae y trochiad hyny mewn gwirionedd yr un mwyaf cyflawn." A diau y rhaid fod y cyfryw ddynion y beirniaid goreu yn y ddadl hon!

Ni chaniatâ ein gofod i ni ymhelaethu yn chwaneg o barthed i'r ddadl eiriol yma. Na fydded y dydd yn mhell pan y bydd i'r ddau ddosbarth o'r Corff Cynnulleidfâol weled lygad yn llygad ar y pwnc mawr-ddadleuedig yma! Dyna yw ein dymuniad taer ni. A bydded i bob dadleuon gael eu dwyn yn mlaen gyda chymmaint o hynawsedd a thymherdda ag sydd yn nodweddu Darlithiau Dr. Halley ar y Sacramentau.

Y mae yn aros yn unig i ni alw sylw at y ddyledswydd rwymedig ar bob eglwys i Grist i gadw ordinhadau yr

Arglwydd fel y trosglwyddwyd hwynt i ni ganddo Ef a'i Apostolion ysbrydoledig. Gall y darllenydd ymgynghori â'r adnodau canlynol fel eglurebau:—1 Thes. iii. 5; v. 14, 15; 2 Thes. ii. 15; 1 Cor. xi. 1, 2. Yn yr adnodau hyn gorchymmynir yr eglwysi i sefyll a dal y traddodiadau a ddysgwyd gan yr Apostolion; canmolir yn uchel yr eglwysi a wnant hyn, a gorchymmynir yn ddifrifol iddynt dynu ymaith oddiwrth bob brawd a wrthodo wneuthur hyny.

V. Y MAE YR EGLWYSI I GADW YN WYTHNOSOL SWPER YR ARGLWYDD.

Ymddengys parhad yr Ordinhad Santaidd hon oddiwrth orchymmyn ein Harglwydd, "*Gwnewch hyn er coffa am danaf:*" Luc. xxii. 19, yr hwn pan lefarwyd ef a rhaid fod yn meddu cyfeiriad rhagolygol. Yn yr hanes llawnach a geir yn 1 Cor. xi. 24, 25, rhoddir y gorchymmyn ddwywaith. Y mae y gosodiad i barhau hyd ddyfodiad Crist, "Canys cynnifer gwaith bynag y bwytâoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd *oni ddelo:*" adn. 26. Yr elfenau i'w defnyddio ydynt fara a gwin, ac y mae pob cymmunwr i dderbyn y *ddau.* Paul wrth annerch yr Eglwys yn Corinth a lefara wrth yr *holl* aelodau fel yn derbyn y ddwy elfen. Fel yma, "Cynnifer gwaith bynag y bwytâoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan," &c; "pwy bynag a fwytâo y bara hwn, neu a yfo gwpan yr Arglwydd yn annheilwng," &c; "holed dyn ef ei hun; ac felly bwytâed o'r bara, ac yfed o'r cwpan:" 1 Cor. xi. 26-28. Gwnaeth yr Eglwys yn Corinth *gam* mawr â'r fraint hon, etto ni ddywed yr Apostol un gair yn y naill nâ'r llall o'i epistolau atynt yn nghylch cymmeryd y cwpan oddiwrth y lleygwyr.

*Dyben* yr ordinhad yw "dangos marwolaeth yr Arglwydd oni ddelo." Y mae wedi ei bwriadu yn adgof parhaus o'i aberth santaidd, trwy yr hyn y cadarnheir ein ffydd ac y cyffrôir ein cariad. Y mae yn hollol gyfaddas i gyfansoddiad ein meddwl, gan ei bod yn apëliad at ein synhwyrau, y mae yn ei gosodiad gwreiddiol mor *annghyffredin* o *syml,* fel y gadawa le cyflawn i'r ysbrydolrwydd uchelaf wrth ei chadw. Cynnorthwya ffydd, ond nid yw yn ei llethu trwy goegwychedd golygfâol. Y mae yr el-

fenau yn *ddigyfnewid* yn eu defnyddiad yn y wledd hon. Bara o hyd yw y bara, a gwin o hyd yw y gwin. Trwy ffydd yn unig y derbynir corff a gwaed ein Harglwydd. Rhaid deall y geiriau, "*Hwn yw Fy Nghorph:*" 1 Cor. xi. 34, fel y deallwn yr ymadrodd, "*Y Cwpan hwn yw y Testament Newydd:*" adn. 25. Yn awr, gan y gwyddom nad yw y cwpan yn destament, neu gyfammod, nac yn cael ei drawsnewid i un, eithr dim ond yr arwydd allanol o'r gwaed hwnw a seliodd y cyfammod, felly gwyddom mai nid corff Crist yw y bara, eithr ei arwyddlun gweledig. Os yw y bara yn cael ei draws-sylweddu i gnawd a gwaed dynol, yna y mae y cwpan yn cael ei draws-sylweddu i rhywbeth nad yw yn sylwedd o gwbl, sef cyfammod.

Dylid cadw yr ordinhad yma bob *dydd yr Arglwydd*, neu y dydd cyntaf o'r wythnos. Hyn yn ddiau oedd yr arferiad boreuol Yr oedd tori bara yn rhan *gysson* o addoliad dydd yr Arglwydd. "Ac ar y dydd cyntaf o'r wythnos, wedi i'r dysgyblion ddyfod yn nghyd i dori bara, Paul â ymresymodd â hwynt:" Act xx. 7. Yn yr eglwysi Apostolaidd yr oedd swper yr Arglwydd yn ŵyl wythnosol, fel dydd yr Arglwydd ei hun, gwel hefyd Act. ii. 42. Ar yr ŵyl wythnosol yma gwnelid casgliad, yn benaf tuag at y saint tlodion, fel yr ymddengys oddiwrth 1 Cor. xvi. 1, 2. Yr oedd Paul wedi gorchymmyn hyn i Eglwysi Galatia, a gorchymmyna hyny i'r Eglwys yn Corinth. Yr oedd tori bara, neu swper yr Arglwydd, yn arbenigol yn *ordinhad eglwysig*, ac ni weinyddid hi un amser ond pan ddeuai yr eglwys fel y cyfryw yn nghyd i'r dyben hyny. Yr holl gyfeiriadau o barthed cadw yr ordinhad, a gyfarfyddwn yn y Testament Newydd, a awgrymant hyn. "Wedi i'r dysgyblion ddyfod yn nghyd i dori bara:" Act. xx 7. "Yr ydym ni oll yn gyfranogion o'r un bara:" "Phïol y fendith, yr hon a fendigwn, onid cyd-gyfranogiad (*koinônia*) gwaed Crist ydyw? Y bara yr ydym yn dori, onid cyd-gyfranogiad corph Crist ydyw?" "Pan fyddoch chwi gan hyny yn dyfod yn nghyd i'r un lle, nid bwyta swper yr Arglwydd ydyw hyn. Canys y mae pob un wrth fwyta yn cymmeryd ei swper ei hun o'r blaen, ac un sydd a newyn arno, ac arall sydd yn feddw. Onid oes genych dai i fwyta ac i yfed? Ai dir-

mygu yr ydych chwi Eglwys Dduw, a gwaradwyddo y rhai nid oes ganddynt:" I Cor. x. 17, 16; xi. 20—22. Yr oedd y Corinthiaid wedi dystrywio y meddylddrych hanfodol o swper yr Arglwydd, yr hyn yw cyfranogiad unol gan yr holl Eglwys o un wledd gyffredin, fel er eu *dyfod* yn nghyd i'r un lle megis eu gorchymmynwyd gan eu Harglwydd, ni chyfranogasant o *un swper*.

Yr ydym yn dysgu oddiwrth y sylwadau hyn, ei fod yn anysgrythyrol i dori bara i *Gristionogion yn unigol* ar wely cystudd, heblaw fod perygl mawr yn hyny i gynnyrchu ymddiried ofergoelaidd mewn seremoni yn unig. Y mae swper yr Arglwydd yn ordinhad bennodol i eglwysi, fel y cyfryw, ac ni ddylid ei gweinyddu ond pan ddelo y dysgyblion yn nghyd i'r un lle. Gwelwn oddiwrth hyn, hefyd, fod ymostyngiad i'r ordinhad o fedydd, yn nyddiau yr Apostolion, yn wastadol yn blaenori derbyniad at fwrdd yr Arglwydd. Yr oedd bedydd yn arwydd o ddysgybldod, ac yr oedd dysgybldod yn beth hanfodol i gymmundeb o gorff a gwaed arwyddluniol Iesu, gwel tud. 313—319. Gan fod swper yr Arglwydd yn gyfyngedig i aelodau yr eglwysi, ac fod bedydd yn hanfodol i aelodiaeth, rhaid yw fod bedydd yn mhob achos yn blaenori y mwynhad o eisteddle wrth fwrdd yr Arglwydd. A pha hawl sydd genym ni i ŵyro oddiwrth y drefn hon? Gwel Matt. xxviii. 19, 20; Marc xvi. 15, 16; a chymharer ag Act. ii. 41, 42, fel yn nghyd yn esbonio Rhuf. xv. 7; xiv. 1, 2, 3. Sicr yw, nad oedd bedydd yn "ymrafael rhesymau" pan ysgrifenwyd yr Epistol at y Rhufeiniaid, ac nid yw felly yn wirioneddol yn awr. Y mae sylwadau Paul yn Rhuf. xiv. yn gymhwysiadol at bethau dibwys, o barthed pa rai nid yw Crist wedi rhoddi un gorchymmyn. Ond y mae wedi gwneuthur hyny yn achos bedydd, ac oddiar hyny nid yw mwyach yn ddibwys. Yr holl Gristionogion boreuaf a dderbyniwyd i'r Eglwys trwy yr ordinhad hono. Dyma y cwbl a berthyn i ni wybod o barthed dyledswydd yr Eglwys mewn perthynas i hawlio bedydd o flaen aelodiaeth.

Oddiwrth y cwbl a ddywedwyd, ymddengys y dylai bedydd fod yn blaenori aelodiaeth eglwysig a'i *holl* rhagorfreintiau. Y brodyr rhydd-gymmunol hyny a dderbyniant at y bwrdd, ond nid i aelodiaeth, ydynt ohonom oll y rhai

mwyaf annghysson. Eglur yw ei fod yn anrhesymegol i dderbyn i un o ragorfreintiau *uchelaf* aelodiaeth eglwysig, a gwrthod aelodiaeth ei hun. Y rhai sydd a hawl Ysgrythyrol i'r naill, a feddant hawl yr un mor gyflawn i'r llall. Pe gyrid ni oddiwrth ein gosodiad presenol, rhaid fyddai i ni gofleidio cymmundeb rhydd. Nid oes un gorphwysfan rhesymegol rhwng y ddau eithafnod.

VI. Gofynir i'r Eglwysi gyflawnu yn ffyddlon Ddysgyblaeth y Testament Newydd.

1. Yn gyffredinol, rhaid i bob eglwys ddangos ei neillduolrwydd oddiwrth y byd, *trwy gadw mor bell ag y gellir burdeb ei chyfundeb.* Yn nammeg yr efrau a'r gwenith, y "maes yw y byd," Matt. xiii. 38, *nid yr eglwys.* Y mae yr eglwysi i "garthu allan yr hen lefain, fel y byddont does newydd:" I Cor. v. 7. "I dynu ymaith oddiwrth bob brawd a'r sydd yn rhodio yn afreolus, ac nid yn ol traddodiad yr Apostolion:" 2 Thess. iii. 6. "I draddodi y troseddwr caled i satan" (ei esgymmuno ef), "i ddinystr y cnawd, fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu:" 1 Cor. v. 5. Y maent i "fwrw ymaith y dyn drygionns hwnw o'u plith:" adn. 13. Ac i "ochelyd yr heretic gwrthnysig:" Titus iii. 10, 11. Y mae y rhai a ŵyrasant yn ddirfawr oddiwrth y ffydd i'w bwrw ymaith. Y mae yr eglwysi i graffu ar, a chilio oddiwrth y rhai sydd yn peru annghydfod a rhwystrau yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgasom gan ein Harglwydd a'i Apostolion: Rhuf. xvi. 17. Y mae pob "heresiau dinystriol" i'w symud ymaith: 2 Pedr ii. 1, 2. *Ceryddir* yr Eglwysi yn Pergamos a Thyatira am ganiatâu lledaeniad athrawiaeth lygredig yn eu plith, yr hyn a brawf mai eu dyledswydd oedd ei symud, ac fod ganddynt *allu* digonol i wneuthur hyny: Dad. ii. 14–16, 20.

2. *Fod cosp y troseddwr i fod yn gyfartal i'w drosedd.* Mewn rhai achosion yn lle y ddedfryd eithafol o *esgymmundod,* rhoddid cerydd cyhoeddus gerbron yr holl eglwys yn lle hyny. "Y rhai sydd yn pechu, cerydda yn ngwydd pawb, fel y byddo ofn ar y lleill:" 1 Tim. v. 20. "A thrugarhewch wrth rai, gan wneuthur rhagor; eithr rhai cedwch trwy ofn, gan eu cipio hwy allan o'r tan; gan gashau hyd y nod y wisg a halogwyd gan y cnawd:" Judas

22, 23. Ond lle byddo y trosedd yn warthus, a'r troseddwr yn anedifeiriol, rhaid ei esgymmuno o'r eglwys. Y mae yr Eglwysi i "hysbysu hwnw ac i fod a dim cymdeithas ag ef:" 2 Thess. iii. 14, 15. Y maent i'w "garthu allan o'u cymmundeb," i ddal dim cymdeithas ag ef; nac hyd y nod i "gyd-fwyta (swper yr Arglwydd) chwaith: eithr i'w "farnu" a'i "fwrw ymaith o'u plith:" 1 Cor. v. 7-13. Y mae y dyn a wrthodo wrando ar yr eglwys, yn ngweinyddiad dysgyblaeth Ysgrythyrol, i fod iddi hi "megis yr ethnig a'r publican," Matt. xviii. 17, —megis un ysgymmunedig. Y mae i'w "draddodi i Satan:" 1 Cor. v. 5.

3. *Y mae yn amlwg fod attal o aelodiaeth, oddi eithr tra byddo achos y troseddwr dan ymchwiliad* yn anysgrythyrol. Nid yw y dyn nad yw mewn sefyllfa meddwl addas i ddyfod i swper yr Arglwydd, yn addas i'w gadw fel aelod. Diaeloder ef, ac adferer ef pan yn edifeiriol. Y mae attal o aelodiaeth eglwysig *fel cosp* yn anysgrythyrol ac afresymol.

4. *Dylai troseddwyr gael eu rhybuddio cyn eu diaelodi:* Titus iii. 10, oddi eithr fod y trosedd yn un o nodwedd ysgeler, yn hawlio diaelodiad uniongyrchol, ac mor gyhoeddus fel y byddai yn ddiammheuol hysbys i bawb.

5. *Dylai yr Eglwys edrych ar ddiaelodiad, yn unig fel moddion gras i'r troseddwr.* Dylid ei weinyddu mewn trefn i'w adferyd. Dylai pob dysgyblaeth, tra yn amddiffyn purdeb yr Eglwys, amcanu at les y troseddwr. Dylai fod nid yn unig yn gospawl, eithr yn ddiwygiadol. Ofnwn fod ein Eglwysi yn edrych yn ormodol dros yr agwedd yma o ddysgyblaeth eglwysig. Mynych y gadawant i'w haelodau diaelodedig grwydro ar "fynyddoedd" tywyll "Bether" (*Rhaniad*) Can. ii. 17; heb unrhyw ymdrech i'w cael yn ol i'r gorlan o ba un o angenrheidrwydd y gyrwyd hwy allan. "Er hyny," medd yr Apostol, "na chymmerwch ef megis gelyn, eithr cynghorwch ef fel brawd:" 2 Thess. iii. 15. Nid yw y dyn esgymmunedig i'w draddodi i Satan, ond er "dinystr y cnawd, fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu:" 1 Cor. v. 5. Can gynted ag y byddo dysgyblaeth yr Eglwys wedi gwneyd ei gwaith yn nychweliad y troseddwr, dylai gael ei adferyd i holl ragorfreintiau aelod-

iaeth eglwysig. "Digon i'r cyfryw ddyn y cerydd yma a ddaeth oddiwrth laweroedd. Yn gymmaint ag y dylech yn y gwrthwyneb, yn hytrach faddeu iddo, a'i ddyddanu, rhag llyncu y cyfryw gan ormod tristwch. Am hyny yr ydwyf yn attolwg i chwi, gadarnhau eich cariad tuag ato:" 2 Cor. ii 6–8. Y mae y cyfryw ddyn i'w "adgyweirio:" Gal. vi. 1.

6. *Dylai y troseddau a gyflawnir gan y naill aelod o'r Eglwys yn erbyn y llall, gael eu penderfynu yn gyfrinachol,* ac heb gael eu dwyn dan sylw yr Eglwys, oddieithr yn wir y bydd y trosedd yn doriad gwarthus ar foesoldeb, trwy ba un y bydd achos Crist yn cael ei warthruddo yn *gyhoeddus.* Mewn achosion o gwerylon rhwng aelodau yr eglwysi, y mae yr Arglwydd wedi ei wneuthur yn ddyledswydd ar y troseddwr a'r hwn y troseddwyd yn ei erbyn i ymdrechu penderfynu y cweryl, ac ymheddychu â'u gilydd. Esgeulusir hyn yn rhy fynych. Ymlochesa y troseddwr yn fynych tu ol i Matt. xviii. 15–17, a dywed, Os oes gan y brawd Jones rhywbeth yn fy erbyn i, deued attaf, a dyweded wrthyf am hyny, fel y gorchymmynya Crist iddo wneuthur—gan annghofio Matt. v. 23, 24, lle y gorchymmynir i'r troseddwr fyned a chymmodi â'i frawd. Nid yw Crist yn dyweyd p'un o'r ddau sydd i symud gyntaf. Os caniatëir i ni ddyweyd felly, *dyledswydd y ddau yw symud gyntaf.*—Nid oes hawl gan y naill i aros i'r llall. Os na ellir penderfynu yr achos heb gynnorthwy ereill, dywed Matt. xviii, 14–17, pa fesurau ddylyd eu cymmeryd, ac wrth y cyfarwyddiadau dwyfol hyny bydded i'r holl aelodau ymlynu yn fanwl.

7. *Y mae yn aros i ni chwanegu y dylai holl aelodau eglwys gymmeryd rhan yn ngweinyddiad ei dysgyblaeth.* Rhy fynych y dygwydda, pan fyddo rhyw ddyledswydd boenus i gael sylw yr eglwys, fod llawer o'r aelodau yn chwareu y llwfr-ddyn ac yn absenoli eu hunain o'r cyfarfod, gan adael i'r gweinidog tlawd a'r diaconiaid i ymladd brwydr gwirionedd a chyfiawnder yn un-llaw (*single-handed*). Ni ddylai y pethau hyn fod felly. Dylai aelodau eglwysig fod yn foddlon i gyflawnu dyledswyddau poenus, yn gystal â rhai hyfryd. Nid oes ganddynt fwy o hawl i ochelyd y blaenaf nâ'r olaf. Dylai yr holl Eg-

lwys gymmeryd rhan yn *nerbyniad* aelodau, Rhuf. xiv. 1; xv. 7; yn eu *gollyngdod* i eglwysi ereill, Act. xviii. 27; yn eu *diaelodiad* pan wrthgiliont, 2 Cor. ii. 6; 1 Cor. v. 4, 5; 2 Thess. iii. 6; ac yn eu *hadferiad* pan edifarhaont: 2 Cor. ii. 7–11. I gyflawnu y materion hyn yn yr eglwysi Apostolaidd, ymgynnullai yr holl aelodau yn nghyd i'r un lle, 1 Cor. v. 3–5; 2 Cor. ii. 6; ac ystyrid yr hyn a gyflawnid yn perthyn iddynt oll.

## PENNOD VI.

### DYLEDSWYDDAU AELODAU EGLWYSIG.

Terfynwn gydag ychydig eiriau ar y rhwymedigaethau a ymgyfodant o undeb ag Eglwys neillduol i Grist. Cadwer mewn cof ar y cychwyniad nad yw undeb ag eglwys neillduol i Grist yn cynnwys ymryddhad oddiwrth ein dyledswyddau gwladyddol, nac ymwrthodiad â'n iawnderau gwladyddol. Nid yw ein perthynas â'r wladwriaeth gymdeithasol, a'r dyledswyddau a'r iawnderau a ymgyfodant o hyny, yn cael eu diddymu gan ein dygiad i mewn i gyfundeb uchelach. Yr ydym yn ddinasyddion etto, a rhaid i ni beidio gwrthod ein rhan o ddylanwad santaidd yn llywodraethiad amgylchiadau y wlad y perthynwn iddi a'r byd yn gyflawn. Ni weddïodd Crist am ein cymmeryd ni allan o'r byd, eithr am ein cadw rhag y drwg sydd yn y byd. Dylai pob aelod mewn Eglwys Gristionogol fod yn elyn tyngedig pob trawslywodraeth a gormes, ac yn teimlo mai rhan o'i genadaeth yw defnyddio ei holl ddylanwad gwladyddol tuag at ddiwygio pob camwri yn y llywodraeth dan ba un y mae yn byw. Y mae hyn yn ddyledswydd arno, nid yn unig tuag ato ei hun, eithr tuag at ei gymmydog. Nid yw y berthynas newydd yn diddymu yr hen un: tud. 335. Peth tost fyddai i'r byd pe byddai i'r holl ddynion da sydd ynddo encilio o diriogaeth gwladlywiaeth, a gadael materion llywodraeth yn gwbl yn nwylaw plant y diafol. A phe gallai *un* wneyd hyny, paham na allai *pawb?*

Nid yw undeb ag Eglwys Gristionogol yn diddymu ein rhwymedigaethau fel *credinwyr yn bersonol.* Rhaid peidio annghofio hyn un amser. Dygwn ein holl gyfrifoldeb

*personol* gyda ni i'r Eglwys. Rhaid i ni beidio ymgolli yn y lluaws. Nis gallwn wneuthur ein gwaith crefyddol trwy ddirprwy. Nis gall gweinidog, diaconiaid, na'n cydaelodau gymmeryd ein lle ni yn ngwinllan ein Harglwydd. Dylai eglwysi fod yn undebau o gydweithwyr yn unig, ei le a'i waith i bob un. Trwy ddychweliad, deuwn yn Gristion-ogion, trwy fedydd, deuwn yn ddysgyblion proffesedig, a thrwy ymuno â rhyw eglwys neillduol y dewiswn y gyfryw eglwys yn unig fel ein cartref grefyddol. Nid yw ein perthynas â holl frawdoliaeth y rhai ffyddlon yn cael ei diddymu trwy ein hundeb ag un gynnulleidfa o saint. Ni ddylai sel enwadol byth gymmeryd lle cariad Cristionogol cyffredinol; ein gweddi o hyd ddylai fod, "Gras fyddo gyda phawb sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb:" Eph. vi. 24 Nid yw cyfrifoldeb personol, ac unoldeb â holl deulu Duw yn cael eu diddymu trwy ymuno ag eglwys Gristionogol.

I. Dyledswyddau aelodau eglwysig tuag at eu gilydd.

Dyben aelodiaeth eglwysig yw cydlesiant pawb a'i mwynha. Dylai pob un weini i'r daioni cyffredin. Y mae eglwysi yn gorfforiaethau ysbrydol o'r egwyddor gymdeithasol. Y maent yn seiliedig ar ddeddf cymdeithasiad. Cynnullir yn nghyd eneidiau o'r un anian fel y gallont gynnorthwyo cynnydd eu gilydd mewn gras a gwybodaeth; a chan fod yr holl aelodau yn dal *perthynas* oruchel â'u gilydd, ymgyfyd o'r berthynas yma rwymedigaethau cydweddiadol. Cawn enwi yn fyr rai o'r dyledswyddau rhwymedig arnynt tuag at eu gilydd.

1. *Cariad Cristionogol.* Y mae gan ein cydaelodau hawl o'n cariad tuag atynt. Gellir dyweyd eu bod hwy yn cynnrychioli i ni yn eu personau holl deulu Duw. Cyfansoddant y rhan hyny o hono sydd o fewn cyrhaedd uniongyrchol i ni; ac os nad ydym yn caru ein brodyr ydym wedi eu gweled, pa fodd y gallwn yn wirioneddol garu y rhai nad ydym wedi eu gweled? Y mae y rhai a ymfoddlonant ar ddim ond siarad dwysgall yn nghylch undeb yr holl wir gredinwyr, tra yn dangos ysbryd cynhenus a chwerw yn yr eglwys â'r hon y daliant gyssylltiad uniongyrchol, yn cael eu profi yn eglur yn ofnadwy

annghysson. Cyffelyb ydynt i ddyn a faldordda am ddyngarwch cyffredinol, ond yn ei deulu ei hun a chwareua y gormeswr. Rhaid i'n haelodau wrteithio y gras o gariad Cristionogol at eu gilydd; a chan ddechreu gartref, ddysgu cofleidio yn mreichiau eu serch holl deulu Duw. Dylai Cristionogion garu eu gilydd er mwyn eu cydberthynas a'u cydffurfiad â'u Harglwydd. Rheol cariad ddylai fod, *maint eu tebygolrwydd i Iesu.* Pa fwyaf o ddelw ein Meistr a welwn yn ein gilydd, mwyaf i gyd y dylem garu ein gilydd. Dylai pob gwahaniaethau daearol ddiflanu o flaen y rheol hon. Y profion o undeb â'r Gwaredwr, yn arddangosedig gan ymdebygiad i'w ddelw Ef, ac nid cyfoeth bydol a bri yn unig, ddylent benderfynu maint ein cariad at ein brodyr: gwel Iago ii. 1—9; 1 Ioan iii. 14; Ioan xv. 13—17; xiii. 34, 35.

2. *Cydymdeimlad tyner.* Y fath gydymdeimlad ag a'n harweinio i fod yn "llawen gyda'r rhai sydd lawen, ac wylo gyda'r rhai sydd yn wylo:" Rhuf. xii. 15. Ni ddylai ein cariad fod y fath a ddarlunir gan Iago ii. 15, 16, neu gan 1 Ioan iii 17. Dylai aelodau eglwysi Cristionogol "*ddwyn beichiau eu gilydd*, ac felly gyflawni cyfraith Crist:" Gal. vi. 2. Dylent "ddyddanu y gwan eu meddwl a chynnal y gweiniaid:" 1 Thes. v. 14. "Os dyoddef a wna un aelod, dylai yr holl aelodau gyd-ddyoddef; os anrhydeddu a wneir un aelod, dylai yr holl aelodau gydlawenhau:" 1 Cor. xii. 26. Mewn gwirionedd, dylai pob eglwys fod yn deulu santaidd a chydymdeimladol yn ddarlun bychan o'r cydymdeimlad ysbrydol a fodola rhwng holl aelodau corph dirgeledig yr Arglwydd fel cyfangorff. Gwyn fyd ar Dduw na fyddai mwy o'r cydymdeimlad hwn yn ein gwahanol gymdeithasau Cristionogol, a llai o oerni, anymddiried, ac ymrafael.

3. *Goddefgarwch.* Pan ddelo dychweledigion ieuainc i mewn i eglwys, gyda holl wres eu cariad cyntaf, dysgwyliant gael eu cydaelodau yn angylion mewn cnawd. O'r braidd y maent yn adnabod eu *hunain;* felly, nid yw yn rhyfedd yr edrychant ar dduwioldeb *eu brodyr* gyda math o ormodeb rhwyddgalon. Ond ow! y mae profiad dyddiol yn profi nad yw aelodiaeth eglwysig yn ein gwisgo â pherffeithrwydd angylaidd. Am hyny, y mae goddefgarwch yn rheid-

iol i dangnefedd, cysur, a llwyddiant yr eglwysi. Gyda phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder, yn nghyda hirymaros, dylai aelodau yr eglwysi oddef eu gilydd mewn cariad: Eph. iv 2. Rh id iddynt yn ol siampl Crist gyd-ddwyn â'u gilydd, a maddeu i'w gilydd, os bydd gan neb gwyn yn erbyn neb: Col. iii. 13. Rhaid peidio caniatâu i gwerylon aros ac ymchwerwi yn y galon: Lef xix. 17; eithr penderfynu pob achos o ymraniad felly yn ddioed. Y mae y troseddwr a'r hwn y troseddwyd yn ei erbyn i geisio cymmodiad: gwel Mat. v. 23, 24., a'r xviii. 15; gwel tud. 381, 382. Yr ydym i gyfaddef o galon rwydd i'n brodyr ein camweddau yn eu herbyn: Iago v. 16., ac y mae y cyfryw addefiad i'w dderbyn gyda rhwydd-deb calon a maddeuant. Y mae pob ymryson am flaenoriaeth ac awdurdod yn cael ei wahardd yn gaeth: Marc ix. 33–37. Yn mhob rhyw faterion nad yw ein Harglwydd wedi roddi deddf yn eu cylch, gan eu gadael fel pethau dibwys, yr ydym i arferyd y goddefgarwch mwyaf. Rhuf. xiv. 1–23: "Yr hwn sydd yn bwyta, na ddirmyged yr hwn nid yw yn bwyta, a'r hwn nid yw yn bwyta, na farned ar yr hwn sydd yn bwyta; canys Duw a'i derbyniodd ef: adn. 3. Gwaherddir yn gaeth i aelodau eglwysig ymgyfreithio â'u brodyr o flaen yr annghredinwyr yn nghylch cwerylon personol: 1 Cor vi. 1—8. Y maent yn hytrach i osod yn farnwyr y rhai a gyfrifir leiaf yn yr eglwysi, neu i ddyoddef cam, a bod mewn colled: adn. 4, 7. Bwriadwyd Cristionogaeth i'n huno yn nghyd, ac y mae unrhyw beth tebyg i ddigofaint ac ymryson yn hollol groes i'w natur. Ni ddylai cwerylon halogedig teulu Duw byth gael eu dynoethi o flaen llygaid y byd gwatwarus ac annghrediniol.

4. *Gofal neillduol am y tlodion.* Y mae y Testament Newydd yn orlawn o gynghorion i "gofio y tlodion:" Gal. ii. 10. Y mae eu rheidiau i'w cyflawni yn ol eu hangenion, ac yn ol gallu yr eglwys i ba un y perthynant: 1 Tim. v. 16; Rhuf. xii. 13. Yn mhellach, dylai yr eglwysi fyddont yn gallu, gyfranu tuag at dlodion cyfundebau llai cyfoethog, yn enwedigol mewn unrhyw angen mawr. Yr oedd hyn yn arferiad cyffredin yn yr eglwysi Apostolaidd, ac yn un, yr ydym yn ofni, sydd yn cael ei esgeuluso yn

rhy fynych yn ein plith ni: gwel Act. xi. 27–30; Rhuf. xv. 26; 1 Cor. xvi 1–4; 2 Cor. viii. 1–24; a'r ix. Onid yw yr Ysgrythyrau yma yn ein ceryddu am fod gymmaint ar ein penau ein hunain fel eglwysi? Dylai y cyfryw gyfraniadau fod yn ol "fel y llwyddodd Duw ni:" 1 Cor. xvi. 2. Dylent gael eu rhoddi heibio bob dydd cyntaf o'r wythnos, neu ddydd yr Arglwydd, ac mor ddirgelaidd ag y byddo yn ymarferol: Matt. vi. 3, 4. Cynnwysir deddf fawr cyfranu Cristionogol yn y canon ysbrydoledig yma:—"Pob un megis y mae yn rhagarfaethu yn ei galon, felly rhodded; nid yn athrist, neu trwy gymhell, canys rhoddwr llawen y mae Duw yn ei garu:" 2 Cor. ix. 7.

"Yn mhlith y rhinweddau a hynodent yr eglwys gyntefig yn ei babandod, ymddysgleiriai cariad at y tlawd a'r anghenus yn y radd flaenaf, a chyda y dysgleirdeb mwyaf. Cyflenwai y cyfoethogion reidiau eu brodyr anghenus gyda'r fath haelfrydedd a pharodrwydd, fel yn mhlith dysgyblion boreuol Crist, megis y dywed St. Luc wrthym, yr oedd pob peth ganddynt *yn gyffredin:* Act. ii. 44, 45; iv. 32—37. Y mae yr ymadrodd hwn fodd bynag wedi cael cam mawr, ac wedi ei wneuthur i arwyddocâu *cydfeddiant iawnderau, nwyddau, neu feddiannau,* nâ'r hwn ddehongliad nid oes dim yn fwy disail, dim yn fwy annghywir. Canys y mae yn hollol amlwg oddiwrth luaws o resymau, yn gystal ag oddiwrth eiriau pendant St. Pedr (Act. v. 4.) mai y gymdeithas a awgrymir mewn cydymarferiad a haelioni i'w gilydd, ydyw yr unig beth a fwriedir yn yr adnod hon." *Mosheim, Cent. I., Chap. iv. Sec.* 5. Gwel hefyd Draethawd gan Mosheim ar y pwnc yma yn yr 2 Gyfrol o'i "*Dissertationes ad Historiam Ecclesiasticam Pertinentes.*" Darllenwn am saint tlodion yn Jerusalem ar ol hyn, Rhuf. xv. 36, a chawn i gasgliadau gael eu gwneuthur iddynt gan eglwysi ereill a phellenig, Rhuf. xv. 26; 1 Cor. xvi. 3. Ein Harglwydd a ddywed, "Y mae genych y tlodion bob amser gyda chwi:" Matt. xxvi. 11.

5. *Llettygarwch.* Gosodir pwys mawr ar y ddyledswydd hon, a rhoddir rhai siamplau prydferth o'i chyflawniad, gwel Act. xxi. 16; Rhuf. xii. 13; Philemon 22; 1 Pedr iv. 9; 3 Ioan 5–8; "*a thuag at ddieithriaid:*" 1 Tim. iii. 2; Titus i. 8. Sicr yw y dylai gras a gym-

meradwyir felly gael mwy o'i arfer yn haelionus yn ein plith ni nac y mae.

6. *Gwylied dros a chynghori eu gilydd.* Dylai aelodau eglwysig arferyd gwyliadwriaeth garedig a Christionogol dros eu gilydd. Ni ddylai neb ddywedyd gyda Cain, "Ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi?" Nid ydym i sylwi ar ein gilydd yn unig er mwyn canfod beiau, eithr er cynnorthwyo ein gilydd. Pan welom frawd yn oëri gyda chrefydd, ac yn myned yn ddiofal yn ei rodiad, dylem ei rybuddio ef yn dyner ond yn ffyddlon. Dylai aelodau rybuddio eu brodyr afreolus; 1 Thess. v. 14. Dylent rybuddio eu gilydd, 2 Thess. iii. 15; a chynghori eu gilydd, Heb. iii. 13; x. 25; a chydystyried pawb eu gilydd, i ymanog i gariad a gweithredoedd da, x. 24. Dylent gynnorthwyo i symud cyfeiliornadau eu gilydd mewn athrawiaeth, megis yr "agorodd" Acwila a Phriscila i'w brawd hyawdl Apolos, "ffordd Duw yn fanylach:" Act. xviii. 25–28. Yn fyr, y mae saint i fod yn gynnorthwywyr i'w gilydd mewn athrawiaeth ac ymarweddiad: 1 Thess. v. 11.

7. *Siampl Santaidd.* Y mae pob aelod yn ddyledus i'w gydaelodau o ddylanwadau siampl santaidd. Y mae anrhydedd ac adeiladaeth yr Eglwys yn hawlio, fod pawb a berthynant iddi yn rhodio yn deilwng o'u proffes. Ni ddylai un aelod "roddi tramgwydd i'w frawd, neu rwystr:" Rhuf. xiv. 13. Pan y syrthia Cristion proffesedig i bechod, y mae yn clwyfo ei frodyr, yn rhwystro eu defnyddioldeb, ac yn lluddias eu cynnydd yn y bywyd dwyfol: 1 Cor. viii. 12. Dylai pob gwasanaethwr proffesedig i Grist, edrych yn fanwl ar anrhydedd, purdeb, ac effeithioldeb Eglwys Dduw yn ei holl ymarweddiad.

8. *Gweddïo difrifol.* Dylai yr Eglwys i'r hon y perthyna y credadyn gael lle arbenig yn ei ddeisyfiadau. Dylai pob sant eiriol dros *holl* deyrnas yr Arglwydd, ond yn neillduol y rhan hyny ohoni â pha un y saif efe mewn cymdeithas agosaf. Dros ei henuriaid a'i diaconiaid, ei holl aelodau a'i gosodiadau, dylai fod yn erfyniwr arbenig. Oni weddïa dros ei gydnabod a'i gyfneseifiaid ysbrydol ei hun, pa fodd y gall efe yn ddidwyll weddïo dros holl deyrnas y Gwaredwr fel cyfangorff? Yn yr ystafell ddirgel, wrth yr allor teuluol, yn y cyfarfod gweddi, ac yn y cys-

segr, dylai pob aelod ymdrechu â Duw am lwyddiant y bobl hyny gyda pha rai y syrthiodd ei goelbren yn yr Eglwys, gwel Act. i. 14; iv. 23, 24; xii 12; xxi 5; Judas 20. "Dymunwch heddwch Jerusalem: llwydded y rhai a'th hoffant:" Salm cxxii. 6. Câem well pregethwyr, gwell diaconiaid, a gwell aelodau, pe y gwnelai pob aelod yn ein holl eglwysi lwyddiant ei Sion ysbrydol yn bwnc gweddi daer, ymbilgar, a ffyddiog. Apêliad pob gweinidog at holl bobl ei ofal yw—"*O frodyr, gweddiwch drosom!* 1 Thess. v. 25; 2 Thess. iii. 1; Heb. xiii. 18.

9. *Cydweithrediad diflino.* Sefydlwyd aelodiaeth eglwysig fel byddai pobl yr Arglwydd yn gydweithwyr er adeiladaeth eu gilydd, dychweliad y byd, a gogoniant Iesu. Y mae "amryw ddoniau" yn mhob eglwys, y rhai a ddylent oll gael eu defnyddio i un dyben cyffredin. Y mae pob cyfundeb felly yn gatrawd yn myddin yr Oen. Ni ddichon gallu unigol, wrth weithredu ar wahan ac yn annghyssylltiedig, gyflawnu ond ychydig; mae cyfunedd a threfn yn hanfodol i berffeithio effeithiolrwydd, nerth, a gwrolder personol. Felly yn yr eglwysi, cynnullir saint Duw yn nghyd mewn aelodiaeth, fel y galler dwyn eu nerthoedd cydgyfarfyddol i weithredu yn fwy effeithiol ar ddychweliad y byd annuwiol. Y mae ergyd byddin y ffyddloniaid pan yn rhuthro mewn ymosodiad ar ymerodraeth y tywyllwch, yn fwy anwrthwynebadwy pan, yn lle bod yn afreolaidd, y byddo yn symudiad cyfunol. Yn yr ymdrechfa fawr hon, fodd bynag, rhaid i bob aelod ymladd. Rhaid i bawb gydweithredu; rhaid i gyfuniad beidio dystrywio personolrwydd mewn cyfrifoldeb na gweithrediad. Pan fyddai yr eglwys yn fwyaf unigol, y byddai y bywyd personol ysbrydol fwyaf amlwg. Pan oedd y dysgyblion "oll yn gytun yn mhorth Solomon" (Act. v. 12.), yr ymddangosai pob un fod yn profi fwyaf o fywydoldeb a nerth ei grefydd ei hun, ac y "chwanegid atynt rai yn credu yn yr Arglwydd, lluaws o wŷr a gwragedd hefyd:" adn. 14. Nis gall y gweinidog yn unig, na'r gweinidog a'r diaconiaid yn nghyd, na'r holl eglwys yn gyfunol, wneuthur gwaith yr aelod personol. Y mae gan bob dyn y mae Duw trwy Ei ras wedi ei gynnull i'w eglwys, ei waith neillduol ei hun i'w gyflawni yn yr Eglwys hono, *yr hwn*

*nis gall neb arall ei gyflawnu drosto ef.* Ymdreched pob un gael allan beth yw ei waith neillduol ef, ac wedi cael hyny allan, trwy gymhorth Duw, ei wneuthur. Bydded ein holl aelodau yn ewyllysgar i gydweithredu yn mhob gwaith ffydd a llafur cariad, mor bell ag y byddo yr Ysbryd bendigedig wedi eu cymhwyso. Calon pa sawl gweinidog a oerir trwy gael bod yn unig yn mhlith ei braidd? Prin y caiff neb i weithio gydag ef, ond caiff ddigon i achwyn ar ei ymdrechion i wneuthur daioni fel rhai "newydd-ffurfiol!" Aelodau ein heglwysi, calonogwch eich hesgobion dewisedig eich hunain, trwy gydweithredu yn rhydd, calonog, selog, a diflino â hwy yn eu llafur dros Grist. Y mae ganddynt lawn ddigon i'w hoeri a'u digaloni yn y byd; na fydded i'ch dideimladrwydd chwi weini i'w digalondid—gweithied pob un, gweithiwch oll, a gweithiwch oll *yn nghyd!*

II. Dyledswydd Aelodau Eglwysig tuag at y Byd o'u hamgylch.

Fel y mae Cristionogion yn bersonol, felly y mae eglwysi yn gynnulliadol i fod yn "halen y ddaear," ac "yn oleuni y byd:" Matt. v. 13, 14. Daliant berthynas bwysig â'r hil ddynol, cyfrifoldeb yr hon sydd raid iddynt hwy beidio osgoi trwy lwybr cydymagweddiadol â'r amseroedd, neu ofn erlidigaeth. Nid ydynt i ofni neb ond eu Harglwydd: Matt x. 28 Eu prif ddyledswyddau tuag at y byd ydynt y rhai canlynol:—

1 *Ardystiad ymarferol yn erbyn ei bechodau.* Nid yw dynion Cristionogol i feddu dim "cyfeillach â gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, eithr yn hytrach eu hargyhoeddi hwynt:" Eph. v. 11. Y maent "trwy wneuthur daioni i ostegu anwybodaeth dynion ffolion:" 1 Pedr ii. 15. Dylai pob aelod o Eglwys Crist, yn ei fywyd dyddiol, gyflwyno gwrthdystiad difrifol a phwysig yn erbyn pechodau yr amseroedd a'r genedlaeth yn y rhai y mae ei ran i fyw. Dylai "rodio yn weddaidd tuag at y rhai sydd oddi allan:" 1 Thess. iv. 12. Dylai ei oleuni lewyrchu yn y fath fodd ag i orfodi y byd i ogoneddu Duw yn nydd yr ymweliad: Matt. v. 16; 1 Pedr ii 12. Dylai llawysgrifen yr Ysbryd Glân fod mor amlwg ynddo ef fel llythyr Crist, fel y gweler ac y darllener hi gan bob dyn:

2 Cor. iii. 1–3. Ac felly dylai "doethineb gael ei chyfiawnhau gan ei phlant ei hun:" Matt. xi. 19. Dylai y condemniad o bechodau cyffredin, sydd yn taranu o Sabboth i Sabboth o'n hareithfaoedd, gael ei adseinio a'i barhau trwy yr wythnos, yn mywyd santaidd canlynwyr y Gwaredwr!

2. *Ymneilldduad oddiwrth ei Ysbryd, ei wirebion (maxims), a'i bleserau.* Y mae yr ysbryd sydd yn y byd oddi isod, Eph. ii. 2; mae yr ysbryd sydd yn y wir Eglwys o Dduw: 1 Cor. ii. 12. Y mae ysbryd y byd yn "ddaearol, anianol, a chythreulig," Iago iii. 15; y mae yn "caru melus chwant yn fwy nâ Duw," a hunan yn fwy nâ Christ: 2 Tim iii. 4; Rhuf. x. 3, 4. Ond y mae credinwyr i fod o ysbryd *arall.* Maent i ymwadu â hwy eu hunain; i "groeshoelio y cnawd a'i wŷniau a'i chwantau;" ac i "edrych nid ar y pethau a welir (yn unig), ond ar y pethau ni welir:" Matt. xvi. 24; Gal. v. 24; 2 Cor. iv. 18. Y maent i gael eu harwain gan Ysbryd Duw, i rodio yn yr Ysbryd, ac i hau i'r Ysbryd: Rhuf viii. 14; Gal. v. 16; vi 8. Y maent i gael eu llywodraethu gan uwch moesau nâ'r rhai a roddir gan wirebion cyffredin y byd. "*Mind the main chance*" a "*Take care of number one*" ydynt ddiarebion a adlewyrchant yr ysbryd sydd yn yr anadnewyddiedig; ond dylai pob aelod eglwysig geisio yn nghyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef, a byw nid iddo ei hun, ond i'r Arglwydd: Matt. vi. 33; Rhuf. xiv. 7, 8.

A dylai dyn Duw sefyll o hirbell oddiwrth holl *bleserau* y byd, ydynt annghydweddol â phurdeb ac adeiladaeth Gristionogol. Fel yma y rhybuddir ef, "Na cherwch y byd, na'r pethau sydd yn y byd. O châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef. Canys pob peth ar sydd yn y byd, megis chwant y cnawd, a chwant y llygad, a balchder y bywyd, nid yw o'r Tad, eithr o'r byd y mae. A'r byd sydd yn myned heibio, a'i chwant hefyd: ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw, sydd yn aros yn dragywydd:" 1 Ioan ii. 15–17. Fel yma, er yn y byd, nid yw Cristionogion i fod ohono: Ioan xvii. 16. Er yn amgylchynedig gan ei rwydau, y maent i fod ar wahan oddiwrtho o ran yr ysbryd a anadlant a'r egwyddorion trwy y rhai y maent yn gweithredu. Y maent i briodi yn "*unig*

yn yr Arglwydd;" i beidio "ieuo yn annghymarus gyd â'r rhai digred;" ond i "ddyfod allan o'u canol hwy, ac ymddidoli" oddiwrthynt: 1 Cor. vii. 39; 2 Cor. vi. 14–18. Megis y cyfyd y graig yn nghanol y cefnfor ei phen mewn unigedd mawreddog, er cael ei golchi gan ei dònau, felly y gwir ddychweledig, er cael ei amgylchynu gan annuwioldeb, a geidw ei neillduaeth ysbrydol oddiwrth ei lygredigaethau. Y mae efe yn greadur newydd yn Nghrist Iesu.

3. *Bod yn eglureb gysson o brydferthwch moesol crefydd Mab Duw.* Y mae wedi cael ei ddywedyd yn wirioneddol mai yr *Eglwys yw Beibl y byd.* Dynion na chwiliant addysgiadau ein Cristionogaeth Santaidd, a chwiliant yn fanwl fywyd ei hymlynwyr proffesedig. Y mae miliwnau o bobl, y rhai y mae eu hunig wybodaeth am grefydd y Gwaredwr yn ddeilliedig o'r ffynonell hon. Ni ddylai y pethau hyn fod felly, ond dyna fel y maent. Dylai pob dyn ddarllen gair Jehofah drosto ei hun, a barnu Cristionogaeth wrth ei haddysgiadau perffaith ei hun. Ond y mae lluoedd na chymmerant y drafferth hon. Y mae yn gwrs byrach, a mwy hyfryd iddynt i gymmeryd bywyd proffeswyr fel y Beibl o'r hwn y myfyriant grefydd ein Harglwydd. Dengys y ffeithiau yma y pwysigrwydd o arddangosiad cysson o burdeb goruchel a dyngarwch hunanymwadol yr efengyl a broffeswn. Rhaid i ni "gynnal gair y bywyd," a "harddu athrawiaeth Duw ein Hiachawdwr yn mhob peth;" "fel od oes rhai heb gredu i'r gair y galler trwy ein hymarweddiad diwair ni eu hynnill heb y gair:" Phil. ii. 16; Titus ii. 10; 1 Pedr iii. 1, 2. Y mae gan y byd hawl i ddysgwyl fod i ni ei harddangos, nid gyda digriflun o ddylanwad moesol Cristionogaeth, ond gyda darlun ffyddlon o'r rhinweddau a'r grasusau a ddysga.

4. *Lledaeniad gwirionedd Cristionogol.* Ffurfir eglwysi i ledaenu yr efengyl. Maent i ardystio yn erbyn cyfeiliornad a choelgrefydd, yn gystal ag yn erbyn pechod. Hwynthwy yw y lefain bychan osododd Duw yn y ddaear, yr hwn yn y diwedd sydd i lefeinio yr holl hil ddynol: Matt. xiii. 33. Y mae eu dylanwad, fel eiddo yr halen â'r hwn y cymharir hwy, i fod yn wasgarog: Matt. v. 13. Y mae eu goleuni i lewyrchu fel ag i oleuo y byd tywyll

gan ba un yr amgylchynir hwynt, adn. 14. Dylai pob eglwys newydd a sefydlir fod yn orsaf genadol, yn sefyllfan yn mlaen i fyddin yr Oen! Dylai "gair yr Arglwydd seinio" ohoni i'w hamgylchoedd, a thu draw iddi: 1 Thess. i. 7, 8. Dylai holl aelodau pob eglwys i Grist fod yn gyhoeddwyr gair y cymmod, Marc xvi. 15; Matt. xxviii. 19, 20. Yn amser yr Apostolion yr oedd pob Cristion yn dyst dros ei Arglwydd. "A'r rhai a wasgarasid a dramwyasant gan bregethu y gair:" Act. viii. 4; xi. 19. Trwy y cyhoeddiad cyffredinol hwn o wirionedd Duw y mae'r byd i'w ddychwelyd. Canys y mae credinwyr i ddyfal-barhau i ddywedyd wrth eu cymmydogion, "Adnabyddwch yr Arglwydd," hyd nes y bydd iddynt oll o'r lleiaf hyd y mwyaf Ei adnabod: Jer. xxxi. 34. Ac y mae yn mhennod ddiweddaf y gyfrol ysbrydoledig y geiriau nodedig yma; "Y mae yr Ysbryd (yn yr efengyl) a'r briodasferch (yr holl eglwys, nid y weinidogaeth yn unig) yn dywedyd, Tyred. A'r hwn sydd yn clywed, dyweded Tyred. A'r hwn sydd a syched arno, deued: a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhad:" Dad. xxii. 17. Y mae holl gorff y ffyddloniaid i ymuno yn nhraethiad y geiriau bendigedig hyn, a phob person a chwanegid at eu nifer trwy ras penarglwyddol a dychweliadol, i gymmeryd i fyny y gwahoddiad a'i drosglwyddo i'w gymmydog hyd nes y byddo y trigianwyr yn y rhodfâoedd a'r cynteddau, yn mhalasau ein dinasoedd gorluosog, a phreswylydd copa y mynydd, a'r diffaethwch annghroesawus, oll wedi clywed a chofleidio yr alwad!

5. *Gweddïo yn ddibaid am ei ddychweliad.* Y mae yr Arglwydd Ei hun wedi rhoddi y gorchymmyn hwn i'r holl Eglwys; chwi y rhai "ydych yn cofio yr Arglwydd," (h.y., chwi y rhai ydych yn adgofio yr Arglwydd yn eich gweddïau, o'i enw santaidd [Salm xxv. 11], o'i gyfammod [lxxiv. 20], o'i addewid [cxix. 49], o'i waredigaethau gynt [xxvii. 9]); na ddistewch, ac na adewch ddystawrwydd iddo, hyd oni sicrhao, ac hyd oni osodo Jerusalem yn foliant ar y ddaear:" Esa. lxii. 6, 7. Ymofynir a Jehofah am wneuthur ohono hyn i ni: Ezec. xxxvi. 37. Ac mae Crist wedi ein dysgu i weddïo am yr un fendith. Y mae y tri deisyfiad cyntaf yn yr hyn a elwir yn weddi

Arglwydd â'u cyfeiriad at *ddychweliad y byd at Dduw!* "Sancteiddier Dy enw. Deled Dy deyrnas. Gwneler Dy ewyllys megis yn y nef, felly ar y ddaear hefyd," (Matt. vi. 9, 10), ydynt dri deisyfiad am yr un fendith, am gynnulliad yr hil ddynol i gorlan Iesu. Ac y mae y gais driphlyg hon yn sefyll o *flaen* y deisyfiad hyd y nod am ein bara beunyddiol, adn. 11. Cerydd gerwin yw hyn am hunanoldeb yr ystafell ddirgel! Y mae yr Eglwys i fod yn Eiriolwr y byd gyda Duw. Y mae hi i gyflwyno ei deisyfiadau a'i gweddïau beunyddiol dros bob dyn, am eu bod yn gadwedig, a'u dyfod i wybodaeth y gwirionedd: 1 Tim ii. 1–6.

6. *Ymddarostyngiad i'r awdurdodau gwladol.* Y mae dynion Cristionogol, er cael eu corffoli yn nheyrnas yr Arglwydd a'r Iachawdwr, er hyny i ymostwng i awdurdod yr ynad gwladol, yn mhob mater na fyddo yn tori ar draws eu ffyddlondeb uwch i Frenin breninoedd. Dylai aelodau yr eglwysi "dalu eiddo Cesar i Cesar:" Matt. xxii. 21. Y maent i "anrhydeddu y Brenin:" 1 Pedr ii. 17. Yr ydys i ddwyn ar gof iddynt fod yn ddarostyngedig i'r tywysogaethau a'r awdurdodau, fod yn ufudd:" Titus iii. 1, 2. Y mae Rhuf. xiii. 1–7. yn osodaeth gyflawn o'r rhwymedigaeth bwysig yma, sylwedd yr hon a gynnwysir yn y geiriau, "Telwch gan hyny i bawb eu dyledion: teyrnged, (unrhyw dreth ar dir neu eiddo) i'r hwn y mae teyrnged yn ddyledus; toll, (cyllid ar nwyddau masnach) i'r hwn y mae toll; ofn, (tori eu cyfreithiau) i'r hwn y mae ofn; parch, i'r hwn y mae parch yn ddyledus:" adn. 7. Cymhella yr Apostol Pedr yr un ddyledswydd yn ddifrifol yn ei Epistol cyntaf, ii. 13–17. Yn mhellach, y mae breninoedd a phawb mewn goruchafiaeth i gael eu cofio gan Gristionogion yn eu hymbiliau beunyddiol ar Dduw. Yr ydym nid yn unig i ufuddhau iddynt, ond gweddïo drostynt: 1 Tim. ii. 1–4.

Ond y mae gan y ddyledswydd hon ei therfynau. Yr ydys i ufuddhau i Cesar yn unig yn y pethau a berthynant i diriogaeth Cesar. Nid ydym i dalu iddo ef y pethau ydynt eiddo Duw. Yr Apostolion a ddysgasant y ddyledswydd o ymostyngiad i lywiawdwyr, a roddant i ni siampl o anufudd-dod iddynt *pan fyddai eu cyfreithiau yn wrth-*

*wynebol i gyfreithiau Crist.* Gorchymmynwyd i Pedr a Ioan gan y Sanhedrim, y llŷs uchelaf yn mhlith yr Iuddewon na ddysgent ac na phregethent mwyach yn enw Iesu o Nazareth, ond ni pheidiasant, am fod cyfraith uwch yn dywedyd, "pregethwch yr efengyl i bob creadur:" Act. iv. 18–20; v. 27–29, 42. Yr oedd yr Apostolion, yn y weithred hon yn Annghydffurfwyr ac yn Ymneillduwyr. A mwy nâ hyny: cyflawnodd Duw wyrth mewn amddiffyniad i'w hannghydffurfiiaeth a'u hymneillduaeth, canys pan roddwyd hwynt yn ngharchar, am nad ufuddhaent i'r gorchymmyn o beidio pregethu Crist i'r bobl, anfonwyd angel angau i agor drysau y carchar, a'u dwyn hwynt at y gwaith drachefn, Act. v. 17–20. Megis pan wrthododd y tri Annghydffurfwyr Hebreig gwrol hyny yn Babilon ag ufuddhau i ddeddf y gallu goruchel, yr hon oedd yn eu gorchymmyn i addoli y ddelw aur, yr anrhydeddodd Mab Duw eu hymneillduaeth trwy rodio gyda hwy yn nghanol y tân a gwneuthur y fflamiau yn ddiniwed! Dan iii. Fel yma, mae Jehofah wedi anrhydeddu yr honiad ffyddlon i iawnderau cydwybod, dan y ddwy oruchwyliaeth! Eglur yw, nad yw ymneillduaeth ynddi hun yn beth drwg. Os bydd yn ymneillduaeth oddiwrth gyfeiliornad (a hyny sydd raid i gydwybod pob dyn benderfynu), neu drawsfeddianniad iawnderau coron Emmanuel, y mae yn dyfod yn ddyledswydd ac yn rhinwedd a wna Duw anrhydeddu.

III. Dyledswydd Aelodau Eglwysig i fod yn ffyddlon i'r Arglwydd Iesu Grist. Y mae dyledswydd benaf pob aelod eglwysig yn ddyledus i Emmanuel. Mewn gwirionedd, mae pob rhwymedigaeth arall yn canoli *(centre)* yn hyn. Canys awdurdod ein Gwaredwr sydd yn gosod arnom y dyledswyddau dyledus arnom i'n cyd Gristionogion, yn gystal â'r sydd yn ddyledus arnom i'r byd o'n hamgylch. Yn ein hufudd-dod, dylem "osod yr Arglwydd o'n blaen yn wastadol." Dylid cyflawnu pob rhwymedigaeth megis yn Ei olwg Ef, ac mewn ymostyngiad i'w ewyllys. Y dyledswyddau dyledus ar bob aelod eglwysig i'w Arglwydd ydynt y rhai canlynol:—

1. *Ymostyngiad trwyadl iddo Ef, iddo Ef yn unig, yn yr athrawiaethau a greda.* Fel hyn yr anrhydeddwn

Grist fel y Prophwyd Mawr, sydd yn llywyddu yn yr eglwysi fel eu hunig athraw awdurdodol. Ysbrydolwyd yr Apostolion a'r Efengylwyr ganddo Ef, y mae eu haddysgiadau i gael eu derbyn gan hyny fel yr eiddo Ef: Ioan xx. 21–23. Ac i'r awdurdod hwn yn unig y mae ein ffydd i ymostwng. Nid ydym i alw neb yn Arglwydd ond Crist y Duw-Ddyn: Matt. xxiii. 8–12. Efe yn unig sydd i bennodi i ni erthyglau ein credo. Rhaid peidio caniatâu i osodiadau y llywodraeth wladol; penderfyniadau cynghordy, henadurfa, neu gynnadledd; neu ddaliadau credo enwadol, drawsfeddiannu awdurdod Iesu. Pan lefara y Meistr, yn bersonol, neu ynte trwy Ei gynnrychiolwyr ysbrydoledig, ymostyngiad trwyadl sydd yn gweddu i ni; ond pan fyno dynion ffaeledig ac anysbrydoledig fel ni ein hunain arglwyddiaethu ar ein ffydd, a gosod arnom eu gosodiadau, ein hateb raid fod: "Yr Iesu yr wyf yn Ei adnabod, a Phaul a adwaen, eithr pwy ydych chwi?" Rhaid i ni beidio rhoddi lle trwy "ddarostyngiad" i'r cyfryw ymhoniadau, na, "*ddim am aur.*" Byddai ymgrymu i awdurdod anysbrydoledig mewn achos o'r fath yn weithred o deyrnfradwriaeth yn erbyn Ef yr Hwn yw unig Arglwydd ein ffydd. Sefydlwyd aelodiaeth eglwysig fel y cynnorthwyid ni yn ein hymchwiliadau i'r gwirioneddau a ddadguddiwyd i ni gan ein Prophwyd Mawr. Dylai eglwysi fod yn gymdeithasau i ddiwygio eu gilydd yn ysbrydol. Dylai y rhai a berthynant iddynt "adeiladu pob un eu gilydd: 1 Thess. v. 11. Dylent gydfyfyrio materion mawrion teyrnas Dduw. Trwy gynnal gweinidogaeth ffyddlon ac effeithiol, a thrwy gydymgynghoriad a gweddi, dylent adeiladu eu gilydd yn eu santeiddiaf ffydd. Pwnc mawr eu ymholiad bob amser ddylai fod, *meddwl eu Harglwydd.* "Beth y mae yr Ysgrythyr yn ei ddywedyd," ddylai fod eu llef yn wastadol: Gal. iv. 30. "At y gyfraith, ac at y dystiolaeth; oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt:" Esa. viii. 20. Dylai yr ymhoniadau mwyaf rhwysgfawr gael eu darostwng i'r prawf Bereaidd, a phan fyno uchelgeiswyr am awdurdod ein Harglwydd, osod ar ein ffydd eu credôau, rhaid i ni "chwilio beunydd yr Ysgrythyrau a yw y pethau hyn felly:" Ioan v. 39; Act. xvii. 11. Allwn ni

ddim talu y parch hwnw i arall, a hawlia Iesu yn gwbl iddo Ei hun, heb bechu yn erbyn ein Pen. "Un yw eich Athraw chwi, sef Crist: a chwithau oll brodyr ydych:" Matt. xxiii. 8–12; ac ymgynghorer ag 2 Cor. i. 24. wedi ei chymharu â 1 Cor. i. 2, gan nodi y geiriau, "*ein Harglwydd Iesu Grist, o'r eiddynt hwy a ninau*:" Iago iii. 1; Matt. xx. 26, 27; 1 Pedr v. 3. Cafodd hyd y nod yr Apostolion eu hawdurdod yn gwbl oddiwrth y ffaith, i Ysbryd Crist yn wyrthiol ac anffaeledig lefaru ynddynt. Ar wahan oddiwrth hyn ni feddent un arglwyddiaeth ar ein ffydd ni: 3 Cor. i. 24, tud. 340. Ymddengys gan hyny, haerllugrwydd y rhai hyny, er yn amddifad o ysbrydoliaeth Apostoliaidd, etto a honant awdurdod Apostolaidd ar ein ffydd.

2. *Ymorphwysiad dibryder ar Ei haeddiannau, Ei ras, a'i gyfrwngwriaeth.* Y mae pobl Dduw fel yma i ogoneddu y Gwaredwr fel "*Archoffeiriad eu cyffes*:" Heb. iii. 1. Ato Ef y maent i edrych am eu cyfiawnder cyfiawnhaol, am eu nerth ysbrydol beunyddiol, ac am ran yn Ei eiriolaeth lwyddiannus gyd â'r Tad: 1 Cor. i. 30, 31; Rhuf. viii. 34–39. Yn mater mawr eu hiachawdwriaeth y mae Crist i fod iddynt hwy yn "*bob peth ac yn mhob peth*:" Col. iii. 11. Maent yn anrhydeddu trwy ddysgwyliad gwastadol wrtho Ef am gymmeradwyaeth gyd â'r Tad, ac am yr holl gyflenwadau angenrheidiol er eu galluogi i ddyfal-barhau hyd y diwedd: Ioan xv. 4, 5. Nis gall yr eglwys na'i gweinidogion, na chyda eu gilydd, wneuthur gwaith Iesu: 1 Cor. iii 5-7. Nis gall seremoniau yn *unig* chwaith gyfranu i ni y gras hanfodol er iachawdwriaeth: Gal. vi. 15. Nis gall hefyd y saint, a'r engyl, a'r Forwyn yn nghyd, chwanegu dim at gyfrwngwriaeth Mab Duw: 1 Tim. ii. 5. O ar Dduw na fyddai ein holl aelodau eglwysig yn byw yn yr ymwybodolrwydd beunyddiol, duwiolfrydig, a phrofiadol o'r gwirionedd mawr hwn: "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall, canys nid oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig:" Act. iv. 12. Yr ydym "wedi ein cyflawnu ynddo Ef:" Col. ii. 10. O na allai pob bugail gyfeirio at eu holl braidd a dywedyd, "Ac o'i gyflawnder Ef y derbyniasom ni oll, a

gras am ras:" Ioan i. 16. ' Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o BOB cyflawnder ynddo Ef:" Col. i. 16. "Ynddo Ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorphorol:" ii. 9. Y mae Efe yn "llawn gras a gwirionedd," Iaon i. 14; ac ar y cyflawnder hwn y dylai pob dysgybl proffesedig iddo Ef fyw er ei ddiwalliad o bob peth angenrheidiol arno: Gal. ii. 20.

3. *Ymostyngiad i'w gyfreithiau a'i ordinhadau.* Trwy ufudd-dod i'w ewyllys, fel y mae wedi ei dadguddio yn ngorchymmynion Ei air santaidd, yr anrhydeddwn ni Ef fel *Brenin yn Seion.* Hawlia mai Efe yw unig Ddeddfroddwr Ei Eglwys. Allwn ni ddim dysgu fel Ei athrawiaethau Ef orchymmynion dynion: Matt. xv. 9. Y mae yr Ysgrythyr yn condemnio pob gosodiad dyfeisiedig gan ddoethineb anysbrydoledig, pob ewyllys-grefydd, a gostyngeiddrwydd digymhelliad: Col. ii. 16—23. Yr oedd gorchymmynion Apostolaidd yn awdurdodol, fel yr ydym wedi gweled, yn unig oblegid eu bod yn "orchymmynion rhoddedig trwy yr Arglwydd Iesu:" 1 Thes. iv. 2; 1 Cor. xiv. 37. Hyn yma oedd swm gorchymmyn olaf y Gwaredwr i'w weision ysbrydoledig o barthed llywodraethiad yr eglwysi, "*Gan ddysgu iddynt gadw pob peth ar a orchymmynais i chwi:*" Matt. xxviii. 20. Ymostyngiad i awdurdod yr Arglwydd yn ein bywyd beunyddiol ydyw yr unig brawf Ysgrythyrol o ddychweliad gwirioneddol. Prawf hyn ein bod yn gwir garu Crist, Ioan xiv. 21; ein bod yn trigo ynddo Ef, ac yntau ynom ninau, 1 Ioan iii. 24; a'n bod yn meddu teitl graslawn i bren y bywyd, ac y cawn yn y diwedd fyned i mewn trwy y pyrth i'r ddinas nefol: Dad. xxii. 14. Tra ar y llaw arall, "Yr hwn sydd yn dywedyd, Mi a'i hadwaen Ef, ac heb gadw Ei orchymmynion Ef, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw ynddo:" 1 Ioan ii. 4. Yn sicr, dylai pob aelod o eglwysi Duw, fyw mewn cof parhaus o'r gwirioneddau sobr hyn! Yn lle cyfyngu ein hufudd-dod i'r pethau a gyhoedda detholiaeth fydol a chydymagweddiadol yn hanfodol i iachawdwriaeth, penderfynwn i barchu holl orchymmynion ein Harglwydd. Cyfrifwn Ei holl orchymmynion yn uniawn am bob peth. Yn lle dyfeisio pa mor lleied allwn ni wneuthur o'i ewyllys Ef, a dianc rhag colledigaeth, penderfynwn gydymffurfio

yn galonog â'i *holl* ewyllys ddadguddiedig. Na ddywedwn "Hyn a'r llall ydynt an-hanfodolion, ac am hyny, ni wnawn ni eu cadw;" eithr ein ymholiad beunyddiol fyddo yny byd ac yn yr Eglwys, "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" Act. ix. 6. Pan ddelo ein holl aelodau eglwysig i rodio yn yr Ysbryd hwn, bydd yn ddydd dedwydd i deyrnas Dduw ar y ddaear!

4. *Efelychu Ei siampl.* Y mae ein Harglwydd, yr hwn a wasanaethwn, wedi corpholi yn Ei fywyd difrycheulyd Ei hun, bob rhinwedd bosibl yn ei pherffeithrwydd. Yr oedd "heb bechod," "nid adnabu bechod," "ni wnaeth bechod." Yr oedd yn santaidd, diddrwg, dihalog, a didoledig oddiwrth bechaduriaid. Nodweddwyd Ei gymmeriad gan ymroddiad diddiffyg i ogoniant Ei Dad; gan dosturi anfeidrol tuag at fyd colledig a dinystredig, a chan anwyldeb haelfrydig a graslawn tuag at Ei ddysgyblion: Heb. iv. 15; 2 Cor. v. 21; 1 Pedr ii. 22; Heb vii. 26; Ioan xii. 27, 28; Matt. xx. 28; Ioan xiii. 1. Ni fu erioed dosturi mor unionfryd, mor gwbl anhunanol ag eiddo Mab Duw. Am dano Ef gellid dyweyd yn bendant, "Nis boddhaodd Ef Ei hun: Rhuf. xv. 1. Dyfroedd lawer trallod ni allent ddiffoddi Ei gariad, a llifeiriant gorchuddiol digofaint dwyfol yn erbyn pechod, nis gallent ei foddi: Can. viii. 7. Y mae Ei fywyd yn orddysglaer o bob gras dychymmygadwy; dim yn ddiffygiol, na dim yn ormodol. Nis gallai un meddwl dynol ddyfeisio y fath gymmeriad. Saif yn addefedig fel *santeiddrwydd dwyfol yn ymgnawdoledig.*

Ond "gadawodd i ni siampl, fel y canlynem Ei ol Ef:" 1 Pedr ii. 21. Ac mae yn gofyn hyn oddiwrth bawb credinwyr. Yna y dywedodd yr Iesu wrth Ei ddysgyblion, "Os myn neb ddyfod ar fy ol I, ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned Fi:" Matt. xvi. 24. Trwy glod ac annghlod, rhaid i ni efelychu yr Hwn a'n carodd hyd angau; canys "nid yw y dysgybl yn uwch nâ'i Athraw, na'r gwas yn uwch nâ'i Arglwydd. Digon i'r dysgybl fod fel ei Athraw, a'r gwas fel ei Arglwydd:" Matt. x. 24, 25. Dylai pob dysgybl wneuthur siampl y Gwaredwr yn destun myfyrdod beunyddiol a gweddïgar; fel trwy hyn y "newidir ef i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant (o radd lai i radd fwy o debygolrwydd), megis

gan Ysbryd yr Arglwydd:" 2 Cor. iii. 18. Gymmeradwywn yn ddifrifol y pwnc yma i ystyriaeth fyfyrgar ein pobl. Na chaffed yr Undodiaid ddywedyd ein bod yn cyfyngu yn hunanol ein sylw at y bendithion a dderbyniwn ni oddiwrth ein Harglwydd, ac nad ydym ond anfynych yn myfyrio ar brydferthion moesol Ei fywyd santaidd!

5. *Ymgyssegriad cyflawn i'w ogoniant.* Yr arwyddair cerfiedig ar galon pob credadyn proffesedig yn ein crefydd santaidd, ddylai fod; "Canys byw i mi yw Crist:" Phil. i. 21. Dylai pawb gydsynio yn galonog ac ymarferol â'r ymsyniad yma; "Canys nid oes yr un o honom yn byw iddo ei hun. Canys pa un bynag yr ydym ai byw, i'r Arglwydd (Iesu, gwel adn. 9.) yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd (Iesu) yr ydym yn marw: am hyny, pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym. Oblegid er mwyn hyn y bu farw Crist, ac yr adgyfododd, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd:" Rhuf. xiv. 7—9. "Efe yw Arglwydd pawb oll:" Act. x. 36. Canys "Efe a fu farw dros bawb, fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r Hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd:" 2 Cor. v. 15.

Fel yma y gorchymmynir yn sobr a difrifol y ddyledswydd o ymroddiad cyflawn i'r Gwaredwr ar Ei holl ganlynwyr proffesedig. Dylai pob bwriad a cham mewn bywyd, a phob mudiad yn Eglwys Dduw gael edrych arno yn ei berthynasau amlwg a thebygol â'i ogoniant Ef. Pa beth bynag sydd o duedd i ddianrhydeddu Iesu, dylai fod yn ffiaidd yn ein golwg; a pha beth bynag a ddyrchafo Ei deyrnas, dylai fod yn werthfawr yn ein golwg. Pob cynneddf a feddwn, yn gorfforol neu yn feddyliol, ein meddiannau, ein hamser, ein dylanwad teuluol, ein gallu gwladyddol, ein talentau, ein cwbl, a ddylent gael eu gosod wrth draed ein Prynwr, â'u cyflwyno i'w wasanaeth Ef. Dylai ein gweithrediadau dyddiol, ein hymddygiad yn amgylchiadau mwyaf dibwys bywyd, ein hymarweddiad pan fwyaf rhydd a diattal, fod yn gyfryw a wnai Iesu gymmeradwyo. Gall dysgyblion yn sefyllfaoedd iselaf bywyd fel hyn ogoneddu eu Prynwr. Y mae yn deilwng o sylw fod y frawddeg nodedig hon, "fel yr *harddont* (*kosmeō*) athrawiaeth Duw ein Hiachawdwr," yn dygwydd mewn cyssylltiad â chyng-

hor i santeiddrwydd rhoddedig i *weision* duwiol. "Cyngghora weision i ddangos pob ffyddlondeb da, fel yr harddont athrawiaeth Duw ein Hiachawdwr yn mhob peth:" Titus ii. 9, 10. Ie! gall gwas yn y sefyllfa iselaf trwy fywyd santaidd *harddu* yr efengyl. Gall beri iddi ymddangos yn gariadlawn a phrydferth i bawb o'i gwmpas! Gall y rhai tlotaf fawrhau eu Harglwydd.

Dylai ein gweithredoedd o addoliad mwy difrifol gael eu cyflawnu yn gwbl gyda golwg ar ogoniant Emmanuel. Ein hadeiladaeth ein hunain, ein cynnydd mewn gras, ein santeiddrwydd, a ddylent gael eu dymuno a llafurio am danynt yn unig fel y gallem yn fwy effeithiol anrhydeddu enw ein Hathraw. Mwynhau Crist, ac yn y mwynhad o hono Ef, ogoneddu Ei gariad a'i ras, ddylai fod ein hamcan mawr mewn cadw pob ordinhad. Halogai ysbryd diofal neu ddeddfol ein hufudd-dod, a gwnai ef yn annghymmeradwy i'n Gwaredwr, ac yn anfuddiol i ni ein hunain. Dylai pob cymhelliad israddol gael eu suddo yn hwn. Crist ddylai fod y canol-bwnc at ba un y tueddai ein holl fwriadau a'n hamcanion ereill. Hyn ddylai fod ein dysgwyliad difrifol a'n gobaith, fod i Grist gael ei fawrygu ynom, pa un bynag ai trwy fywyd ai trwy farwolaeth: Phil. i. 20; neu mewn geiriau ereill, "Fel y gogonedder enw ein Harglwydd Iesu Grist ynom ni, a ninnau ynddo yntau, yn ol gras ein Duw ni, a'r Arglwydd Iesu Grist:" 2 Thes. i. 12.

Dylai y nefoedd ei hun gael ei dymuno yn unig am y cawn weled a gwybod mwy am Grist yno, am y byddwn yn fwy tebyg iddo Ef, y cawn Ei wasanaethu yn ddibechod, a'i ogoneddu Ef yn ddirwystr. Ni fyddai y nefoedd heb Dduw yn Nghrist yn ddim nefoedd i'r credadyn. Y rhagolygiad o gael ei fawrygu Ef mewn dull a gradd mwy cymmesurol â'i hawliau, gyda ein hiraethion dwysion ninau yn ein hadegau goreu, sydd yn gwneuthur i'r sant weithiau hanner llamu o freichiau y cnawd, mewn rhagolwg ar ei orphwysfa derfynol. Crist ynom yw ein *gobaith* am ogoniant, Col. i. 27., a mwynhad cyflawn o Grist, a'r mawrygiad teilwng a thragywyddol o'i enw fydd *esgyneb* ein gogoniant! Cyfoded holl aelodau ein heglwysi cynnulleidfâol i uchelder y ddadl fawr hon! Bydded iddynt

yn eu bywyd, ac yn eu marw, ac yn oes oesoedd fod yn eiddo yr Arglwydd.

I ofal yr Iesu hwnw a geisiodd yr awdwr Ei anrhydeddu y cyflwyna efe y tudalenau hyn. Bydded yr offrwm yn gymmeradwy, a gwneler y llyfr hwn yn foddion gras i bawb o'r rhai hyny er lles pa rai y darparwyd ef! A bydded i'r athrawiaethau mawrion hyny a amddiffynir yma—er, Ow! yn egwan—gael eu dal byth yn ein heglwysi yn holl gyflawnder eu hystyr, ac yn holl bwys eu hawdurdod! Credwn ni eu bod o Dduw, ac yr ydym gan hyny, wedi ysgrifenu yn ddifrifol mewn amddiffyniad iddynt.

# MYNEGAI.

D. J. THOMAS, ARGRAFFYDD, HEOL-CAERDYDD, ABERDAR.